# PREGETHAU:

GAN


Y DIWEDDAR

BARCHEDIG HENRY REES,

LIVERPOOL.


---

*Y GYFROL GYNTAF.*

---


TREFFYNNON: P. M. EVANS.

MDCCCLXXII.

# RHAGYMADRODD.

*Nid yw yn anghenrheidiol dywedyd dim yma am nodwedd y pregethau a gyflwynir yn y gyfrol hon, gan y caiff y darllenydd farnu drosto ei hun am eu gwerth a'u rhagoroldeb. Ond dichon fod ychydig eiriau er hysbysiad neu eglurhâd yn anghenrheidiol.*

*Yr oedd tair o'r pregethau canlynol (Preg. I., XVII., a XXVII.) wedi eu parotôi gan Mr. Rees ei hun i'r* Traethodydd, *lle y cyhoeddwyd hwynt; ond ni bu y pregethau eraill yn argraffedig o'r blaen. Cafwyd rhai o honynt wedi eu hysgrifenu yn dra gorphenedig ganddo, yn enwedig Preg. II., VIII., XII., a XXVIII., fel pe buasai yn bwriadu eu darpar i'r wasg; ond caed y rhan fwyaf wedi eu hadysgrifenu—yn gwbl, neu mewn rhan—ar wahanol amserau; y naill a'r llall wedi tynu oddiwrthynt, neu chwanegu atynt; ac felly bu raid wrth gryn lawer o gydgymharu a chyflëu i'w dodi ynghyd yn gyflawn, fel y maent yn cael eu cyhoeddi. Derbyniwyd cymhorth hefyd tuag at orphen rhai o'r pregethau oddiwrth gyfeillion oedd wedi eu*

*hysgrifenu wrth eu gwrandaw. Fel y maent, canfyddir ynddynt holl deithi y pregethwr digymhar, ei arddull, a'i ysbryd, yn y modd bywiocaf a chywiraf.*

*Dygir allan yr Ail Gyfrol o'r Pregethau mor ebrwydd ag y gellir; a bwriedir hefyd gyhoeddi cyfrol arall, yn cynnwys casgliad o Gynghorion i Bregethwyr a draddodwyd gan Mr. Rees, gydag amrywiol Draethodau.*

*R. EDWARDS.*

Yr Wyddgrug,
Chwefror 1af, 1872.

# CYNNWYSIAD.

## PREGETH I.



## PREGETH II.



## PREGETH III.



## PREGETH IV.



## PREGETH V.



## PREGETH VI.



## PREGETH VII.

## PREGETH VIII.

### NODWEDDIAD A DEDWYDDWCH Y DYN DUWIOL.



## PREGETH IX.

### IACHAWDWRIAETH TRWY FADDEUANT.



## PREGETH X.

### YR ACHOS A'R YSBRYD CENADOL.



## PREGETH XI.

### CYDGYNNULLIAD Y SAINT.



## PREGETH XII.

### GWERTHFAWR WAED CRIST.



## PREGETH XIII.

### DIWEDDIAD GWELL NA'R DECHREUAD.

# PREGETH I.

## CYFLAWNDER Y DUWDOD.

COLOSSIAID ii. 9: "Oblegid ynddo ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol."

MAE yr apostol yn y pennodau hyn yn arddangos gogoniant Person a chyfryngdod yr Emmanuel, a hyny i'r dyben o gadarnhâu eneidiau y Colossiaid yn eu hymlyniad wrtho. Nid anmhosibl ydyw, fod yr hyn oedd ar y cyntaf yn achlysur iddynt dderbyn yr efengyl yn fwy chwànnog, erbyn hyn wedi troi yn demtasiwn i gofleidio rhyw bethau eraill ag oedd yn anghyson â hi. Mae dysgedigion, pa fodd bynag, yn dywedyd wrthym, fod yn y byd cenedlig, yn bur gyffredin yn yr oes hòno, ryw anesmwythyd am y gwirionedd. Yr oedd dynion coethedig, hyd yn nôd ymysg y paganiaid, â'u hysbryd a'u hyder wedi colli o grefydd eu henafiaid—pryder ynghylch y dyfodol wedi deffroi yn eu mynwesau, ac *instincts* crefyddol eu natur yn dyheu am ryw ddadguddiad eglurach o Dduw, ac am fwy o wybodaeth a sicrwydd am y byd anweledig. Parai yr ysfa yma i aml un o honynt gofleidio Cristionogaeth. Ond ar y cyntaf, cyn i'r efengyl nawseiddio eu hysbryd yn drwyadl, yr oeddynt mewn enbydrwydd yn fynych rhag cael eu llygru oddiwrthi drachefn. Canys os byddai eu syniadau wedi eu lefeinio yn flaenorol â philosophi eu hoes, a'u hawyddfryd am newydd-deb yn parhâu, yr oedd yr ysbryd afiach hwnw yn tueddu i wrthweithio gwirioneddau yr efengyl yn eu meddyliau, ac yn eu parotôi i gofleidio yn hytrach orchymynion ac athrawiaethau dynion fel pethau mwy cydnaws âg archwaeth bresennol eu calonau. I'w meddyliau hwy, ymddangosai addysg

y gau-athrawon Iuddewig yn uwch doethineb a dirgelwch, ac yn eu hymattaliadau fwy o berffeithrwydd a defosiwn, nag a gyflwynid i'w sylw yn nghrefydd syml ac ymarferol yr Arglwydd Iesu.

Oddiwrth awgrymau yr apostol yn y llythyr hwn, fe ellid casglu, dybygid, fod yn Colossa, a pharthau eraill o Asia Leiaf, rai Cristionogion o dueddiad fel yma. Ac heblaw hyny, erbyn hyn yr oedd y gau-athrawon crybwylledig wedi ymlusgo i'w mysg—dysgawdwyr o'r un chwaeth â hwy eu hunain, ac yn addaw eu perffeithio mewn doethineb a chrefydd. Er nad oedd y dynion yma, o bosibl, yn gwrthod Cristionogaeth yn hollol, eto yr oeddynt yn ei hadffurfio i ateb i'w mympwy eu hunain, ac yn dwyn i mewn i'r eglwysi syniadau ac arferion cwbl ddinystriol i'w hysbryd a'i hamcanion. Fe ellid meddwl eu bod yn ymffrostio yn nirgeledigaethau eu crefydd, ac o'u cymundeb â'r byd ysbrydol —yn hòni cydnabyddiaeth âg angelion, gan eu hystyried yn wrthddrychau addoliad a pharch; ac mewn trefn i gymdeithasu yn fwy dirwystr â dirgeledigaethau doethineb, ac â'r byd anweledig, gwaharddent bob boddhâd i'w synwyrau corfforol. "Na chyffwrdd, nac archwaetha, na theimla." Yr oedd y pethau hyn oll, yn eu barn hwy, "yn llygredigaeth wrth eu harfer;" tyb, fe allai, ag oedd yn cyfodi oddiwrth rai o'u syniadau philosophaidd hwy eu hunain, yn gystal ag oddiwrth y gyfraith Iuddewig, i ba un yr oedd yr athrawon hyn yn gobeithio bob yn ychydig allu dwyn y Cristionogion yn gaeth.

Amcan yr apostol, gan hyny, yn y llythyr hwn ydyw gwreiddio a chadarnhâu y Colossiaid yn Nghrist. Wrth geisio at hyn mae yn cadw ei lygaid yn gyson ar y cyfeiliornadau hyny ag oedd yn fwyaf tebyg o fod yn fagl iddynt; ond yn lle eu hateb bob yn un ac un, mae yn hytrach yn annelu at y gwreiddyn cyffredinol o honynt yn eu meddyliau, sef deddfoldeb eu calonau, ynghyda'r ysbryd hygoelus hwnw a ymgymysgai, dybygid, yn ormodol â'u holl dueddiadau crefyddol. Dengys mai yn Nghrist yn unig y mae holl gyflawnder y bywyd ysbrydol yn drysoredig, a bod credinwyr "wedi eu cyflawni ynddo ef," ac mor berffaith o ran gras a breintiau fel nad oes arnynt eisieu cymhorth dim arall.

A ydyw y gau-athrawon, fel pe dywedasai yr apostol, yn eich cymhell i'ch enwaedu, ac am eich arwain i ymorphwys yn y ddeddf

a'i haberthau am heddwch â Duw a maddeuant pechodau? Mae y cyfan mor afreidiol ag ydyw o ofer:—"Yr ydych chwi wedi eich cyflawni ynddo ef." Yn Nghrist, "mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau. A chwithau, y rhai oeddych ddyeithriaid a gelynion mewn meddwl drwy weithredoedd drwg, yr awr hon hefyd a gymmododd efe, yn nghorff ei gnawd ef trwy farwolaeth, i'ch cyflwyno chwi yn sanctaidd ac yn ddifeïus, ac yn ddiargyhoedd, ger ei fron ef. Yn yr hwn hefyd y'ch enwaedwyd âg enwaediad nid o waith llaw, trwy ddyosg corff pechodau y cnawd yn enwaediad Crist, wedi eich cydgladdu âg ef yn y bedydd." Ynddo ef, yr ydych wedi cael, nid yn unig sylwedd yr enwaediad yn ngwaith ei Ysbryd ef ar eich calonau, ond yr ydych hefyd wedi cael arwydd newydd o'r gwaith hwnw yn enwaediad Crist, neu yr enwaediad Cristionogol, sef bedydd; ac felly nid yw yr efengyl wedi eich gadael yn ol am un ddawn ysbrydol. Ac os yw y gau-athrawon yn eich dysgu i gredu mai yn y corff yn unig y mae gwreiddyn pob llygredigaeth, a bod y diafol yn ymgysylltu âg ef yn ei flysiau anianol i gaethiwo plant dynion i'w dinystr, ac am hyny yn eich galw, mewn trefn i fod yn ddïogel rhag ei ddylanwad, nid yn unig i groeshoelio y cnawd drwg, ond hefyd i gystuddio y cnawd gwan—hyny yw, i ymattal oddiwrth fwydydd, ac i beidio arbed y corff, na rhoi bri ar ddim ag sydd yn dwyn boddhâd i'r tueddiadau naturiol—"na thwylled neb chwi." Pa faint bynag o grefydd ac o rith doethineb sydd yn ymddangos yn y pethau hyn, nid yw y cwbl ond athrawiaeth ddynol a gwâg. Yr ydych chwi wedi eich cyflawni yn Nghrist, "wedi eich gwaredu o feddiant y tywyllwch, a'ch symud i deyrnas anwyl Fab Duw, yr hwn yw pen pob tywysogaeth ac awdurdod," a'r hwn, drwy ei farwolaeth, sydd wedi yspeilio y tywysogaethau hyny o'u gallu i niweidio ei bobl, gan orfoleddu arnynt ar y groes. Ynddo ef a'i arfogaeth yr ydych yn gyflawn yn erbyn cynllwynion y diafol—yn alluog i farweiddio y cnawd, a diffodd holl bicellau tanllyd y fall, heb fenthyca un arfogaeth i'r perwyl hwnw allan o arfdŷ y cnawd, a mympwy dynol. "Am hyny na farned neb arnoch chwi am fwyd neu am ddïod, neu o ran dydd gŵyl, neu newyddloer, neu sabbothau, y rhai ydynt gysgod pethau i ddyfod; ond y corff sydd o Grist."

O'r ochr arall, gallasai yr apostol ychwanegu, a dywedyd, Os

yw y gau-athrawon yn mawrygu angelion da yn eich golwg, cofiwch fod Mab Duw wedi etifeddu enw mwy rhagorol na'r oll o honynt. Efe yw "delw y Duw anweledig, cyntafanedig pob crëadur: canys trwyddo ef y crëwyd pob dim ar y sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear." Ceisio eu cyfryngaeth hwy rhyngoch â Duw sydd sarhâd arno ef; ac wrth eu haddoli yr ydych yn dwyn sarhâd arnoch eich hunain; oblegid yn Nghrist mae eich personau yn gydstâd â hwy, a'ch natur wedi ei chodi yr annhraethol uwchlaw iddynt, ac yn cael ei mawrygu ganddynt hwy eu hunain yn undeb ei Berson ef, yr hwn y mae holl angelion Duw yn ei addoli. Ond fel pe dywedasai Paul, os am ychwaneg o gydnabyddiaeth a chyfeillach â hwynt yr ydych yn hiraethu, undeb â Christ yw yr unig ffordd i hyny—ynddo ef, fel Pen cyffredinol, y mae yr holl bethau yn y nefoedd ac ar y ddaear wedi eu cymmodi â'u gilydd, a'u crynhoi ynghyd. Wrth ddyfod at Grist, yr ydych yn dyfod at fyrddiwn o angelion, yn aelodau o'r un eglwys, ac i fwynhâd o'r un ysbryd nefol yn ei gwasanaeth a'i haddoliad hi.

Fel hyn yr ymdrechai yr apostol, drwy gorff y llythyr cylchynol hwn, i sefydlu eneidiau y Cristionogion yn Colossa, a'r trefydd oddiamgylch, yn nghrefydd y Gwaredwr. Dangosai hefyd, os oedd eu meddyliau yn ysu am ychwaneg o wybodaeth, fod digon i'w boddloni ynddo ef. Tra nad oedd gan y gau-athrawon ymffrostgar ond rhith doethineb i'w chynnyg iddynt, yr ydoedd o'r ochr arall wir ddoethineb, a dyfnder golud doethineb, yn ymagor ger bron eu dirnadaeth yn yr efengyl. Mynasai iddynt beidio camddeall ei amcan, a meddwl ei fod ef, wrth ddiystyru hòniadau beilchion y gau-athrawon o barth i'w philosophi a'u gwybodaeth, yn dibrisio gwybodaeth ei hunan, nac am ladd eu syched hwythau am wybodaeth; i'r gwrthwyneb, nid oedd dim y teimlai yn fwy awyddus am dano na'u perffeithiad ynddi. Y cwbl a fynasai ydoedd, eu cadw i yfed o'r iawn ffynnon; a gwyddai fod ynddi y fath ddyfnderoedd fel y gallai fod yn hyderus i'w cymhell i yfed yn ehelaeth. "Canys," medd efe, "mi a ewyllysiwn i chwi wybod pa faint o ymdrech sydd arnaf er eich mwyn chwi, a'r rhai yn Laodicea, a chynifer ag ni welsant fy wyneb i yn y cnawd; fel y cysurid eu calonau hwy, wedi eu cydgysylltu mewn cariad, ac i bob golud sicrwydd deall, i gydnabyddiaeth â dirgelwch Duw, a'r

Tad, a Christ; yn yr hwn y mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig." Paham ynte, fel pe dywedasai yr apostol, y bydd i neb eich twyllo chwi âg ymadrodd hygoel? Chwi a welwch eich bod wedi eich cyflawni ymhob ystyr yn Nghrist. "Megys gan hyny y derbyniasoch Grist Iesu yr Arglwydd, felly rhodiwch ynddo ef; wedi eich gwreiddio a'ch adeiladu ynddo ef, a'ch cadarnhâu yn y ffydd, megys y'ch dysgwyd, gan gynnyddu ynddi mewn diolchgarwch. Edrychwch na bo neb yn eich anrheithio trwy philosophi a gwâg dwyll, yn ol traddodiad dynion, yn ol egwyddorion y byd, ac nid yn ol Crist. Oblegid ynddo ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol."

Ni a allwn fod yn sicr fod Cristionogion yn ein hoes ninnau mewn perygl oddiwrth yr un gelynion â Christionogion yr oes apostolaidd; ac yn wir, nid annhebyg ydyw fod ein peryglon ni yn y wlad yma oddiwrthynt hwy yn myned yn fwy yn feunyddiol. Mae rheswn anianol eto, o dan yr enw philosophi, yn hòni ei awdurdod a'i allu ei hunan yn y pethau ag sydd o Ysbryd Duw, ac yn ol ei arfer yn eu barnu yn ffolineb, tra mae traddodiadau dynol, hwythau, o'r ochr arall, yn gosod i fyny henafiaeth, arferion, ac opiniynau y naill ddyn, neu ddynion y naill oes, fel awdurdod anffaeledig mewn crefydd i ddynion ac oesau eraill. Mae y naill yn dywedyd yn uchel, Fel hyn y dywed natur a rheswm; a'r llall, Fel hyn y dywed yr Eglwys neu y Tadau. Ond y mae pob un o'r ddwy ochr heb na chlust i wrandaw, na thafod i ofyn nac i ddywedyd, Pa beth a ddywed yr Ysgrythyr? neu, Pa beth a ddywed yr Arglwydd Dduw? Na, ffrwyth gelyniaeth y galon ddynol at wirionedd yr efengyl ydyw y cyfan o gyfeiliornadau y byd Cristionogol. Ac felly y maent oll, yn ddieithriad—philosophi a thraddodiadau—er maint yw y gwahaniaeth sydd rhyngddynt a'u gilydd, ac er mor ddiystyrllyd yw y naill o'r llall, yn cyttuno i guddio ac iselu y Gair Dwyfol, ac yn enwedig i arwain meddyliau dynion oddiwrth y drefn a ddadguddia i gadw pechaduriaid, sef gras penarglwyddiaethol Duw, Person a chyfryngdod Iesu Grist, a gwaith neillduol ei Ysbryd ef yn y saint.

Pa fodd bynag, heb ymdroi yn hwy fel yma, ein hamcan ni bellach, dros ychydig amser, a fydd ceisio, yn ol esiampl yr apostol Paul yn y llythyr hwn, at wreiddio ac adeiladu ein cyfeillion

yn Nghrist a'r efengyl. Ni a ddymunem allu gwneyd rhywbeth tuag at gadw eu cydwybodau yn blygedig i'w awdurdod ef yn ei air, ac i ennill eu calonau i ymsefydlu ar ei haeddiant am fywyd tragywyddol. Ac ni a gyrchwn, yn ol ein gallu, at yr amcan hwn, yn gyffelyb ag yr oedd yr apostol ei hunan yn cyrchu ato yn yr epistol yma, sef trwy geisio arwain y meddwl i olwg gogoniant Iesu Grist, a chyflawnder Dwyfol ei Berson a'i gyfryngdod.

I'r dybenion yma, ni a geisiwn ehangu meddyliau ein gilydd am gyflawnder y Duwdod, y perffeithrwydd a brïodolir iddo yn y geiriau hyn, yr hwn, y mae yn rhaid i ni ddeall, sydd yn cynnwys ei holl brïodoliaethau: cyflawnder y Duwdod—holl gyflawnder y Duwdod. Bydded i chwi gofio o hyd wrth ein dilyn fod y cyflawnder hwn yn y dyn Crist Iesu; neu, bod y Duw ag y byddwn ni yn sôn am dano wedi ymddangos yn y cnawd.

Yr ydym yn darllen yn y Bibl, chwi a wyddoch, am y môr a'i gyflawnder, ac am y byd a'i gyflawnder; ond nid yw y pethau hyn ond megys dyferion o'r cyflawnder ag yr ydym ni yn awr yn sôn am dano: CYFLAWNDER Y DUWDOD!

I. Meddyliwch am yr hynodrwydd sydd yn perthyn i'w *hanfod ef*, y Duw mawr.

Mae y cyflawnder yma yn gyflawnder un ag sydd yn bodoli mewn natur dragywyddol anghenrheidiol o'r eiddo ei hun, heb ddechreu na diwedd iddo. Yr ydym yn cydnabod nas gallwn amgyffred ond ychydig am y syniadau goruchel âg y mae ymadroddion o'r fath yma yn gynnwys. Ar yr un pryd y mae yn rhaid, dybygem, ein bod yn dirnad rhywbeth am eu hystyr; oblegid mae mynyd o ymresymu â ni ein hunain yn argyhoeddi ein meddyliau mai felly y gorfodir ni i gredu am y Bôd bendigedig, ac ni oddefa ein rheswm, mwy na'n cydwybod, i ni feddwl i'r gwrthwyneb. Yr ydym yn sicr am danom ein hunain, ac felly am bob peth arall, nad oeddym yn bôd erioed, ac mor sicr â hyny ein bod yn bodoli yn bresennol. Wel ynte, gan fod rhywbeth yn bôd yn awr nad oedd yn bôd yn wastad, mae yn rhaid i ni gredu, gan na ddichon dim roddi bôd iddo ei hun, fel y mae rheswm yn ein dysgu i benderfynu, fod rhyw Un yn bôd erioed, yr hwn a roddes mewn amser fodolaeth i bob peth arall. Felly, dyma ni wedi cael Bôd diddechreu a thragywyddol, a hwnw yw Duw.

Drachefn, mae yn amlwg fod y Bôd tragywyddol yma yn han-

fodi o hono ei hun heb achos iddo. Ac megys nad oes iddo wneuthurwr, nis gall fod iddo gynnaliwr; mewn geiriau eraill, mae yn Fôd annibynol. Ar bwy yr ymddibynai Duw? Ai ar Dduw arall? Nid oes Duw ond efe, nid adwaen efe yr un. Ac am bob peth crëuedig, maent hwy yn ymddibynu arno ef, ac felly nid oes iddo ef i ddibynu arno ond dim; a dibynu ar ddim yw bod yn annibynol. Felly yr ydym yn cael ein cydgau i'r ffydd, neu i'r dirgelwch mawr yma,—bod un tragywyddol Dduw yn bod, ac yn bod o anghenrheidrwydd. Ni roddes fôd iddo ei hun, ac nis derbyniodd fôd gan neb arall: felly nid i ewyllys na dewisiad y mae yn ddyledus am dano mewn un modd; ac os nad i ddewisiad, i ba beth ynte ond i anghenrheidrwydd ei natur ei hunan? Nis gallasai ac nis gall Duw ond bôd. Mae hyn yn ymddangos i ni yn anhawdd, ond y mae y syniadau gwrthwyneb yn fwy felly. Ac fel y dywed y diweddar Robert Hall ar y mater hwn, "Yr ydym yn rhwym, gan hyny, o ddewis yr anhawsdra lleiaf o'r ddau, neu yn hytrach i ddewis anhawsder yn lle anmhosiblrwydd, dirgelwch yn lle ynfydrwydd; ac felly gorphwysa ein meddwl yn y gwirionedd mawr hwn."

Ond yr ydym ni yn prysuro at yr amcan oedd genym mewn golwg, ac ni a ddymunem eich galw i ystyried pa beth, ymhob ystyr, a raid i gyflawnder y fath un â hwn fod. Onid yw yn rhesymol meddwl am dano, fod ei fywyd yn annherfynol, ei nerth yn hollalluogrwydd, a'i ddoethineb a'i synwyr tu hwnt i'w chwilio allan; mewn gair, ei fod yn feddiannol ar bob rhyw, a gradd eithaf pob rhyw, berffeithrwydd ynddo ei hun! Yr ydym ni yn barod i dybied, pe na buasem wedi clywed dim am y Duw bendigedig, ond yn unig ei fod yn bôd erioed ac o anghenrheidrwydd, y buasai yn naturiol i ni gasglu oddiwrth hyny yn unig fod yn rhaid ei fod ef yn un mawr, a'i gyflawnder yn anchwiliadwy. A'r un modd, wedi cael yr amlygiadau gogoneddusaf o hono, mewn natur a gras, mae yn hawdd genym gredu eto fod yn y fath un ogoniant mwy ofnadwy, a'i fod yn ei holl berffeithiau goruchel a bendigedig uwchlaw pob bendith a moliant. Dylem gofio hefyd, wrth feddwl am Dduw, nad yw yr oll ag sydd ynddo ef ddim amgen, na dim llai, nag ef ei hun. Nid pethau damweiniol iddo, ychwanegol ato, neu addurn ar ei natur, yw ei brïodoliaethau, ond y natur hòno ei hunan ydynt; nid cynneddfau palledig ynddo, ond ei hanfod.

Felly llefara yn y Bibl am dano ei hun. "Duw, cariad yw:" "Myfi yw y gwirionedd; myfi yw y bywyd:" "deall ydwyf fi; mi bïau nerth." A phan y tystia wrthym yn ei air ei fod yn tyngu i'w allu, i'w sancteiddrwydd, ac i'w fywyd, nid yw ond yr un peth â phan yw yn dywedyd mewn manau eraill, ei fod yn tyngu iddo ei hun. Ynddo ef, nid yw natur, hanfod, a phrïodoliaethau, ond yr un peth. Yn Nuw, Duw yw y cyfan. Ond heb ymhelaethu: ni a dybiem nad yw cymeryd trem weithiau yn y dull yma ar brïodoliaethau naturiol y Jehofah ddim yn anfuddiol; oblegid pan y byddo y meddwl yn arswydo ac yn boddi mewn syndod wrth syllu ar ddirgelwch ei hanfod, mae yn troi yr amser hòno gyda mwy o chwaeth a melusder i fyfyrio arno yn ei brïodoliaethau moesol. Wrth gofio cariad a gras y fath un, mae yn llawenhâu, tra mae yr ystyriaeth o'i fawrhydi anamgyffredadwy yn ei ddysgu i lawenhâu mewn dychryn.

Hwyrach yr ehangid gronyn ar ein meddyliau am gyflawnder y Duwdod, pe gallem ond ymsyniad yn fwy sicr am y Jehofah fel un ag oedd yn ddigon i'w ddedwyddwch ei hunan er tragywyddoldeb. Nis gallwn ddirnad hyn eto, mae yn wir; ond mae yn rhaid i ni gredu mai felly y mae yn bod. Ac, fel y dywed Mr. Charles yn y *Geiriadur Ysgrythyrol*, "Mae yn hyfryd credu, meddwl, a myfyrio, am y Duw mawr, er nas gallwn ei amgyffred." Wrth wneyd cyfammod âg Abraham, mae yn galw ei hun, "Duw hollalluog," neu yn hytrach, "hollddigonol." Pa beth ydym i'w ddeall wrth y fath enw? Onid yw yn ein dysgu ni i feddwl am un â'i ddigonedd yn codi o hono ei hun, heb dderbyn dim gan neb arall; ac un â'i ddigonedd yn gwasanaethu iddo ei hun, hyny ydyw, i'w ddedwyddwch, fel nad oes arno eisieu dim gan neb? Yn wir, nid oes gan neb ddim i'w roddi i Dduw, fel ag i ychwanegu dim at ei gyflawnder a'i berffeithrwydd. "Oblegid o hono ef, a thrwyddo ef, y mae pob peth. Ac ynddo ef y mae pob peth yn cydsefyll." Troi, gan hyny, at ei grëadur am help neu gyfarwyddyd, ni byddai yn ddim amgen ynddo ef na throi at yr eiddo ei hunan, ac at hwnw lle nad yw ond terfynol ac anmherffaith. Ond nid yw Duw, ac nid rhaid iddo, ymddibynu ar neb arall. Mae ynddo, a hyny o hono ei hun, gyflawnder digonol i'w holl berffeithiau goruchel. "Dyma wybodaeth ry ryfedd i ni; uchel yw, ni fedrwn oddiwrthi." Nid yw dyn, nac un crëadur, yn

ddigon i'w ddedwyddwch ei hunan. Mae ganddo alluoedd i fwynhâu dedwyddwch, mae yn wir, a galluoedd mawrion hefyd; ond buasai yn well iddo fod hebddynt o lawer, na bod yn eu meddu, oddieithr iddo gael ychwaneg i'w roddi ynddynt, ac i'w diwallu, nag sydd ganddo ef ynddo ei hun. "Pwy bynag," medd un awdwr, "a ymneilldua i'w feddwl ei hun am hapusrwydd, a gaiff brofi ei hunan yn fuan yn druenus; fe deimla yn garcharor hyd oni chaniatäer iddo fyned ar lêd, ac ymuno mewn serch ac ymddiried â rhywbeth allan o hono ei hun."* Ac felly yr ydym yn gweled plant dynion yn barhäus: tra byddo eu gobaith am hapusrwydd yn fyw, maent yn edrych am dano allan o honynt eu hunain. Dyheua y cybydd am gyfoeth, a'r athronydd am wybodaeth; ac er nad yw y byd hwn, yn ei holl amrywiaeth, yn ddigonol i wneyd y crëadur yn ddedwydd, eto, ni byddai troi, hyd yn nôd oddiwrth y byd, iddo ei hunan, yn ddim amgen na pherffeithiad ebrwydd ar ei drueni. O mor dlawd yw dyn, pan y byddo ei gyfeillach â phob peth oddiallan iddo ei hun wedi darfod! "Nis gall fod," medd yr unrhyw awdwr, "amgenach drych o salw drueni na'r dyn, yr hwn ag sydd wedi ei gyfyngu yn hollol iddo ei hun, heb feddu dim o'r teimladau hyny, pa rai sydd yn cysylltu meddwl wrth feddwl, a chalon wrth galon, ac yn ddyeithr i'r cydnewidiad hwnw o dynerwch a serchogrwydd ag sydd yn ffỳnu yn wastad rhwng ysbrydoedd cyffelyb i'w gilydd, yr hyn yw gwir fwyniant cymdeithas." Mae pob dyn meddylgar, ond odid, yn teimlo fod hyn yn wirionedd. Ac hwyrach mai dyma un achos ein bod mor barod i ddychymygu yn aml fod llawer o ddedwyddwch y Crëawdwr ei hunan yn cyfodi oddiwrth ei waith yn crëu, yn cynnal, ac yn cymdeithasu â'i grëaduriaid. Ond yn wir, nid yw hyny ond syniad plentynaidd am y tragywyddol YDWYF, yr hwn y mae ffynnon ei ddedwyddwch ynddo ei hun.

Dychymygwch yn awr, dros fynydyn, fod y grëadigaeth wedi diflanu a darfod, a bod yr holl ehangderau difesur heb neb na dim yn preswylio ynddynt ond Duw; a meddyliwch am y Duw hwn fel hyn er tragywyddoldeb, yn hanfodi ynddo ei hun, yn yr anghyfannedd-dra arswydlawn, a'r unigrwydd anamgyffredadwy, heb

* Dyledus yw hysbysu y parotöwyd y bregeth hon gan yr awdwr parchedig yn draethawd i'r *Traethodydd* yn y fl. 1854; ac felly ceir ynddi rai dyfyniadau a chyfeiriadau nad oeddynt yn y bregeth draddodedig.

berthynas rhyngddo â neb, na chymundeb âg un meddwl, ond â'i feddwl goruchel ei hunan! O! pa fodd yna yr oedd y Jehofah yn byw? Yr ydym ni, wrth feddwl am dano, o dan y fath olygiad arswydol, yn teimlo aethau oerion yn ein meddiannu. A brofai ef ddim gwall nac amddifadrwydd? Na! ond yn ngeiriau y Salmydd, gallem ddywedyd, "Digonolrwydd llawenydd oedd ger ei fron, ac ar ei ddeheulw yr oedd digrifwch yn dragywydd." Yr ydoedd yn hunan-ddigonol, ac felly yn fendigedig ynddo ei hun yn oes oesoedd: y Personau goruchel yn ymhyfrydu yn eu gilydd, fel cyfranogion o'r un natur a rhagoriaethau dwyfol, ac yn cydymhyfrydu yn y cynghor hêdd, a'r arfaethau tragywyddol—actau gwreiddiol a diddechreu anfeidrol gariad, doethineb, a daioni y natur hòno! Gwir yw fod Duw yn ymhyfrydu yn ei weithredoedd, ond nid fel pethau yn ychwanegu dim at ei ddedwyddwch, eithr yn hytrach fel ffrwyth ei gynghor tragywyddol, ac amlygiad o'r hyn ydyw ef ynddo ei hun. Am gyfeillach neu wasanaeth ei grëadur, nid rhaid iddo wrthynt. A ydyw ef yn Fôd deallus? Mae ynddo ddigon o berffeithrwydd i'w ddeall ei hun. A ydyw yn Fôd cymdeithasgar? Mae digon iddo i gymdeithasu âg ef ynddo ei hun. Ac os cariad yw, mae tegwch a daioni y Duwdod yn ddigon i'w gariad ei hunan. Mae y Meddwl mawr yn amgyffred, ac felly yn gallu mwynhâu y Gwrthddrych mawr, a'r Gwrthddrych mawr yn llenwi y Meddwl mawr, fel nas gall fod arno eisieu mwy. Wel, gregyn mân y llawr, beth meddwch chwi? Onid yw y môr yma yn ddigon i'ch cyflawni? Beth meddi di, gredadyn, am y fynyd pan y dywedodd y Duw hwn wrth dy enaid, "Myfi a fyddaf yn Dduw i ti?" A pha beth hefyd am y tymmor sydd eto o dy flaen, pan y bydd ei gyflawnder Dwyfol yn ymagor yn fwy eglur ger bron dy ddirnadaeth, ac yn llenwi dy serchiadau? Oni byddi yn ddigon hyfryd?

II. Mae yr Arglwydd yn dangos ei hun yn *ei weithredoedd mewn crëadigaeth a rhagluniaeth.* Ac am fynyd, yn bresennol, ni a geisiwn edrych arno ymhellach drwy gyfrwng yr amlygiadau yma o'i ogoniant a'i gyflawnder Dwyfol.

Mae hyn, o bosibl, yn haws a mwy dymunol i'n meddyliau nag ydyw syllu arno ynddo ei hun; oblegid yma, ni a'i canfyddwn ef megys wedi dyfod o'r eithafion dyeithrol, ac yn sefyll yn y perthynasau agosaf â bodau crëadigol o bob math; a thrwy y perthyn-

asau hyny, a'i ymddygiadau tuag at ei grëaduriaid ynddynt, mae cynghor ei ewyllys a phrïodoliaethau ei natur wedi eu dwyn yn fwy eglur i olwg ein meddyliau. Ni a wyddom nad oedd y grëadigaeth yn bôd erioed; ac megys nad oedd bosibl iddi roi bôd iddi ei hun, felly hefyd yr oedd yn anmhosibl i neb arall roddi bôd iddi heb fod achos ei bôd hi ynddo ef. Pa fawredd bynag, gan hyny, sydd i'w ganfod ynddi, mawredd ei Gwneuthurwr ydyw y cyfan. Ac ni a allwn fod yn sicr, os yw doethineb, gallu, a daioni y Crëawdwr yn ymddangos yn rhyfeddol yn y pethau a wnaeth efe, eu bod yn fwy, ac yn annhraethol fwy felly ynddo ef ei hun; canys mae yn rhaid i ni benderfynu nad yw yn ngallu natur grëuedig arddangos y fath un â Duw i berffeithrwydd.

Ychydig, mae yn wir, a allwn ni ganfod o ryfeddodau y grëadigaeth. Ar yr un pryd, er na byddo genym ond meddwl anghyfarwydd, a'r llygad noeth yn unig, i edrych ar weithredoedd Duw, eto mae syllu arnynt felly gyda y râdd leiaf o astudrwydd, yn cynnyrchu syndod a defosiwn yn ein meddyliau. Y fath fawredd, llïosogrwydd, ac amrywiaeth, sydd yn ymddangos ynddynt! "Dyrchefwch eich llygaid i fyny," medd y prophwyd, "ac edrychwch pwy a grëodd y rhai hyn, a ddŵg eu llu hwynt allan mewn rhifedi; efe a'u geilw hwynt oll wrth eu henwau; gan amlder ei rym ef, a'i gadarn allu, ni phalla un." Ac os ydyw y blaned yr ydym yn byw arni yn rheol i farnu wrthi am y planedau eraill, mae yn rhaid i ni benderfynu o barth i'r bydoedd mawrion uwch ben, pa rai sydd yn ein cylchynu yn yr ehangderau difesur, a pha rai, i'n golwg ni, sy'n ymddangos bron mor ddysglaer a llïosog â gwlith y bore, fod pob un o honynt yn meddu ei hawyr, a'i daear, a'i dyfroedd, fel yr eiddom ninnau, a phob un o'r elfenau hyn drachefn yn cynnwys trigolion yn aneirif. Ac ni a allem ddychymygu fod y meddwl duwiolfrydig yno, megys yn y byd hwn, yn synu at ryfeddodau y Crëawdwr, ac wrth synu yn cael ei gyffroi drwy ddefosiwn ei ysbryd i gydymuno â chyfan-gân gyffredinol y grëadigaeth, ac yn gyffelyb i'r Salmydd gynt, yn tòri allan i ganu, "Mor llïosog yw dy weithredoedd, O Arglwydd! gwnaethost hwynt oll mewn doethineb; llawn yw y ddaear o'th gyfoeth. Felly y mae môr mawr, llydan: yno mae ymlusgiaid heb rifedi, bwystfilod bychain a mawion. Yno yr ä y llongau; yno mae y lefiathan, yr hon a luniaist i chwareu ynddo. Y rhai hyn oll a ddys-

gwyliant wrthyt, am roddi iddynt eu bwyd yn ei bryd. A roddech iddynt a gasglant; agori dy law, a diwellir hwynt â daioni."

Drachefn: mae gweithredoedd natur mor hynod am lïosogrwydd eu hamrywiaeth âg ydynt am lïosogrwydd eu rhifedi. Mae rhyw egwyddorion cyffredinol yn perthyn iddynt, mae yn wir, trwy ba rai y profir eu cyfathrach â'u gilydd, ac yr amlygir eu bod oll yn gynnyrchion yr un llaw Ddwyfol; eto maent yn dra gwahanol o ran eu hymddangosiadau allanol, ac yn aml mae y gwahaniaeth hwnw i'w ganfod yn rhedeg i'r fath gysgodion tyner a manylaidd, fel ag y mae y llygaid yn blino yn ei holrhain, ac iaith yn pallu wrth geisio ei ddarlunio—ffaith ag sydd ar unwaith yn profi cywreindeb a thynerwch y llaw hòno, pa un ag sydd fel hyn yn gwisgo naturiaeth â'r fath ogoniant.

Meddyliwch, er esiampl, am y bywyd llysieuol: mae hwnw yn tryfritho wyneb y ddaear, ac yn taflu ei hunan allan ymhob lliw a ffurf o brydferthwch. A'r un modd y mae y bywyd anifeilaidd. Er fod y crëaduriaid sydd yn meddu arno yn ddirifedi, eto, mae yn debyg na cheir dim cymaint a dau o honynt yn gwbl yr un fath a'u gilydd. Ac nis gallwn lai na rhyfeddu gwaith y Crëawdwr, wrth feddwl mor amrywiol ydyw y dullweddau hyny ag y mae yr un egwyddor o einioes yn ei gymeryd. O ran ffurf, anian, a maintioli, y maent yn rhedeg i bob eithafion o anghyffelybrwydd: o'r blaidd ysglyfaethus hyd at yr oen diniwed, ac o'r elephant anferth ar y maes i lawr hyd at y gwraint sydd yn ysu ar gefn y llaw.

Ac os tröwn ni drachefn, yn ein hystyriaethau, i syllu yn fwy arbenig ar ryw gyfran neillduol o weithredoedd Duw, ni bydd ein syndod yn ddim llai. Mae y distadlaf o honynt, hyd yn nôd y pryfyn sydd o dan ein traed, yn fyd o ryfeddodau ynddo ei hunan. Oblegid, meddyliwch am fynyd ar ba beth yr ydych yn edrych: nid amgen nag ar lwchyn, y mymryn lleiaf o'r ddaear, wedi ei droi yn grëadur byw a theimladwy; ac wrth chwilio ei gyfansoddiad i'r manylrwydd, yr ydys yn cael nad oes un aelod, ïe, na'r migwrn lleiaf, anghenrheidiol i wasanaeth y fath grëadur, yn ddiffygiol ynddo; ond ymhob modd mae wedi ei orphen mor berffaith, ac yn aml, ei addurno mor wych, fel y mae yn anhawdd gwybod pa un ai yn ffurfiad yr haul sydd yn dysgleirio yn y nef, ai ynte yn y gwibedyn bychan, yr hwn sydd yn chwareu y prydnawngwaith

hafaidd yn ei belydrau, y mae doethineb a gallu y Crëawdwr i'w synu yn fwyaf.

Ac Efe, yr hwn a wnaeth y cyfan, sydd yn eu cynnal hwynt. "Gan agoryd ei law," fel y dywed y Salmydd, "mae yn diwallu pob peth byw o'i ewyllys da." Er eu bod yn cwhwfan, fel eu gwelir, ar wyneb y grëadigaeth yn aneirif, eto nid oes calon un o honynt yn rhoi cymaint a churiad, na chymmal i un o honynt yn ysgogi unwaith drwy holl anian faith i gyd, hebddo Ef, yn yr hwn y maent yn byw, yn symud, ac yn bod. Canfyddir llaw Duw ar ysgythredd y graig, yn dysgu yr eryr i wneyd ei nŷth; ac yn mherfedd yr anialwch, yn gofalu am ŵyau yr estrys ddiddeall. Mae efe yn coleddu ewigod y maes, a geifr gwylltion y creigiau, yn gwybod y misoedd a gyflawnant hwy, ac yn eu gwylio pan yn bwrw lloi.

Ac os meddyliwch drachefn am y byd anweledig, mae Duw goruwch oll a thrwy oll yn hwn hefyd. Pa sawl gelyn cryf a maleisus mae yn gadw mewn terfynau yma? a pha sawl myrddiwn o'i blant, mewn gwahanol amgylchiadau, mae yn waredu, yn cynnal, ac yn cysuro, ar bob mynydyn? Mewn gair, mae "yn oludog i bawb ag sydd yn galw arno:" a thybygid nad yw amser yn ei holl oesoedd, ac anian o dan ei holl amrywiaeth, ond megys cyflëusderau iddo ef, yr Hollgyfoethog, i ddangos ei hun a'i gyflawnder gogoneddus.

Ond ofer i ni geisio darlunio. Yr ydym yn sicr mai po ddyfnaf y treiddir i ddirgelion y grëadigaeth y canfyddir fod doethineb a daioni ei Gwneuthurwr yn myned yn fwyfwy. Mae natur a rhagluniaeth yn ymuno, ac megys ar eu hegni, yn gosod allan gyflawnder Duw. Yn yr uchelderau fry a'r dyfnderau obry, o'r naill eithafion i'r grëadigaeth hyd eithafion gwrthwyneb iddi, mae yr Ysbryd tragywyddol yn ffŷnu drwy y cyfan, yn wreiddyn eu bywyd a'u holl ysgogiadau, ac yn llywodraethu arnynt yn fwy sicr a hollol nag y mae ysbryd dyn ar ei ysgogiadau corfforol. "I ba le yr äf oddiwrth dy Ysbryd?" meddai y Salmydd duwiol, "ac i ba le y fföaf o'th ŵydd? Os dringaf i'r nefoedd, yno yr wyt ti; os cyweiriaf fy ngwely yn uffern, wele di yno. Pe cymerwn adenydd y wawr, a phe trigwn yn eithafoedd y môr, yno hefyd y'm tywysai dy law, ac y'm daliai dy ddeheulaw."

"Os yw golygfëydd natur ynddynt eu hunain," medd un awdwr,

"yn fawr ac arddunol, pa faint mwy eu hurddasir yn ein golwg, wrth feddwl am y gair hwnw, yr hwn a alwodd o ddiddymdra eu holl ardderchogrwydd; y ddoethineb hòno ag sydd yn rheoli dros y cyfan a'u holl nerthol ysgogiadau, a'r hon sydd yn crynhoi cynifer o ryfeddodau i'r abwydyn sydd yn marw o dan ein traed, ag i wneuthuriad a llywodraethiad goleuadau y nefodde! Y fath swyn a'r fath brydferthwch a ychwanegir at ddysgleirdeb y ffurfafen serenol, at ffyrnig gysonedd y moroedd cynhyrfus, at olygfa siriol meusydd a llwyni o dan belydrau haul y boreu, trwy'r ystyriaeth o'r Tragywyddol Ysbryd, yr hwn sydd yn dystaw dreiddio drwy holl anian, ac a ymddengys yn dadguddio ei anfarwol fodolaeth, ac yn rhoi allan ei ddwyfol lais, yn nghanol holl ysgogiadau a holl sŵn y grëadigaeth."

III. Yr ydym bellach yn myned i alw sylw at un amlygiad arall, yr olaf a'r helaethaf a wnaeth y Duw bendigedig o hono ei hun i'w grëaduriaid, sef, *yn Nghrist, a gwaith mawr y prynedigaeth.*

Wedi y cyfan, nid oedd y Crëawdwr yn ngwaith y grëadigaeth ond megys yn rhagbarotôi i ddangos ei hunan yn hwn. Ac fe allesid gofyn i sêr y bore, pan y cydganent mewn gorfoledd ar sylfaeniad y gwaith hwnw, A ydych chwi yn awr yn addoli ac yn mawrhâu y Crëawdwr? chwi a gewch weled pethau mwy na rhai hyn. Nid oes yma ond yn unig codi i fyny y chwareufwrdd, ar ba un y mae y Jehofah, yr hwn nad ydych chwi eto ond yn dechreu ei adnabod, yn bwriadu cyflawni ei amcanion tragywyddol, a dangos ei hunan a chyflawnder gogoneddus ei natur i'ch meddyliau. Mae yn sicr fod yr Ysgrythyrau yn llefaru am brynedigaeth yr eglwys, nid fel peth wedi ei gyflawni yn unig er mwyn yr eglwys ei hunan, ond yn hytrach fel amlygiad o Dduw i'w holl deulu. Yn ol iaith yr apostol, "Fel y byddai yn hysbys i'r tywysogaethau ac i'r awdurdodau, yn y nefolion leoedd, drwy yr eglwys, fawr amryw ddoethineb Duw."

Cyn cael y dadguddiad yma o'r Bôd mawr, "y Duw anweledig" y gelwid ef er y cyfan. Nid oedd ond rhanau bychain o'i ffyrdd ef wedi eu gwneyd yn adnabyddus i'w grëaduriaid, ac ychydig mewn cymhariaeth a wyddai y penaf o honynt am dano, a hyny, nid yn gymaint gyda golwg ar yr hyn ydoedd ef ynddo ei hun, ond gyda golwg ar yr hyn oedd i gael ei amlygu iddynt hwy o hono ef yn Mherson a chyfryngdod yr Emmanuel. "Ni welodd

neb Dduw erioed; yr Unig-anedig Fab yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnw a'i hysbysodd ef." Hwnw mewn modd arbenig. Mae Hwnw, yn ei Berson a'i gyfryngdod, "yn ddelw y Duw anweledig," ac yn ddelw mor berffaith o hono, fel y dywedir fod y neb sydd yn ei weled ef yn gweled y Tad. Ac oddiwrth iaith fel hyn, mae yn rhaid i ni gasglu fod yn Nghrist ryw amlygiadau yn cael eu gwneuthur o'r Duw mawr, ag sydd yn annhraethol tu hwnt i ddim a wnaed o'r blaen mewn crëadigaeth na rhagluniaeth. Ni ddywedir, ac nis gellir dywedyd am un crëadur, nac am yr oll o honynt ynghyd, eu bod yn ddelw y Duw anweledig, na bod y neb sydd yn eu gweled hwy yn gweled Duw. Dyma, ymysg eraill, un o'r rhesymau paham yr oedd yr Arglwydd o'r dechreuad yn gwahardd mor bendant roddi addoliad crefyddol i ddim a wnaethai, na gwneyd llun dim a'r sydd yn y nefoedd uchod, nac a'r sydd yn y ddaear isod i'w gynnrychioli nac i'w arddangos ef ei hun; canys nid oes un crëadur yn un man ag mae yn bosibl iddo, yn cywir a theilwng bortrëadu na gosod allan y Duwdod anfeidrol i'w gydgrëaduriaid. Ond y mae hyn wedi ei wneuthur yn Nghrist. Yma fe gaed delw weledig o'r Duw anweledig, ïe, y fath ddelw o hono ag y gellir ei haddoli; oblegid y mae Duw ei hunan ynddi, ac yn cael ei arddangos trwyddi yn berffaith ac yn ogoneddus i feddwl yr addolwr.

I'r dyben o ddeall hyn yn well, dylem ystyried cyfansoddiad Person Crist fel Duw-ddyn, a dybenion ei ddyfodiad i'r byd. Cariwn gyda ni, gan hyny, ein syniadau blaenorol am fawrhydi Duw, ac awn hyd Bethlehem a Chalfaria, i edrych ar y Duw hwn yn faban yn y preseb, ac yn marw ar y groes.

"Ynddo ef," medd ein testun am y Gwaredwr, "y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol." Yn ddïau mae hyn yn beth newydd ar y ddaear, ac yn olwg ryfedd ar Dduw. Cyflawnder—holl gyflawnder y Duwdod—*yn nghorff*—hyny yw, yn y dyn Crist Iesu. Mae y ffaith hon, a'i dybenion, nid yn unig yn amlygiad uwch o'r prïodoliaethau hyny yn y Duwdod mawr ag oeddynt yn adnabyddus eisoes, ond wedi dwyn i'r golwg ddwfn ddirgelion ei gynghor, a goludoedd o berffeithrwydd yn ei natur, megys ymostyngiad, trugaredd, cariad, a gras,—pethau nad oedd crëadigaeth na rhagluniaeth wedi yngan dim am danynt. A ddywedwch chwi wrthym ni fod Duw yn rhyfedd yn ei weithredoedd,

ac, yn ddiau, yn fwy rhyfedd drachefn ynddo ei hun? Wel, bydded felly; rhyfeddaf oll, ynte, ydyw fod y Duw hwn wedi ymddangos yn y cnawd. Pa fath bynag ydyw ynddo ei hun, mae yn preswylio bellach mewn pabell ddynol, ïe, preswylia yr Arglwydd ynddi byth. Nid mewn rhyw arwydd weledig, fel yn y deml gynt, nac ychwaith drwy ei Ysbryd a'i ras, megys y mae yn trigo yn ei bobl; na, ond y mae holl gyflawnder y Duwdod—hyny yw, y Natur Ddwyfol ei hunan—yn preswylio yn sylweddol yn nghorff ei gnawd Ef: y Duwdod a'r ddynoliaeth mewn undeb â'u gilydd, a hwnw yn gyfryw undeb, fel nad yw Mab Duw, a'r dyn Crist Iesu, ond Un Person!

Mae y Bibl weithiau, wrth ymdrin â'r mater hwn, yn gosod y ddwy natur megys mewn cyferbyniad â'u gilydd, ac yn y goleu hwnw yn arddangos y pellder anfeidrol sydd rhwng y naill a'r llall, a thrwy hyny yn dysgu ein meddyliau i ryfeddu yn fwy ei Berson ef, yn yr hwn y maent wedi eu huno. Felly dywedir fod yr Hwn a wnaeth y bydoedd wedi cael ei wneuthur ei hunan yn gnawd, o wraig, a than y ddeddf. "Yr Hwn, ac efe yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw, eithr efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas, ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion; a'i gael mewn dull fel dyn, efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes." A ydoedd yn bosibl i'r Duw mawr amlygu mwy o ymostyngiad o'i ochr ei hun, a gosod mwy o ogoniant a bri ar natur ei grëadur? Na, mae yn sicr genym fod y Bôd Dwyfol yma wedi mawrhâu, a dyfod mor agos at, ei grëadur ag y mae yn ddichonadwy, wrth natur pethau, iddo ddyfod. Beth bynag ydyw ynddo ei hun, fel y sylwyd eisoes, mae Efe bellach o'n cyfathrach ni, ac yn un o honom, ac nis gall ddiystyru dywedyd wrth ddyn, abwydyn y llwch, Fy mam a'm chwaer wyt! O Emmanuel! ti a gyflawnaist lawer o weithredoedd nerthol a gwyrthiau mawrion ar ein daear ni; ond wedi y cyfan y wyrth ryfeddaf oeddit Ti dy hun! "Yn ddiddadl, mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd."

Ymhellach, ni a ddylem ystyried i ba ddyben y bu hyn. Yr ydym yn darllen, pan aeth Samuel i Bethlehem gynt, heb ei ddysgwyl, ddarfod i henuriaid y ddinas godi i'w gyfarfod, a gofyn iddo yn ddychrynedig, "Ai heddychlawn dy ddyfodiad di?" "Hedd-

ychlawn," meddai y prophwyd; "mi a ddaethum i aberthu i'r Arglwydd." Ond wele un mwy na Samuel yn Bethlehem heddyw. Ai heddychlawn dyfodiad hwn yno? A ddaeth efe i'r byd i ddamnio y byd, ai ynte fel yr achubid y byd trwyddo ef? i ddinystrio eneidiau dynion ynte i'w cadw? Ond cyn i ni ofyn, mae y Gwaredwr wedi ateb, Heddychlawn, heddychlawn! "Mi a ddaethum fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach." Daethum i aberthu i'r Arglwydd: "i ddybenu camwedd, ac i selio pechodau, ac i wneuthur cymmod dros anwiredd, ac i ddwyn cyfiawnder tragywyddol." Ei ddybenion yn cymeryd dynoliaeth ydoedd i farw ynddi; gwneyd iawn digonol dros bechodau ei bobl, ac felly agor ffordd anrhydeddus i'r cyflawnder hwnw, pa un ag oedd eisoes yn trigo yn eu natur hwy, i redeg drwyddi i ymgeleddu eu personau ac i ddiwallu eu holl anghenion; eu gwneyd yn ddïogel a chyflawn yn eu hundeb âg ef ei hun, yr hwn sydd yn cyflawni oll yn oll. O! ryfedd oruchwyliaeth! "Pe buasai yr holl fodolion," meddai un ysgrifenydd, "yn treulio yr holl oesau i geisio dychymygu am ryw weithred trwy ba un y gallasai Duw arddangos ei gariad, ac o ganlyniad ei fawredd, i'r holl fydoedd, nid wyf yn credu y gallasent ddarganfod dim i'w gymharu â hynyma, sef ei fod ef wedi dyfod yn ddyn i'n hachub ni!" Mae pob amlygiad arall o Dduw yn dangos hwn yn fwy rhyfedd, tra mae hwn yn taflu pob un arall i'r cysgod.

Yr oedd gallu a doethineb Duw, fel y buom yn sylwi eisoes, wedi dyfod i'r golwg yn y grëadigaeth, ac eraill o berffeithiau ei natur drwy y cwymp, ac yn ei ymddygiadau at grëaduriaid syrthiedig fel Llywodraethwr y byd; ond wedi y cwbl, yr oedd ynddo ogoniant mwy rhyfeddol. Ond yn Nghrist, a dygiad yr eglwys i ogoniant a dedwyddwch tragywyddol trwyddo, mae ei holl brïodoliaethau yn ymddangos mewn cydweithrediad gogoneddus, ac yn gweithredu hefyd o dan y fath amgylchiadau ag sydd yn eu harddangos yn eu cyflawnder a'u hanfeidroldeb. Yma canfyddir doethineb Duw yn ddyfnder golud doethineb, a'i ddaioni, o dan arweiniad y ddoethineb hòno, yn ymarfer ei hunan hyd yr eithaf. Pa ddyfais uwch a ddichon doethineb lunio? Beth mwy a ddichon daioni anfeidrol ei gyflawni? Edrych ar ei wyrthiau ef, bechadur! Mae wedi dwyn Duw tragywyddoldeb i natur ei grëadur, a hyny mewn trefn i farw drosto a'i waredu o'i drueni; ac

yna, wedi gwneuthur cymmod drwy waed ei groes ef, mae yn gweinyddu trwyddo ef, mewn ffordd o drugaredd a gras, heddwch a maddeuant i'r troseddwr euog ac annheilwng, heb gymylu yr un o brïodoliaethu eraill y Jehofah. O am adnabod Duw yn Nghrist! Ar y dadguddiad hwn y mae y deml ysbrydol yn cael ei hadeiladu; dechreuad gwir grefydd yn ysbryd pechadur ydyw; a dyma fydd testun cân yr holl eglwys i dragywyddoldeb. Mae yr hen grëadigaeth bellach wedi syrthio mewn cymhariaeth i anghof; saint ac angelion efo eu gilydd yn cydedrych mewn syndod, ac yn gorfoleddu yn dragywydd yn yr amlygiadau mwy rhyfeddol o ogoniant a chyflawnder y Duwdod yn Nghrist a'r grëadigaeth newydd.

Ond bellach yr ydym yn terfynu gyda y ddau sylw canlynol, mewn ffordd o gymhwysiad.

Wrth yr anystyriol a'r difraw ni a ddymunem ddywedyd,—Dyma y Duw y pechaist di yn ei erbyn! Efe, yr hwn y buom ni mewn gwendid yn sôn am dano, ydyw yr un y darfu i ti ymwrthod â'i lywodraeth, a chymeryd dy ewyllys, hyny ydyw, dy chwaeth a'th fympwy anwadal dy hunan, yn rheol dy fywyd a'th ymddygiadau, yn lle ei ewyllys ef, y Brenin tragywyddol. Dyma y Duw ag yr ydwyt yn dy anwybodaeth a'th falchder wedi ei anghofio ddyddiau aneirif! Ti a addefi ei fod yn bôd, o bosibl; ond fe ellid meddwl bron dy fod yn gwneuthur hyny yn bwrpasol i gael y pleser o'i ddirmygu. O mor lleied o effaith y mae dy syniadau am dano yn ei gael ar dy feddyliau! Onid ydwyt yn ei addef yn fawr, ac eto yn byw heb ei ofni; yn ei addef yn dda, ac eto yn byw heb ei garu, nac ymhyfrydu ynddo? Ac os ar unrhyw bryd y bydd dy gydwybod yn deffro, ac yn gwasgu am gael dy galon i gydymffurfiad â dy farn, nid yw hyny yn gwneyd dim ond cynhyrfu dy elyniaeth ato yn gynt, a pheri i'th ysbryd godi yn fwy cyflym mewn gwrthryfel yn ei erbyn ef, ac yn erbyn pob syniad bywiol am dano o fewn dy fynwes. Mewn gwirionedd, yr ydwyt cystal a dywedyd wrtho, y bydd raid iddo naill ai ymadael o dy feddwl di o gwbl, neu ynte foddloni ar fod yno yn unig yn rhyw *idea* ddifywyd, heb addoliad, ufudd-dod, nac aberth oddiwrthyt ti. O mor annaturiol yw gweled crëadur fel hyn wedi troi yn erbyn ffynnon ei hanfod a'i wir ddedwyddwch! "Paham," medd y Salmydd, "y dirmyga yr annuwiol Dduw!" Ti elli fod yn sicr,

bechadur, megys nad oes genyt ond dirnadaeth anmherffaith am fawredd y Jehofah, felly nad wyt yn dirnad ond ychydig, ïe, mewn cymhariaeth ddim, pa beth a wnaethost wrth bechu yn ei erbyn ef!

Ond gan obeithio dy fod eisoes i fesur yn deimladol o hyn yma, mae genym air i'w ddywedyd wrthyt ymhellach fel pechadur edifeiriol. A dyma fe,—Mae y Duw hwnw ag yr ydym wedi bod yn sôn wrthyt am dano, ac yn erbyn yr hwn yr ydwyt ti wedi troseddu, yn awr yn yr efengyl yn cyflwyno ei hunan, yn nghyflawnder ei ddaioni a'i ras, yn iachawdwriaeth a rhan i dy fath di. Pan y dywedir fod holl gyflawnder y Duwdod yn Nghrist, meddylir ei fod ynddo, nid fel Person Dwyfol yn unig, ond fel Cyfryngwr a Phen yr eglwys. Ac fel y cyfryw, mae y cyfan o'i gyflawnder wedi ei drysori ynddo ar gyfer ei bobl, ac mewn trefn i ddiwallu eu hanghenion. Felly y mae Iesu Grist yn yr efengyl yn dwyn yr ystyriaeth yma fel rheswm dros ei waith yn galw pechaduriaid ato ei hun am achubiaeth. "Tröwch eich wynebau ataf fi holl gyrau y ddaear, fel eich achuber; canys myfi wyf Dduw, ac nid neb arall." Fel pe dywedasai, Er eich bod yn dorf aneirif, a phechodau ac anghenion pob un o honoch yn fawrion a lliosog, eto tröwch eich wynebau ataf fi. Os yw cyflawnder y Duwdod yn ddigonol i gyflawni eich rhaid, a boddloni eich dymuniadau, mae hwnw yma at eich gwasanaeth. "Canys myfi wyf Dduw, ac nid neb arall." O fy enaid, edrych ar Iesu! ynddo ef mae Duw wedi dyfod yn agos iawn atat ti. Cei gymdeithasu âg ef yma yn dy natur dy hunan, a thrwyddi gyfranogi o'i gyflawnder anhysbydd. Yn Nghrist, wedi iddo yn gyntaf amlygu ei ogoniant, a gosod allan gyfoeth ei natur ger bron dy feddyliau, y mae y Duw mawr, yn ol yr amlygiad hwnw, yn cyflwyno ei hunan i dy ffydd, ac yn barod i ddywedyd wrth dy enaid anghenog a phryderus, Tro dy wyneb yma; myfi, yr hwn ydwyf hyn oll, a fyddaf yn yr oll ag ydwyf yn Dduw i ti. Pa beth yn ychwaneg a elli ddymuno? Mae hyn yn ddigon heb iechyd, cyfoeth, na mawredd y byd hwn—digon yn wyneb euogrwydd ac annheilyngdod—digon mewn amser ac i dragywyddoldeb. "Os oes digon o ras i bechaduriaid yn y Duw hollddigonol," medd Dr. Owen, "mae digon yn Nghrist. Onid yw yn ateb i ni yn ein holl gyfyngderau? Beth yw ein heuogrwydd terfynol ni yn ei ymyl ef? Dangoswch i mi y pechadur yr hwn a ddichon ledu ei anwireddau hyd fesurau, os gallaf ddywedyd

felly, y gras hwn. Mae yma drugaredd ddigon i'r mwyaf, i'r henaf, a'r cyndynaf o droseddwyr." "Paham, tŷ Israel, y byddwch feirw?"

Pan y byddom yn rhodio weithiau ar fîn y môr, wedi enciliad y llanw, yr ydym yn canfod ei geulanau, a godrau y mynyddoedd oddiamgylch iddo, yn llawn ogofëydd a thyllau cilfachog, oll â'u safnau yn agored a gwâg o ddwfr, a'r ymlusgydd adgas yn troi yn y cwterydd lleidiog. Ond yn y man drachefn, yr ydym yn gweled y llanw yn dychwelyd, yn nawsio i mewn, yn wylaidd megys ar y cyntaf, drwy y rhigolau dirgel, ac yn llenwi y naill agen ar ol y llall; ac yn ebrwydd bydd pob gwrthuni wedi ei guddio, a phob cilfach yn llawn, y cyfan wedi ei ordoi â chyflawnder dyfroedd. Yn gyffelyb i hyn y mae y cristion wedi profi. Heb Dduw, yr oedd ei galon yn wâg ac afrëolaidd; ac mor annigonol ydoedd pethau y byd hwn i allu llenwi ei ddymuniadau âg ydyw yr aberig fechan, yr hon sydd yn colli yn y tywod, i lenwi gwely yr eigion. Ond bendigedig a fyddo Duw! mae'r *tide* megys wedi troi; y cyflawnder Dwyfol erbyn hyn yn treiddio trwy ysbryd y credadyn. Beth oedd ei aileni ef, dybygech chwi, ond y llanw yma yn dechreu dyfod i mewn? Beth ydyw ei gyflawni ef o lawenydd ac o'r Ysbryd Glân, o ffrwythau cyfiawnder, ac o wybodaeth ewyllys Duw ymhob doethineb a deall ysbrydol? beth hefyd, ond y llanw yn dyfod i mewn, y dyfroedd bywiol megys yn chwyddo fwyfwy, ac yn dychwelyd gyda nerth i'w hen sianel! O'r diwedd daw yn ben llanw. Bydd holl anghenion a dymuniadau y credadyn wedi eu cyflawni am byth; ei enaid yn llawn o wybodaeth yr Arglwydd, megys y mae y dyfroedd yn toi y môr. Yn yr hanes olaf sydd genym am dano yn y Bibl, mae wedi cyrhaeddyd hwnt i angeu a'r bedd, ac yn cael ei adael yn y cyflwr hwnw ag y bydd Duw iddo mwyach OLL YN OLL.

# PREGETH II.

## TEILYNGDOD TRWY FFYDD I'R ALWEDIGAETH NEFOL.

2 THESSALONIAID i. 11, 12: "Am ba achos yr ydym hefyd yn gweddïo yn wastadol drosoch, ar fod i'n Duw ni eich cyfrif chwi yn deilwng o'r alwedigaeth hon, a chyflawni holl foddlonrwydd ei ddaioni, a gwaith ffydd, yn nerthol; fel y gogonedder enw ein Harglwydd Iesu Grist ynoch chwi, a chwithau ynddo yntau, yn ol gras ein Duw ni, a'r Arglwydd Iesu Grist."

MAE y geiriau hyn yn cynnwys mater gweddïau yr apostolion dros y saint yn Thessalonica, ac yn cyfeirio hefyd at ryw achos a'u cymhellai i weddïo felly. Ac wrth ddal yr adnod o flaen y testun mewn cysylltiad â'r adnod olaf o hono, fe ddichon fod yr achos hwnw yn dyfod i'r golwg. Yn y ddegfed adnod mae'r apostol yn crybwyll am ail ymddangosiad y Gwaredwr, ac yn dyweyd y "daw efe i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu yn y dydd hwnw." Ac at hyn, dybygid, mae y cyfeiriad yn y testun: "Am ba achos yr ydym hefyd yn gweddïo yn wastadol drosoch, ar fod i'n Duw ni eich cyfrif chwi yn deilwng o'r alwedigaeth hon, a chyflawni holl foddlonrwydd ei ddaioni, a gwaith ffydd, yn nerthol." Yna, fel pe dywedasai yr apostol, ond cael y pethau hyn, chwi a fyddwch yn gyfranogion o'r gogoniant a ddadguddir; a phan ddelo Crist i'w ogoneddu yn ei saint, fe'i "gogoneddir ef ynoch chwi, a chwithau ynddo yntau, yn ol gras ein Duw ni, a'r Arglwydd Iesu Grist."

Neu ynte, ni a allem feddwl fod Paul a'i frodyr yn gweddïo dros y Cristionogion hyn o herwydd yr un achos ag y dywedir yn nechre y bennod eu bod yn diolch drostynt hwy. "Diolch a ddylem i Dduw yn wastadol drosoch, frodyr, fel y mae yn addas." Cystal a dywedyd, Mae genym achos i ddiolch: "ac am ba achos,"

meddai drachefn yn y testun, "yr ydym hefyd yn gweddïo yn wastadol drosoch." Yn awr, yr hyn a gynhyrfai eu calonau fel hyn mor fawr i ddiolchgarwch a gweddïau, ydoedd llwyddiant y Thessaloniaid mewn crefydd. Dywedir fod eu ffydd yn Nghrist, a'u cariad at eu gilydd, yn mawr gynnyddu, a'u hamynedd o dan eu herlidiau y fath fel yr oedd yr apostolion eu hunain yn gorfoleddu ynddynt yn eglwysi Duw. Yr oedd hyn, medd yr apostol, yn "argoel goleu o gyfiawn farn Duw, fel y cyfrifid hwy yn deilwng i deyrnas Dduw." Hyn a barai fod eu hymysgaroedd hwy yn ymhelaethu i fendithio y saint; yr oedd yr argoelion gobeithiol mai felly y byddai yn eu cymhell i weddïo drostynt yn fwy hyderus, gan wneuthur eu deisyfiadau gyda llawenydd, ar fod i'w Duw cyfammodol eu cyfrif hwy yn deilwng o'r alwedigaeth nefol, ac mewn trefn i hyny, gyflawni gwaith eu ffydd yr hon, hyd yma, oedd yn mawr gynnyddu, mewn modd nerthol ac effeithiol hyd y diwedd. Felly yr oedd gweddïau a mawl yn cyd-ddyrchafu o'u calonau. Ac yn wir, nid yw y cristion byth yn teimlo yn fwy sychedig am Dduw a bendithion yr iachawdwriaeth na phan y mae ei galon yn toddi mewn diolchgarwch am danynt.

Mae y geiriau, chwi a graffwch, yn cynnwys tri o ddeisyfiadau neillduol. Hwyrach y dylem sylwi o barth i'r ail ddeisyfiad, "cyflawni boddlonrwydd ei ddaioni," bod yr ymadrodd yn lled ansicr ei ystyr. Gellir ei ddeall yn cynnwys un o'r bendithion a ddeisyfir, neu ynte fel ffynnon y cwbl. Os yn y golygiad cyntaf y cymerwn ef, yna mae'r apostol yn dymuno ar fod i'r saint gael eu gwneyd yn llawn daioni, yr hyn sydd foddlawn neu gymeradwy gan yr Arglwydd. Ond ni a allem feddwl yn hytrach mai at Dduw y dylid cymhwyso y geiriau; ac os felly, mae'r apostol yn gweddïo ar iddo ef, yr hwn ynddo ei hun sydd yn gyfoethog o bob daioni, gyflawni ei amcanion grasol ei hunan tuag at ei eglwys, gwneyd daioni iddi megys â'i holl galon ac â'i holl enaid, a hyny hyd gyflawn foddlonrwydd i'w ddaioni anfeidrol ei hun. Ond os ydyw y deisyfiad hwn yn y testun yn ein harwain megys at ffynnon yr oll a gynnwysir yn y deisyfiadau eraill, mae yn ddiammheu genym fod yr olaf drachefn yn ein dysgu am y ffordd trwy ba un yr oedd y cyfan i gael ei effeithio: "cyflawni gwaith ffydd yn nerthol." Ond i hyn gael ei berffeithio yn eneidiau y saint, bydd pob peth arall yn sicr o ddilyn. Trwy ffydd a nerthol weithred-

iad, ffydd fe wneir eu calonau diffrwyth yn llawn daioni; a thrwy hyny drachefn, byddant yn ogoniant i Grist, ac yn cael eu gwneyd yn deilwng i deyrnas Dduw. Mewn gair, mae'r oll yn cael ei ddwyn oddiamgylch drwy yr hyn y mae y Duw bendigedig yn cyflawni boddlonrwydd a holl foddlonrwydd ei ddaioni tuag at y saint, trwy nerthol weithrediad ffydd. Wedi sylwi gair, gan hyny, ar natur yr alwedigaeth hon, a'r teilyngdod iddi, ni a geisiwn ddangos y lle mawr sydd i ffydd yn nghyfansoddiad y teilyngdod hwnw.

I. Natur yr alwedigaeth hon.

Golygai'r apostol wrth yr ymadrodd hwn, nid yn gymaint y weithred o alw, ond yr hyn sydd ynglŷn wrth yr alwedigaeth, sef gogoniant a dedwyddwch y fuchedd ddyfodol. Yn yr adnodau blaenorol, defnyddia amryw o ymadroddion eraill i'w gosod allan, megys esmwythdra—teyrnas Dduw—a gogoneddiad Crist yn ei saint. Ond yma dywed, "yr alwedigaeth hon;" ac fe'i geilw felly oblegid mai trwy alwedigaeth effeithiol yr efengyl y mae pechaduriaid yn dyfod i feddiannu y pethau hyn.

Mae yn brïodol sylwi pan y sonia yr apostol am weddïo ar fod i'r Thessaloniaid gael eu cyfrif yn deilwng o'r alwedigaeth hon, mai nid bod yn deilwng o gael eu galw y mae yn olygu, ond yn hytrach bod iddynt gael eu gwneuthur, trwy gynnydd a pharhâd eu sancteiddrwydd, yn deilwng o'r hyn a berthynai i'r alwedigaeth yr oeddynt wedi ei chael. "Galwedigaeth nefol" ydyw galwedigaeth y saint; "uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu." Mae y mwynhâd sydd ynglŷn â'r alwedigaeth yn fawr, ond y mae ei gobaith hi eto yn fwy.

1. Ni a welwn yma fod *ymwared o bob trueni* yn gynnwysedig yn yr alwedigaeth hon. "Ac i chwithau," medd yr apostol, "y rhai a gystuddir, esmwythdra gyda ni." Bydd hyny yn beth newydd a dyeithr i grëaduriaid ag oedd wedi "eu geni i flinder," ac wedi "eu galw i ddyoddef." Mae pechod wedi esgor ar ddyoddefiadau o bob math, a chrefydd, hithau, yn lle symud y dyoddefiadau hyny, wedi eu cysegru i ladd pechod yn y saint. Yn y cyflwr anmherffaith hwn, gan hyny, maent yn wastad i'w dysgwyl. Tra byddo y ddau hâd yn yr un byd, a dwy egwyddor mor wrthwynebol i'w gilydd yn yr un galon, mae rhyfel ac ymdrech yn anocheladwy. "Yn y byd gorthrymder a gewch," medd y Gwar-

edwr. Ac yn wir, wedi i'r cristion fyned allan o'r byd hwn, fe erys ynddo ryw gydymdeimlad â dyoddefiadau. Byddi, gristion; ti a fyddi yn gadael dy frodyr ar ol yn eu gorthrymderau, a dy lwch dy hunan yn y bedd; ei gystuddiau gynt, ar ol ei ddinystrio, yn parhâu i deyrnasu arno o hyd yn eu canlyniadau; a pha beth bynag a fydd tangnefedd a llawenydd dy ysbryd, hen breswylydd y corff hwnw, yn ei gyflwr noeth ac ysgaredig, y mae yn bur bosibl y bydd aml i ochenaid hiraethlawn yn ymgymysgu â'i deimlad dedwydd, yn gystal am berffeithiad yr eglwys ac am brynedigaeth ei gorff. Wel, yn nyfodiad yr Arglwydd Iesu Grist, fe gyflawnir hyn oll, ac fe dderfydd cystuddiau y saint. "Esmwythdra gyda ni," medd Paul: gyda ni, prif ddynion a phrif ddyoddefwyr teyrnas y Gwaredwr. Os edrychwn ni yn ol, fel pe dywedai, ymhob peth cystuddiedig fuom; ac os edrychwn ni ymlaen, rhwymau a blinderau sydd yn ein haros. I hyn y gosodwyd ni, ac nid ydym yn dysgwyl dim amgen hyd ddyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist. Ond yno cawn ninnau esmwythdra; ac fe gaiff saint gorthrymedig yr oesoedd esmwythdra gyda ni. "Yno yr annuwiolion a beidiant â'u cyffro, ac yno y gorphwys y rhai lluddedig. Y rhai a garcharwyd a gânt yno lonydd ynghyd, ac ni chlywant lais y gorthrymydd." "A'r Arglwydd Dduw," medd Esaïah, "a sych ymaith ddagrau oddiar bob wyneb." Mae y saint trwy'r oesoedd "yn dyfod allan o'r cystudd mawr," â'u hwyneb yn fudr gan wylo; dagrau newyddion yn tòri ffosydd ar hyd eu gruddiau megys trwy grêst yr hen; ond fe sych Duw ymaith ddagrau oddiar bob wyneb, ac oddiwrth bob llygad; "a marwolaeth ni bydd mwyach, na thristwch, na llefain, na phoen ni bydd mwyach." Bydd holl arwyddion ac achosion galar wedi cyd-ddiflanu; dim tristwch meddyliol, poen corfforol, na llefain o herwydd gorthrymder amgylchiadol mwyach; pechod a'r holl demtasiynau iddo wedi darfod; ac archolli y Gwaredwr, a thristâu yr Ysbryd, ac anafu ein hunain, a fyddant ymysg y pethau a aethant heibio.

2. Ond nid absennoldeb drwg ydyw y cwbl. Wele *ddaioni mawr* yn gynnwysedig yn yr alwedigaeth hon: mae yma ogoneddu yn Nghrist, a bod yn deilwng i deyrnas Dduw. Mae yn rhaid y bydd rhywbeth gogoneddus yn hyn, o ran gwrthddrych ac ansawdd: teyrnas Dduw, a bod yn deilwng o honi (adn. 5). Erbyn

hyny, bydd y Duw bendigedig wedi adennill calonau ei bobl yn hollol iddo ei hun, ac yn llywodraethu yno byth; egwyddorion tragywyddol ei deyrnas wedi eu perffeithio yn eu heneidiau; eu tangnefedd a'u llawenydd yn annhraethadwy a gogoneddus. Felly yr ydym yn darllen fod y saint wedi "eu galw trwy yr efengyl i feddiannu gogoniant ein Harglwydd Iesu Grist;" ïe, fod "Duw pob gras wedi eu galw hwy i'w dragywyddol ogoniant trwy Iesu Grist." Perffeithrwydd daioni yw gogoniant. A'r gogoniant mwyaf yn y nefoedd yw gogoniant Duw a Christ. Wel, mae y saint wedi eu galw i feddiannu hwnw, ac i'w feddiannu fel y mae yn dragywyddol. Tra byddo Duw a Christ yn ogoneddus, bydd y cristion yn gyfranog o'r gogoniant hwnw. Cafodd hawl iddo yn yr alwedigaeth hon y fynyd y credodd yn Nghrist; hawl a bery cyhyd â gogoniant y Duwdod ei hunan. Dyma fydd y nefoedd: "teyrnasu mewn bywyd gydag un Iesu Grist." Ac yn niwedd y byd hwn, pan y bydd teyrnasoedd eraill yn darfod, pob pendefigaeth a phob awdurdod a nerth yn cael eu dilëu, ïe, a Mab Duw ei hunan yn rhoddi y deyrnas gyfryngol i fyny i Dduw a'r Tad, ni fydd mawredd a breniniaeth y saint ddim yn darfod y diwrnod hwnw. Cyflwynir hwy gan y Gwaredwr i deyrnas a gogoniant Duw. "Deuwch chwi fendigedigion fy Nhad; etifeddwch y deyrnas a barotöwyd i chwi er seiliad y byd." Dyma ystâd olaf yr eglwys, ac felly yn ddiammheu y fwyaf ei dedwyddwch; yr ystâd lle bydd y Tri yn Un Jehofah yn teyrnasu yn ddirwystr yn nghalonau ei bobl, ac yn teyrnasu mor effeithiol yno fel na bydd yn bosibl i un teimlad gwrthryfelgar, nac un meddwl bradwrus, gynhyrfu ynddynt byth. Yno bydd gwynfydedigrwydd a gogoniant y Duwdod mawr yn ymagoryd yn fwy digyfrwng ger bron eu dirnadaeth, ac yn treiddio trwy eu cyrff a'u heneidiau, hyd oni bydd "y rhai cyfiawn," fel y dywed yr Ysgrythyr, "yn llewyrchu fel yr haul yn nheyrnas eu Tad," ac wedi "eu cyflawni o lawenydd â'i wynebpryd Ef."

II. Y TEILYNGDOD TRWY FFYDD I'R ALWEDIGAETH HON.

Gan fod y nefoedd, sef yr alwedigaeth yn ei nôd ac yn ei ffrwyth addfed, yn lle mor neillduol, a'r cyfryw arbenigrwydd yn perthyn iddi o ran natur a mawredd ei gogoniant, prïodol yw ystyried yn bresennol pa fodd y mae pechadur yn dyfod yn deilwng o'r fath alwedigaeth. Nid yw'r gair *teilwng* mwy na'r gair

*cyfiawn* yn adnod 6ed i'w osod mewn gwrthgyferbyniad â gras Duw yn ein hiachawdwriaeth. Y mae yma, ni a welwn, yn cael ei osod allan fel mater gweddi, yr hyn sydd yn dangos fod dyn yn amddifad o hono wrth naturiaeth, ac mai Duw yw ei awdwr. O ganlyniad, nis gall y crëadur, er ei gael, fod yn haeddu dim gan ei Farnwr, yn gymaint a bod yr holl deilyngdod sydd ganddo ger bron gorsedd Duw yn waith Duw ei hun. Ond heb ymdroi gyda'r hyn sydd mor amlwg, ni a geisiwn ddangos natur y teilyngdod hwn, ac yn neillduol y lle mawr sydd i ffydd ynddo; canys wrth gyfrif yn deilwng o'r alwedigaeth hon, y mae Duw nid yn unig yn cyflawni holl foddlonrwydd ei ddaioni i'r rhai a gyfrifa felly, ond yn cyflawni ynddynt "waith ffydd yn nerthol."

Wrth ffydd yr ydym yn deall yr adnabyddiaeth ysbrydol o Grist ac ymorphwysiad arno am iachawdwriaeth. Beth bynag sydd yn gynnwysedig mewn gwneyd pechadur yn deilwng o'r alwedigaeth hon, dyma wreiddyn y cwbl. Trwy ffydd y mae yn dechreu, a thrwy ffydd y mae yn cynnyddu; a phan y byddo ffydd yn cael ei pherffeithio drwy olwg, bydd y credadyn yntau yn berffaith deilwng i deyrnas Dduw. Er dangos y mater yma yn helaethach, nodwn yn

1. Trwy ffydd mae calon pechadur yn cael ei hadnewyddu a'i dwyn i *ansawdd deilwng i dderbyn* yr alwedigaeth hon. Y galon grediniol yw y galon hawddgar a da. Y mae y rhai sydd yn ei meddu, fel y dywed ein Hiachawdwr, "yn gwrando y gair, ac yn ei gadw, ac yn dwyn ffrwyth drwy amynedd." Yn y Bibl y mae dynion yn cael eu golygu yn deilwng neu yn annheilwng yn ol yr ansawdd a fyddo ar eu calonau tuag at Grist a'r efengyl. "Yr hwn sydd yn caru tad neu fam yn fwy na myfi," medd Iesu Grist, "nid yw deilwng o honof fi. A'r neb nid yw yn cymeryd ei groes, ac yn canlyn ar fy ol i, nid yw deilwng o honof fi." A'r un modd mae yn dywedyd am y gwahoddedigion yn nammeg y brïodas, lle mae yn darlunio gwrthnysigrwydd ac anghrediniaeth yr Iuddewon, "Yn wir, y brïodas sydd barod, ond y rhai a wahoddasid nid oeddynt deilwng." Pa fodd yr oedd hyny yn dyfod i'r golwg? Mae yn amlwg fod yr annheilyngdod y cyfeirir ato yn gynnwysedig yn nrwg ansawdd eu calonau, a'u camymddygiad tuag at y brenin a'r wledd. Hyn a ddygir i sylw yn y ddammeg. "Ac ni fynent hwy ddyfod." "A hwy yn ddiystyr ganddynt, a aethant ymaith, un

i'w faes, ac arall i'w fasnach." "A'r lleill a ddaliasant ei weision ef, ac a'u hanmharchasant hwy, ac a'u lladdasant." Dyma yn arbenig oedd yn cyfansoddi eu hannheilyngdod hwy. Nid y ffaith eu bod yn bechaduriaid yn unig, ac nid llygredigaeth gwreiddiol eu natur, na phechodau eu hoes; oblegid yr oeddynt yn cael eu gwahodd i'r brïodas er hyn oll, a chawsent dderbyniad maddeugar a chroesawus hefyd. Ond pan y tòrodd eu llygredigaeth gwreiddiol allan trwy gariad at y byd hwn, a phechodau neillduol eraill, yn ddiystyrwch ar y wledd, ac yn gynddaredd yn erbyn y brenin a'i weision, yna dywedir nad oeddynt deilwng, ac fel y cyfryw, cawsant eu gadael i'w dinystr eu hunain. Yn gyffelyb i hyn yr ydym yn darllen am yr Iuddewon yn Antiochia yn Pisidia (Act. xiii. 45, 46). Pan oedd Paul a Barnabas yn pregethu yr efengyl yno, ni a gawn eu bod hwy, nid yn unig yn gwrthod gair Duw, ond "yn dywedyd yn erbyn y pethau a ddywedid gan Paul, gan wrthddywedyd a chablu." Ac yn hyny mae yr apostolion yn dyweyd wrthynt eu bod yn eu condemnio neu "yn barnu eu hunain yn annheilwng o fywyd tragywyddol;" ac yr oedd Duw megys yn cadarnhâu y ddedfryd, ac yn gorchymyn i'w weision droi at y cenedloedd. O'r ochr arall, mae Iesu Grist yn dangos bod rhyw rai "yn deilwng o hono ef a'r efengyl;" ac y maent yn ei gael ef hefyd, a hwy yn unig sydd yn ei gael. Pan yn danfon ei apostolion allan i bregethu yr efengyl, mae yn eu dysgu i chwilio am y cyfryw rai. "Ac i ba ddinas bynag neu dref yr eloch, ymofynwch pwy sydd yn deilwng ynddi, ac yno trigwch hyd onid eloch ymaith." Pwy sydd *deilwng:* nid pwy sydd o gymeriad da yn unig, ond pwy sydd o dueddfryd crefyddol, wedi eu darparu a'u gwneyd yn barod i dderbyn eich cenadwri. "A phan ddeloch i dŷ, cyferchwch well iddo;" yn ol Luc, "dywedwch, Tangnefedd i'r tŷ hwn. Ac os bydd y tŷ yn deilwng, eich tangnefedd a orphwys arno." Fel pe dywedasai y Gwaredwr, Bydd rhyw gyddymheriad hyfryd rhwng eich ysbryd chwi âg ysbryd y teulu; byddwch chwi fel y cwmwl yn dyferu arnynt hwy, a hwythau yn gyffelyb i'r ddaear, yr hon sydd yn yfed y gwlaw, ac yn derbyn bendith gan Dduw: chwi yn myned i mewn atynt hwy fel gweinidogion y cymmod i bregethu tangnefedd trwy Iesu Grist, a hwythau yn feibion tangnefedd, ac fel y cyfryw yn ddynion addfwyn a gostyngedig o galon, wedi eu gweithio, trwy argyhoeddiad

o'u drwg a'u trueni ysbrydol, i ddyheu am faddeuant a heddwch tuag at Dduw, ac yn barod i'w dderbyn yn nhrefn yr efengyl.

Dyma y teilwng y mae Iesu Grist yn ymofyn am dano. Nid y perffaith a'r dibechod, cofiwch; nid y neb sydd yn gweithio er ei gyfiawnhâu, i'r hwn ni chyfrifir y gwobr o ras ond o ddyled. Ond yn hytrach "y neb nid yw yn gweithio," fel mae'r apostol yn dyweyd, "ond yn credu yn yr Hwn sydd yn cyfiawnhâu yr annuwiol." Mewn gair, y pechadur teimladol ydyw, yr hwn sydd yn ymwybodol o'i annheilyngdod a'i ddrwg haeddiant ei hunan, ac wedi syrthio i mewn â threfn gras yn cadw pechaduriaid. Ac, yn wir, yr unig ansawdd deilwng ar galon pechadur yw hon. Wedi pechu yn erbyn Duw, peth cymhwys iawn ynddo ydyw ymostwng ac edifarhâu am ei bechodau. Ac os ydyw wedi cael sail i obeithio am faddeuant, a dadguddiad óddiwrth ei Grëawdwr am y ffordd, a'r unig ffordd, trwy ba un y gall gael ei adferu yn ol i'w heddwch a'i wasanaeth, dilys ydyw .na ddichon dim fod yn fwy prïodol na theilwng iddo, yn y fath amgylchiadau, na dychwelyd o'i wrthryfel, a chyda galar duwiol, a dwfn ddiolchgarwch, rhoi ei hunan i fyny i drugaredd Duw yn ei drefn.

Ac yn awr, ni a garem i chwi sylwi, fod i ffydd ddylanwad mawr yn nghynnyrchiad yr ansawdd yma ar feddwl pechadur. Tra mae anghrediniaeth yn gwneyd y galon yn ddrwg, mae ffydd o'r ochr arall yn ei phuro, yn ei chadw mewn tymher edifeiriol am bechod, ac i fod yn wastad yn barod i gofleidio yr efengyl. Ac er nas gallwn ni brïodoli dim haeddiant i'r ysbryd yma, eto mae yn gymeradwy yn ngolwg yr Arglwydd, ac ni ettyl efe ddim daioni oddiwrth y pechadur sydd yn ei feddu. "Ar hwn yr edrychaf," medd yr Arglwydd, "sef ar y truan a'r cystuddiedig o ysbryd, ag sydd yn crynu wrth fy ngair." 'Mi a edrychaf arno mewn trugaredd, mi a breswyliaf gydag ef, a hyny mewn trefn i fywhâu ei galon (Esa. lxvii. 15, a lxvi. 2). Mae yn unol â'm gogoniant i synio ar y fath yma. Ar bwy yr edrychwn i, a chyda phwy y trigwn i, os nad gydag ef? Yr wyf fi yn gyfoethog, ac y mae yntau yn teimlo ei hunan yn dlawd; yr wyf fi yn barod i gyfranu, ac y mae yntau wedi ei weithio yn barod i dderbyn. Wedi gogoneddu prïodoliaethau fy natur yn Nghrist, yr ydwyf fi yn yr efengyl yn cyhoeddi fy hunan yn Dduw ac yn iachawdwriaeth i bwy bynag a'm derbynio; a thra mae eraill yn diystyru yr alwedigaeth, mae

efe, mewn ansawdd mwy teilwng, yn ymaflyd yn fy nghyfammod ac yn ymorphwys ar fy nhrefn; a minnau, yn ol fy addewid, a fyddaf yn Dduw iddo byth.' "Pob peth a fydd i'r neb a gredo."

2. Trwy ffydd y mae pechadur, nid yn unig yn derbyn yr alwedigaeth hon, ond yn dyfod i *hawl deilwng* o'r holl ogoniant a'r dedwyddwch sydd yn gynnwysedig ynddi. Yn lle cael ein dwyn i hawl bywyd tragywyddol yn yr Adda cyntaf, ni a'i collasom ynddo ef, a chollasom bob gobaith am dano. Trwy y cwymp mae yr etifeddiaeth dêg ag oedd i ni yn y cyfammod gweithredoedd, yn gystal mewn addewid âg mewn mwynhâd, yn etifeddiaeth megys wedi ei fforffedu; yr ammod o dan ba un yr oedd hi yn cael ei dal wedi dòri, a'r fath ddyled wedi myned arni trwy bechod, fel nas gall dyn byth ei rhyddhâu a'i hadennill iddo ei hun. Ond yn noethineb a gras Duw, fe'i trosglwyddwyd hi i Ben arall â'i gofyn arni; un digon cyfoethog i ateb i'r holl ofynion, a gollwng etifeddiaeth ei frodyr tlodion, gan adferu ei grëadur yn ol i Dduw, a Duw i'w grëadur. Felly mae yr apostol yn dyweyd, ei fod ef "yn Gyfryngwr y cyfammod newydd, megys trwy fod marwolaeth yn ymwared oddiwrth y troseddau oedd dan y cyfammod cyntaf, y ca'i y rhai a alwyd dderbyn addewid yr etifeddiaeth dragywyddol." Yr oedd Efe yn ei Berson ei hun uwchlaw pob gofyn; heb hawl gan neb i'w wasanaeth, nac awdurdod gan un ddeddf ar ei fywyd. Ond yn y cyfammod tragywyddol, ymgymerodd o'i fodd âg achos pechadur; cyflawnodd y gyfraith y darfu iddo ef ei throseddu; dyoddefodd y felldith yr oedd efe yn ei haeddu, a gwnaeth iawn i Dduw. Gwnaeth hyn oll hefyd yn natur y pechadur, ac yn lle a thros y pechadur, ac nid drosto ei hun. A Mab Duw oedd yr hwn a gyflawnodd y cwbl. Person Mab Duw oedd yn ufuddhâu, a bywyd Mab Duw oedd yr aberth. Y mae Dwyfol argraff ar ei holl waith ef. Ni welir cyffelyb iddo mewn gwerth na haeddiant byth mwyach, oblegid ni ddaw Duw byth eto i'r fath amgylchiadau. Ond efe a ddaeth unwaith, a hyny er mwyn pechadur annheilwng, ac y mae yr unwaith hwnw wedi ei berffeithio ef yn dragywydd.

Golygwch waith Crist yn ei gysylltiad â Duw. Mae yn deilwng a difai iddo Ef, y mawredd tragywyddol ac anchwiliadwy. Golygwch ei waith yn ei berthynas â phechod. Y mae pechod yn ei natur yn elyniaeth a gwrthyfel yn erbyn Duw; mae yn ei actau yn aneirif, ac yn ei euogrwydd, o ganlyniad, yn faich trwm, rhy

drwm i grëadur. Wrth siarad y pethau hyn, yr ydym yn teimlo na wyddom beth yr ydym yn ei ddywedyd. Ond ni a wyddom hyn er hyny: pa ddrwg bynag sydd mewn pechod, pa sarhâd bynag a gafodd y Duw mawr trwyddo, y mae marwolaeth Crist yn Iawn am y cwbl—yn foddlonrwydd perffaith a chyflawn i gyfiawnder a sancteiddrwydd ei natur oruchel ef, ac yn dwyn mwy o anrhydedd i'w ddeddf, a mwy o ogoniant i'w enw, nag a daflwyd o sarhâd a dianrhydedd arnynt trwy anufudd-dod a gwrthryfel y byd. Drachefn, deliwch ei waith ef mewn cyferbyniad âg iachawdwriaeth yr holl eglwys. Beth bynag sydd yn gynnwysedig mewn cyfiawnhâd, sancteiddiad, gogoniant a bywyd tragywyddol myrddiynau o bechaduriaid, mae yma ddigon o reswm, digon o ddadl, a digon o haeddiant, i'w ddangos am y cwbl. Ti a addefi, gan hyny, fy nghyd-bechadur, mai teilwng ydyw yr Oen a laddwyd. Os wyt ti yn dlawd ac anghenus, mae ynddo ef, pa fodd bynag, gyflawnder o haeddiant a theilyngdod. A gwrando air ymhellach: y fan y deui di i ymorphwys arno ef drwy ffydd am fywyd tragywyddol, byddi yn y mynydyn hwnw, trwy yr ymorphwysiad hwnw, yn dyfod yn un â'r Person mawr yma; byddi di yn ei gyfiawnder, yn ei haeddiant, ac felly mewn hawl deilwng o'r holl iachawdwriaeth sydd ynddo.

Mae yr iachawdwriaeth yn ei feddiant ef eisoes, yn ei holl gyflawnder, a hyny fel ffrwyth ei haeddiant ei hunan, a gwobr ei waith. Ac ni a ddylem gofio hefyd, nad oes dim llai yn y wobr yma na chael ei bobl yn gyd-etifeddion âg ef ei hun; lle y mae efe, fod o honynt hwythau hefyd gydag ef. Dyma oedd ei amcan wrth farw drostynt ar y groes, ac y mae yn ewyllysio hyn iddynt eto ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwch-leoedd; ïe, y mae ar dir cyfiawnder yn ei ofyn ar sail ei iawn. Ac os wyt tithau, bechadur, yn ymorphwys ar ei haeddiant ef, ti a elli, yn ei enw, a hyny gyda phob hyfder, ofyn a dysgwyl am yr un peth. Mae Duw yn cydnabod ei Fab yn haeddu cael gwneuthur o hono hyn iddo. Ië, meddi dithau, ond nid wyf fi yn haeddu dim eto. Nac wyt ti; ond, er hyny, a thi yn Nghrist, yr ydwyt mewn cysylltiad â haeddiant anfeidrol, ac felly yn deilwng o gael yr iachawdwriaeth sydd ynddo ef gyda gogoniant tragywyddol. Fel hyn yr ydym, wrth ddarllen yr Ysgrythyrau, yn cael y saint yn Nghrist yn ymffrostio yn debyg i Grist ei hunan. Maent hwy yn gorfoleddu ar eu holl

elynion ynddo ef, ac yntau yn gorfoleddu arnynt ynddo ei hun, a hyny yn yr un ymadroddion. Wrth gymharu Esa. l. 8, 9 â Rhuf. viii. 33, 34, cawn esiampl o hyn. Yn y brophwydoliaeth, mae y Messïah bendigedig, pan yn wynebu ar waith mawr y prynedigaeth, yn hèrfeiddio ei holl elynion; ac mewn ffydd yn addewidion ei Dad am gynnorthwy i fyned trwyddo, mae yn dadgan ei hyder am oruchafiaeth arnynt a llwyddiant yn ei anturiaeth bwysig: "Agos yw yr Hwn a'm cyfiawnhâ; pwy a ymryson â mi? safwn ynghyd; pwy yw fy ngwrthwynebwr? nesäed ataf." Fel pe y dywedasai, Yr ydwyf wedi ymgymeryd âg achos fy eglwys, ac yn penderfynu myned gyda yr achos hwnw i'r cysegr trwy fy ngwaed fy hun, ac ennill iddi dragywyddol ryddhâd. A phwy a'm bwrw i yn euog yn hyn? pwy a'm lluddias i gyrhaedd fy amcan, ac i wneuthur barn a mater fy mhobl yn dda? "Agos yw yr Hwn a'm cyfiawnhâ." Yn awr chwi a graffwch fod yr apostol yn rhoi yr ymffrost hyderus a sanctaidd yma yn ngenau pechadur— "Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw yw yr hwn sydd yn cyfiawnhâu. Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw, ïe, yn hytrach, yr hwn a gyfodwyd hefyd, yr hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw, yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni." A chyda phob *hefyd* ac *hefyd* fel hyn, pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Pa berffeithrwydd yn y Duwdod mawr sydd yn galw am hyny? Pa ddeddf o fewn i'w lywodraeth a all ofyn bywyd, hyd yn nôd y gwaethaf o'i throseddwyr, dan gysgod y fath haeddiant, ac mewn cysylltiad â threfn mor gadarn a gogoneddus?

"Pwy, pwy
Ymguddiodd yn ei farwol glwy',
Ac yna fethodd dòri trwy?"

O fy nghyd-bechadur, os oedd bod yn un â'r Adda cyntaf yn sicrhâu dy ddygiad dan yr un dynghed ag yntau; ac yn sail ddigonol a thêg i'r un camwedd hwnw ynghyda'i gondemniad syrthio ar dy berson, ac felly peri fod marwolaeth yn teyrnasu arnat,—mwy o lawer— mwy sicr—mwy cyfiawn, "mwy o lawer y caiff y rhai sydd yn derbyn llïosogrwydd o ras ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu mewn bywyd trwy un Iesu Grist." Yno yr oeddit yn un â chrëadur yn unig, ond yma yr wyt yn un â thragywyddol Fab Duw. Beth bynag am anfadrwydd y cwymp, nid oedd yno er dy ddamnedig-

aeth ond camwedd a drwg haeddiant y terfynol; yr oedd y bai, yn ei wneuthurwr o leiaf, yn feidrol; ond am y cyfiawnder sydd yn Nghrist, trwy yr hwn mae pechadur yn cael ei godi i heddwch â Duw, ac i hawl bywyd tragywyddol, mae yn gyfiawnder a haeddiant yr Annherfynol.

3. Trwy ffydd, a nerthol weithrediad ffydd, mae pechadur yn cael ei wneyd yn deilwng i'r alwedigaeth hon, o ran *cymhwysder i fwynhâu* y gogoniant a'r dedwyddwch sydd yn perthyn iddi. Arferir y gair teilwng, dybygid, yn fynych yn yr Ysgrythyrau mewn golygiad felly; ac fe ddichon mai dyma ei brif ystyr gan yr apostol yn y geiriau hyn. Mae yn gweddïo, nid ar fod i'r saint gael eu cyfrif yn haeddu dedwyddwch tragywyddol, ond ar iddynt gael eu cymhwyso iddo, cael eu hadnewyddu yn fwyfwy trwy ffydd yn Nghrist, a'u gwneyd yn gyfryw o ran eu hysbryd a'u cymeriad ag a fyddo yn cydweddu â'u galwedigaeth oruchel, ac yn deilwng, hyny yw, yn addas yn nghyfrif Duw, i'w mwynhâu. Wrth naturiaeth, mae dyn mor amddifad o gymhwysder i'r nefoedd âg ydyw o hawl iddi; ac heb y cyfnewidiad mwyaf cynhenid a thrwyadl, nid aiff pechadur yno byth. Yr ydym yn teimlo grâdd o arswyd wrth wneyd y fath haeriad; ond y mae Iachawdwr y byd yn ei gadarnhâu, ac yn gwneyd hyny hefyd yn y dull mwyaf difrifol a phenderfynol. "Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." Mae yr ymadroddion yn gryfion, ac yn golygu rhyw dro mawr yn yr enaid; nid goleuo ac argyhoeddi y dyn yn unig. Gall hyny gywiro gronyn ar y farn, a gwellhâu y fuchedd yn allanol; ond nid cyfnewidiad ydyw argyhoeddiad; ac yn lle diweddu mewn cyfnewidiad, mae yn aml yn marw yn y gydwybod, ac yn gadael y galon yn yr un ansawdd tuag at Dduw âg o'r blaen. Ond y mae yn rhaid ail eni dyn, ei grëu ef o newydd yn Nghrist Iesu, mewn trefn i fyned i'r nefoedd. Ymadroddion yw y rhai hyn sydd yn dangos fod rhywbeth newydd yn cael ei gynnyrchu yn y galon, a hwnw yn ei chyfnewid, ac yn ei hadnewyddu yn ol delw yr Hwn a'i crëodd ef. Ac yn wir, yn wir, medd Iesu Grist, oddieithr i ddyn gael hyn, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw. "Pa gyfeillach sydd rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder? a pha gymundeb rhwng goleuni a thywyllwch?" Os cymharwn ni natur dedwyddwch y nefoedd âg ansawdd neu dueddfryd calon pechadur wrth naturiaeth, mae yn

anmhosibl i ni lai na gweled, ïe, tybygid y gallai rheswm y dyn anianol ei hunan ei argyhoeddi ef, eu bod yn gwbl anghydnaws â'u gilydd. Beth yw y nefoedd? Ystâd ydyw yn yr hon y mae pawb yn byw iddo Ef. Mae yno lawenydd a digonolrwydd llawenydd, ïe, digrifwch yn dragywydd; ond nid mewn gwreica a gwra, nid mewn bwyta ac yfed; nid pleserau isel y cnawd yw ei phleserau, nac yn wir bleserau uwch a mwy coethedig rheswm a gwybodaeth; ond yn y nefoedd mae dedwyddwch pawb yn gynnwysedig mewn addoli a mwynh u Duw. "Edrychaf ar dy wyneb mewn cyfiawnder," medd y Salmydd; "digonir fi pan ddihunwyf â'th ddelw di." Dyma y nefoedd o ran natur ei dedwyddwch, a'r cymhwysderau i'w fwynh u: "wyneb," hyny yw, gogoniant Duw, yn cael ei amlygu ger bron y meddwl, a'r enaid, yntau, mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd—ei gymhwysderau i hyny—yn edrych ar y gogoniant hwnw, ac yn cael ei ddigoni a daioni; yr edrych ar y ddelw ogoneddus oddiallan yn perffeithio y ddelw oddimewn, a hyny drachefn yn cryfhâu yr enaid i edrych yn fwy astud, ac, yn a thrwy y cymundeb bendigedig yma, afonydd o hyfrydwch yn llenwi y galon.

Ond os dyma y nefoedd, pa fodd y gelli di, yr annuwiol, ei mwynhâu? Nid yw ansawdd dy galon ddim yn cyttuno â natur y dedwyddwch sydd ynddi. Yr wyt ti yn casâu y Duw a addolir yno, yn caru meluschwant yn fwy nag yn caru Duw, yn debyg i'r neidr yn y domen, yn torheulo ac yn mwynhâu y budreddi, ond yn llawn gwenwyn marwol at sancteiddrwydd a phurdeb. Meddwl, attolwg, mor ddidduw yw dy galon yn bresennol; mor ddiflas i dy enaid yw meddyliau am Dduw! Pan y cyflwynir pethau y nefoedd i dy sylw yn yr efengyl, yr wyt ti, fel y claf yn nghanol danteithion, yn teimlo yn gwbl ddiarchwaeth atynt; ïe, y mae eu harogl megys yn dy lenwi â gwrthwynebiad iddynt. "Oni wyddoch chwi," medd yr apostol, "na chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw?" Ac megys na chânt hwy ei hetifeddu wrth osodiad digyfnewid Duw, felly nis gallant chwaith yn ol natur pethau. Mae y crëadur yn anghymhwys mewn ystyr foesol i'r fath etifeddiaeth, ac yn cael ei gau allan o honi gan ansawdd ei serchiadau ei hunan. Pe bae yr annuwiol yn myned i'r nefoedd, ac yn ddedwydd yno, byddai yn ffaith heb ei chyffelyb yn holl grëadigaeth Duw: crëadur yn

byw yn hapus allan o'i elfen ei hunan! Am bob crëadur mae Duw yn ei ddwyn i'r byd hwn, y mae yn cael ei gymhwyso i'r amgylchiadau sydd yn ei aros mewn ystâd flaenorol; fe'i dygir i fod yn yr elfen y mae i fyw ynddi, ac o ran ei gyfansoddiad yn addas i fyw yno, ac felly mae yn chwareu yn hapus o'i mewn. Fy nghyfeillion, yr un yw Duw iachawdwriaeth a Duw natur, ac am hyny nis gellwch ddysgwyl iddo eich dwyn chwithau i ystâd o ogoniant yn y byd a ddaw oddieithr eich cymhwyso chwi iddi yn y byd yma mewn ystâd o ras. Os uchod yr ai di, fy enaid, mae yn rhaid dy eni di oddiuchod; dy eni o Dduw mewn trefn i fwynhâu Duw.

Mae hyn, cofier eto, yn bosibl i bechadur. Wedi i'r apostol rybuddio y Corinthiaid am beidio cymeryd eu twyllo,—na chai dynion aflan ddim etifeddu teyrnas Dduw, mae yn dyweyd hefyd, "A hyn fu rhai o honoch chwi; eithr chwi a olchwyd, eithr chwi a sancteiddiwyd, eithr chwi a gyfiawnhäwyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni." A'r un modd y mae yn dyweyd wrth y Colossiaid nad oedd yn peidio a gweddïo drostynt, "gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Ac os gofyna neb pa fodd y gall gael ei gymhwyso a'i ragbarotôi i ogoniant, mae yn dda genyf hysbysu iddo, Ti a gei hyny yn yr un man ac yn yr un ffordd âg y ceir hawl iddo: trwy Grist a ffydd yn Nghrist. Mae yr orchwyliaeth yma yn dechreu yn yr adenedigaeth. Yno y mae ffydd yn cael ei dwyn i fôd yn y galon, yr hon sydd, nid yn unig yn rhan neillduol o'r sancteiddrwydd, neu y cymhwysder yr ydym yn sôn am dano, ond hefyd yn wreiddyn iddo, ac yn foddion arbenig i'w ddwyn ymlaen yn yr enaid. Trwy ffydd y mae pechadur yn cael ei gyfiawnhâu a'i heddychu â Dduw trwy farwolaeth ei Fab ef; a byth wedi ei heddychu felly, mae cymundeb rhyngddo â Ffynnon bywyd a phurdeb yr holl eglwys. Mae Duw, fel Duw yr heddwch yn Nghrist Iesu, yn ei sancteiddio, ac yn ei ddwyn ymlaen at berffeithrwydd; a diwedd yr orchwyliaeth fydd ei sancteiddio yn gwbl oll, ac, yn ol y cynllun tragywyddol, ei osod ger bron ei orseddfainc ef mewn gorfoledd. Trwy ffydd mae pechadur, megys âg wyneb agored, yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd yn nrych yr efengyl, ac yn cael ei "newid i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant, megys gan Ysbryd yr Arglwydd." Mae

gogoniant ar ol gogoniant yn dyfod i'r enaid oddiwrth y mawr ragorol ogoniant sydd o flaen llygad ffydd. Wele ffydd yn syllu, y serchiadau yn ennynu, llygredigaeth y galon yn gwanychu, cariad a sancteiddrwydd yn cryfhâu, yr enaid yn dyfod i aros yn Nuw a Duw ynddo yntau, ïe, fel 'y mae yr apostol yn dyweyd, trwy yr oll ac yn yr oll o hono; yn debyg i'r tân yn a thrwy yr haiarn, yn difa anmhuredd y galon, ac yn ei throi i'w anian fendigedig ei hun. Fel hyn y mae cyfeillach y galon â phethau nefol, trwy ffydd a'i nerthol weithrediad, yn nefoleiddio yr holl enaid. Y mae'r cristion yn cael ei godi trwyddi yn feunyddiol i fyw yn fwy unol â'i enedigaeth a'i obeithion; ac felly yn raddol fe'i gwneir, yn ol iaith y testun, yn gyfryw ag a gyfrifir gan y Duw bendigedig yn deilwng o ogoniant a dedwyddwch yr alwedigaeth nefol.

4. Trwy ffydd, a nerthol weithrediad ffydd, y mae'r saint yn cael eu gwneyd yn deilwng o'r alwedigaeth hon, fel y mae yn *daledigaeth* neu yn *wobr* rasol ufudd-dod. Dichon y cariwyd y syniad yma weithiau càn belled yn yr eglwys âg i gymylu gras yn yr iachawdwriaeth; ond ar brydiau eraill, wrth godi gras a chyfiawnder y Gwaredwr, fe'i hanghofiwyd yntau. Eithr y mae y ddau beth yn y Bibl: iachawdwriaeth i gyd o ras, ac eto gras yn gwneyd y fath wahaniaeth rhwng ei ddeiliaid âg eraill, fel âg y bydd cyfiawnder Duw yn ddysglaer pan yn talu iddynt fywyd tragywyddol. Nid nwyth anwadal fydd yn ffynu yn y farn, na wyddys pwy a gosbir yno, na phwy a fydd yn cael eu gwobrwyo: pa un ai Cain y mwrddrwr ai Abel y merthyr; Nimrod yr heliwr cadarn ai ynte Enoch a rodiodd gyda Duw. Nage, ond bydd gweithredoedd dyn yn cael eu dwyn yno i brofi ei gyflwr a'i egwyddorion; ac yn ol y gweithredoedd y bydd ei dynged yn cael ei phenderfynu.

Mae llawer, o bosibl, yn methu cysoni yr athrawiaeth yma o wobr â'r ystyriaeth mai o ras yn hollol y mae y cristion yr hyn ydyw. Ac y mae yn rhaid i ni gydnabod fod y gwirionedd hwn, ynghyda'r ystyriaeth o anmherffeithrwydd y credadyn yn y fuchedd bresennol, yn cau allan yn gwbl bob drychfeddwl am haeddiant. Ac eto mawr fydd gwobr y credadyn yn y nef. Mae y Bibl, ni a wyddom, yn arfer yr ymadrodd hwn gyda phob hyfder. "Yr hwn sydd yn derbyn prophwyd yn enw prophwyd," medd Iesu Grist, "a dderbyn wobr prophwyd; a'r neb sydd yn derbyn un cyfiawn yn enw un cyfiawn, a dderbyn wobr un cyfiawn. A phwy bynag

a roddo i'w yfed i un o'r rhai bychain hyn phiolaid o ddwfr oer yn unig yn enw dysgybl, yn wir, meddaf i chwi, ni chyll efe ei wobr. Eithr cerwch eich gelynion, a gwnewch dda, a rhoddwch echwyn, heb obeithio dim drachefn; a'ch gwobr a fydd mawr, a phlant a fyddwch i'r Goruchaf, canys daionus yw efe i'r rhai anniolchgar a drwg." A'r un modd y mae'r apostol Paul yn dyweyd am dano ei hun a'i gydweithwyr yn yr efengyl—er nad oedd yr hwn oedd yn plànu ddim, na'r hwn oedd yn dyfrhâu—eto y byddai i bob un o honynt "dderbyn ei brïod wobr ei hun, yn ol ei lafur ei hun." Sicr yw y dylem gofio bob amser wir natur y wobr; o ras y mae, ac nid o ddyled; eto hi a fydd yn wobr er hyny, a'r credadyn yn cael ei gyfrif wrth ddeddf ffydd yn deilwng o honi. Pe buasai Duw yn cymeryd ei bobl i ogoniant heb fod dim gwahaniaeth yn cael ei wneuthur rhyngddynt hwy âg eraill yn y byd hwn, ni buasai dim prïodoldeb, dybygid, mewn llefaru am y gogoniant hwnw fel "taledigaeth y gwobrwy." Ond nid felly mae'r peth yn bod. "Y cyfiawn a ragora ar ei gymydog;" ac er mai gras yn unig sydd yn gwneuthur rhagor rhyngddo ef âg arall, ac mai trwy rinwedd a nerth y gras hwnw y mae yn cyflawni ei holl wasanaeth i'r Arglwydd mewn gwneyd a dyoddef, eto y cristion sydd yn ei gyflawni er hyny. Ei ufudd-dod ef yw'r ufudd-dod, a'i weithredoedd da ef yw y gweithredoedd; a'r un modd am yr egwyddorion sanctaidd ymha rai y mae ei ysgogiadau crefyddol yn gwreiddio: egwyddorion ei galon ef ydynt. Efe sydd yn caru Crist ac yn cadw ei orchymynion ef, yn ofni Duw ac yn cilio oddiwrth ddrygioni; ac am hyny y mae y Duw mawr, o'i ewyllys da, gan edrych ar y cyfan, nid yn unig fel effeithiau ei ras ef yn y cristion, ond hefyd fel cyflawniadau y cristion ei hun, yn eu derbyn yn gymeradwy, ac yn rasol yn eu gwobrwyo. Mae yn wir mai mawl gogoniant gras ydyw yr amcan uchaf yn yr iachawdwriaeth; ond y mae gras ynddi, o'r dechre i'r diwedd, yn "teyrnasu trwy gyfiawnder." Felly yn y dydd mawr diweddaf: o ras y bydd y cwbl i'r duwiol, a gras a fydd yn syndod i gredinwyr byth. Ond beth er hyny? fe fyn Duw ogoneddu ei gyfiawnder gystal â'i ras. Ac am hyny bydd llafur ac amynedd y saint yn cael eu dwyn i sylw yn y farn, a'r gogoniant a'r dedwyddwch, ag y daethant i hawl o honynt trwy ffydd yn Nghrist, yn cael eu gweinyddu iddynt y diwrnod hwnw fel gwobr ufudd-dod.

"Canys cyfiawn yw gerbron Duw," medd yr apostol yn y bennod hon, "dalu cystudd i'r rhai sydd yn eich cystuddio chwi; ac i chwithau, y rhai a gystuddir, esmwythdra gyda ni yn ymddangosiad yr Arglwydd Iesu o'r nef, gyda'i angelion sanctaidd." Bydd yr esmwythdra, ni a welwn, yn gystal â'r cystudd, yn daledigaeth, a chyfiawnder Duw yn ddysglaer yn ngweinyddiad y naill fel y llall. "Yna y dywed y Brenin wrth y rhai ar ei ddeheulaw, Deuwch chwi, fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotöwyd i chwi er seiliad y byd." Paham hwy mwy nag eraill? Wel dyma y paham: "Canys bûm newynog, a chwi a roisoch i mi fwyd; bu arnaf syched, a rhoisoch i mi ddïod; bûm ddyeithr, a dygasoch fi gyda chwi; noeth, a dilladasoch fi; bûm glâf, ac ymwelsoch â mi; bûm yn ngharchar, a daethoch ataf." Digon o resymau am y gwahaniaeth! Pan oedd eraill yn gynhenus ac anufudd i'r gwirionedd, yr oeddynt hwy yn syrthio i mewn â threfn gras; pan oedd eraill yn eu herlid, yr oeddynt hwy yn dyoddef; pan oedd eraill yn dirmygu canlynwyr tlodion yr Arglwydd Iesu, yr oeddynt hwy yn llòni eu hymysgaroedd yn fynych â'u caredigrwydd; ïe, pan oedd eraill ar hyd eu bywyd yn ceisio y pethau sydd ar y ddaear, yr oeddynt hwy yn ceisio gogoniant ac anrhydedd, ac anllygredigaeth, a hyny trwy barhâu yn gwneuthur da. Ac fel arwydd o gymeradwyaeth y Goruchaf o'u hysbryd a'u hymddygiadau, fe delir iddynt, yn y dydd a ddaw, fywyd tragywyddol.

A wyt ti, fy nghyfaill, yn meddwl myned i'r nefoedd yn y diwedd? Dylai, ynte, fod genyt rywbeth i'w ddangos am dani yn dy fywyd. Ah, meddi, ni bydd genyf fi wrth farw ddim i'w gofio ond cyfiawnder mawr y Gwaredwr. Digon gwir; dyna unig sail heddwch a gobaith pechadur yn yr awr hòno. Ond fe fydd Duw er hyny yn edrych pa ffrwythau a fydd dy ffydd yn Nghrist wedi eu cynnyrchu yn dy fywyd, a pha fath yrfa a fydd yn cael ei gorphen wrth farw; ac os rhoddir coron cyfiawnder i ti yn y dydd hwnw, fe'i rhoddir o ras, mae yn wir, ond gan yr Arglwydd y Barnwr cyfiawn, gyda rhyw olwg ar yr ymdrech fydd wedi pasio. Ffrwyth y fuchedd hon yw y fuchedd dragywyddol. "Beth bynag a hauo dyn" yma, "hyny hefyd a fêd efe" draw. Ac er y bydd y wobr yn annhraethol fwy na'r gwaith, eto bydd rhyw gyfartalwch rhyngddynt â'u gil-

ydd; graddau dedwyddwch y saint yn y nef yn cyfateb i gynnydd eu sancteiddrwydd a maint eu defnyddioldeb yn eu hoes. "Yr hwn sydd yn hau yn brin, a fêd hefyd yn brin; a'r hwn sydd yn hau yn helaeth, a fêd hefyd yn helaeth."

Yn awr, gan hyny, mae yn brïodol gofyn, Os yw dedwyddwch y nef fel hyn i gael ei weinyddu fel gwobr ufudd-dod, beth yw gobaith y saint am dano fel y cyfryw? pa fodd y cynnyrchir ynddynt y sancteiddrwydd anghenrheidiol, a'r holl ufudd-dod hwnw, ag a'u gwna yn nghyfrif grasol y Goruchaf yn deilwng o'r fath alwedigaeth? I hyn yr ydym yn ateb: Ffydd, a nerthol weithrediad ffydd, ydyw yr unig foddion i hyny. Ni a wyddom mai trwy ffydd y mae Crist yn trigo yn nghalonau y saint; ac y mae ef ei hun yn dangos fod hyny yn anhebgorol i'w hanfodiad a chynnydd eu sancteiddrwydd a'u hufudd-dod. "Myfi yw y winwydden, chwithau yw y canghenau. Yr hwn sydd yn aros ynof fi a minnau ynddo yntau, hwnw sydd yn dwyn ffrwyth lawer; oblegid hebof fi nid ellwch chwi wneuthur dim." Fel Samson gynt, mae'r cristion yn alluog i orchestion uchel gyda chrefydd. Ond pe dywedai wrthych ei holl galon o barth i'w fawr nerth ar lwybrau ufudd-dod, dyma fyddai y dirgelwch i gyd, "Credais, am hyny lleferais." 'Credais, ac ni bu dim yn anmhosibl i mi.' Mae ffydd yn gweithio drwy gariad yn y galon, a chariad yn dangos ei hunan trwy gadw gorchymynion Duw. Felly am saint yr Hen Destament. Trwy ffydd, fel y dywedir wrthym yn yr epistol at yr Hebrëaid, yr oeddynt yn cyflawni eu holl orchestion. Dyma oedd y rheswm am eu rhodiad gyda Duw a'u perffeithrwydd yn eu hoes. Ac os meddyliwch chwi am yr esiamplau hyny lle y cawn ni hwynt, mewn ufudd-dod a darostyngiad i Dduw, yn buddugoliaethu, nid yn unig ar lygredigaeth natur, ond ar natur ei hun, megys Abraham yn aberthu ei fab, a'r cyffelyb, gwaith ffydd oedd y cwbl. Yr oedd ffydd yn eu galluogi i edrych ar yr Anweledig, ac yn gweithio yn eu mynwesau tuag ato trwy gariad a gwylder a pharchedig ofn; a chan gredu ei dystiolaethau, ac ymnerthu yn ei ras, yr oeddynt yn gallu pob peth. Paul, pa fodd yr wyt ti yn byw y bywyd digyffelyb yna o lafur a dyoddefiadau dros Grist ac eneidiau dynion? Y dirgelwch am y cyfan yw hyn: "Yr hyn yr ydwyf yr awr hon yn ei fyw yn y cnawd, ei fyw yr ydwyf trwy ffydd Mab Duw, yr hwn a'm carodd, ac a'i dodes ei hun drosof fi."

O na chyflawnai Duw waith ffydd yn nerthol yn ein calonau ninnau! Bod yn llawn o ffydd a barai ein bod yn llawn daioni. Yn yr ansawdd yma ar feddwl y credadyn, ni byddai un ddyledswydd ry galed i'w chyflawni, na'r un groes ry drom i'w dwyn. Mae yr athrawiaeth a draddodwyd iddo yn cynnwys y cymhelliadau tyneraf i sancteiddrwydd; a thrwy nerthol weithrediad ffydd, mae y cymhelliadau hyny yn cael eu dwyn adref a'u gwneyd yn effeithiol tuag at y meddwl; ac felly y mae y cristion yn cael ei gadw yn ymdrechgar i ufuddhâu o'r galon i'r athrawiaeth hòno; ac nid oes derfynau ar ei awyddfryd tu yma i berffaith gydymffurfiad âg ewyllys Duw. Fel hyn, gan "obeithio yn y Duw byw, a gwneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, a bod yn hawdd ganddynt roddi a chyfranu," mae'r saint yn "trysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod, fel y caffont afael ar y bywyd tragywyddol."

Wrth adael hyn o sylwadau, mi a ddymunwn eich cynghori, fy nghyfeillion, i roi ymarferiad lawer i'ch ffydd mewn gweddïau. Yn ol yr esiampl apostolaidd, gweddïwch yn wastadol am y pethau hyn. Ac i'ch cymhell yn fwy effeithiol i'r ddyledswydd yma, nis gallaf wneyd yn well na chyflwyno Gwrthddrych gweddi ger bron eich meddyliau yn yr olwg y mae'r apostol yn ei gymeryd arno yn y testun hwn.

Ac, ymlaenaf oll, Duw ydyw. A oes eisieu gallu i dy gymhwyso di, fy nghyfaill, a dy ddwyn drwy angeu a'r bedd i ogoniant? A ydyw dy godi o'r ansawdd isel sydd arnat yn bresennol, a'r ansawdd îs eto a fydd arnat ti yn fuan yn llygredïgaeth y bedd, a dy newid i'r peth a fyddi pan gyda myrddiwn o angelion wedi dy wisgo âg anllygredigaeth ac anfarwoldeb,—a ydyw hyn, meddaf, yn waith mawr, ïe, yn anhygoel o fawr? Wele, y mae genyt Dduw mawr i nesu ato am y pethau hyn. Mae cariad, gras, a gallu, a phob peth, yn fawr yn Nuw. Gydag ef yn ei drefn nid oes dim yn anmhosibl, na dim yn anhawdd. Beth yw yr anhawsdra yn dy olwg di, fy nghydbechadur? A yw dy euogrwydd yn fawr, dy lygredigaethau yn ystyfnig, a dy ysbryd yn ddiffrwyth a dinerth? A ydyw pechod a marwolaeth yn bygwth dy orchfygu yn dragywydd, ac yn sibrwd drwy dy ofnau a'th ammheuon yn dy fynwes, "Pa Dduw yw efe a'ch gwared chwi o'n dwylaw ni?" Wel, fy enaid, sicrhâ ffydd nad rhaid i ti ddim gofalu am ateb iddynt yn

y peth hwn. Y mae ein Duw ni, yr hwn yr ydym ni yn ei addoli, yn abl i'n gwared ni allan o ddwylaw holl elynion ein natur, ac efe a'n gwared ni hefyd, ïe, oddiwrth y diweddaf o honynt, angeu a'r bedd, ac a'n ceidw i'w deyrnas nefol. Mynych mae gallu Duw yn y Bibl yn cael ei goffâu mewn cysylltiad â'r amcan hwn. "Wedi eich nerthu â phob nerth," medd yr apostol wrth y Colossiaid, "yn ol ei gadernid gogoneddus ef, i bob dyoddefgarwch a hirymaros gyda llawenydd; gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni." A'r un modd mae'n dymuno ar ran yr Ephesiaid: "Wedi goleuo llygaid eich meddyliau, fel y gwypoch beth yw gobaith ei alwedigaeth ef, a pheth yw golud gogoniant ei etifeddiaeth ef yn y saint, a pheth yw rhagorol fawredd ei nerth ef tuag atom ni y rhai ŷm yn credu, yn ol gweithrediad nerth ei gadernid ef." Dyma yma etifeddiaeth ogoneddus ar gyfer y saint; gobaith eu galwedigaeth hwy trwy yr efengyl. Ac i'r dyben i'ch cadw i obeithio yn berffaith am dani, mynai yr apostol i chwi wybod fod nerth, rhagorol fawredd nerth, ïe, ei gadernid gogoneddus Ef, mewn gweithrediad tuag at y saint, er eu cymhwyso hwy i'r etifeddiaeth hòno, eu cynnal a'u cysuro dan eu dyoddefiadau, ac yn y diwedd eu dwyn allan o honynt i dragywyddol fwynhâd o honi. Ni fydd credinwyr a'u hetifeddiaeth ddim heb eu gilydd. Os yw hi yn nghadw yn y nefoedd iddynt hwy, maent hwythau trwy allu Duw yn gadwedig iddi hithau. Wel, fy enaid, cofia mai Duw Hollalluog yw gwrthddrych gweddi. Nesâ ato fel y cyfryw; ymafael trwy ffydd yn ei nerth ef; ac yna ti a elli ofyn iddo ymhob perygl fel Josuah gynt, "Beth a wnei i'th enw mawr?" 'Os derfydd am danaf yn yr anialwch, a minnau yn ymddiried ynot ti, yna bydd dy elynion yn barod i ddywedyd mai eisieu gallu o'r Arglwydd fy nwyn i'r Ganaan nefol oedd yr achos o hyny. Mawrhäer, attolwg, nerth yr Arglwydd yn fy iachawdwriaeth.'

Ond, ymhellach, y mae Gwrthddrych gweddi yn cael ei olygu yma fel "EIN DUW NI;" ein Duw cyfammodol. Ni a wyddom y gall Duw bob peth; ond nid y peth a all, na'r peth ydyw ynddo ei hun, ydyw y pwnc i ni, ond beth a wna efe i bechadur. Ei ewyllys yw rheol ei weithrediadau. A oes genym ni bechaduriaid sail i obeithio ynddo, ac i nesâu at ei orseddfainc am ryw ddaioni, yn enwedig am beth mor fawr âg iachawdwriaeth dragywyddol ein

heneidiau? Wel, cymerwch i ystyriaeth y llythyrenau ychwanegol sydd wrth ei enw bendigedig ef yn y weddi hon; nid "Duw" yn unig, ond "ein Duw ni." Fy enaid, a ydyw y berthynas yma wedi ei sefydlu rhwng dy ysbryd di âg yntau? A ymaflaist ti yn ei gyfammod ef yn Nghrist Iesu? Yma y mae wedi gogoneddu ei brïodoliaethau goruchel yn iachawdwriaeth dy fath, ac yn ymrwymo i fod mewn ffordd o drugaredd a gras i bechadur yr oll âg ydyw iddo ei hun. Os felly, mae genyt sail gref i obeithio ynddo, a dadl ger ei fron yn dy weddïau. Y fynyd y daeth efe i fod yn Dduw i ti, mae yr oll ag sydd ynddo wedi ei rwymo at dy wasanaeth. A pha wedd, gydag ef ei hun, na ddyry efe i ti bob peth? Ië, meddi, ond y mae myned i'r nefoedd yn beth mawr iawn; gwneyd pryfyn mor wael â myfi yn deilwng i deyrnas a gogoniant Duw. Ydyw! fy enaid, y mae yn beth mawr. Ond nid oes dim mwy yn gynnwysedig yn hyny nag sydd yn hyn. Beth bynag yw y nefoedd, ti a ddaethost i hawl o'r cwbl ag sydd yno, a mwy na'r cwbl, y fynyd y daeth Duw i fod yn Dduw i ti; nid yw myned i'r nefoedd yn ddim mwy nag sydd deilwng i'r fath berthynas. Wedi i'r Jehofah ddyfod i fod yn Dduw i ti, yr oedd yn rhaid iddo wneyd â thi rywbeth mawr a rhyfedd. Buasai yn gywilydd ganddo yr enw heb hyny. Ac ni a ddylem gofio nad yw ddim yn ddigon ganddo ef ymostwng i *fod* yn Dduw i'w bobl; ond y mae yn rhaid iddo gael *galw* ei hunan felly. "Dyma fy enw byth, a dyma fy nghoffadwriaeth o genedlaeth i genedlaeth" (Exod. iii. 15). Ac os gofynir paham na bae gywilydd ganddo yr enw, y mae'r apostol yn ateb: "Oblegid efe a barotodd ddinas iddynt." Mewn gair, fe esyd y fath ogoniant ar ei bobl, ac a amlyga y fath ogoniant ynddynt a thrwyddynt hwy, âg a bair iddo gael ei ryfeddu a'i addoli byth. Ydyw, mae myned i'r nefoedd yn beth mawr, ni a addefwn eto, ond dim mwy nag y mae hyn yn ei sicrhâu. "Ac y cyfyd y meirw," medd Iesu Grist, "Moses hefyd a hysbysodd wrth y berth, pan yw efe yn galw yr Arglwydd yn Dduw Abraham, ac yn Dduw Isaac, ac yn Dduw Jacob. Ac nid yw efe Dduw y meirw ond y byw; canys pawb sydd fyw iddo ef" (Luc xx. 37, 38). "Fy enaid, dywedaist wrth yr Arglwydd, Fy Arglwydd ydwyt ti." Ond beth a ddaw o hyny, Dafydd? Wele, mi a âf i'r bedd mewn gobaith; ni fyddaf yno byth, mwy nag y bu fy Ngwaredwr o'm blaen. Daw fy Arglwydd yn ei amser nodedig i ddangos i minnau

lwybrau y bywyd, ac i'm dwyn i'r digonolrwydd llawenydd sydd ger ei fron, a'r digrifwch sydd ar ei ddeheulaw yn dragywydd. Rhoed Duw ffydd yn ei gyfammod i ninnau! Ni a gawn y saint yn ymaflyd yn hwn pan y byddai pob peth arall wedi pallu. "Eto dy bobl di a'th etifeddiaeth ydynt hwy," meddai Moses am Israel wargaled; "cofia dy gyfammod â hwy ac â'u tadau" (Exod. xxxii. 13). A'r un modd y cawn ni ryw eneidiau truain yn dadleu o'r caethiwed mawr: "Canys ti yw ein Tad ni, er nad edwyn Abraham ni, ac na'n cydnebydd Israel, ti, Arglwydd, yw ein Tad ni, ein Gwaredydd, dy enw sydd erioed. Na ddigia, Arglwydd, yn ddirfawr, ac na chofia anwiredd yn dragywydd; wele, edrych, attolwg, dy bobl di ydym ni oll" (Esa. lxiii. 16; lxiv. 8, 9).

Ië, medd yr enaid ofnog, drachefn, ond yr ydwyf fi yn gwbl annheilwng. Ni thrigais yn ddyladwy yn ei gyfammod ef; ac er bod yr Arglwydd yn brïod i mi, byddai yn gyfiawn iawn ynddo fy esgeuluso, a'm troi heibio fel gwraig anffyddlawn, yn lle fy nghydnabod a'm gwneyd yn deilwng i'w deyrnas nefol. Pa fodd y gall crëadur mor druenus ei ymddygiadau tuag at Dduw ddysgwyl y fath beth oddiar ei law? Mae yn y testun, chwi a graffwch, rywbeth ar gyfer y teimlad yma yn yr enaid. Nid yn ol ei haeddiant ei hun yr ymddygir at y pechadur edifeiriol yn Nghrist, ond "YN OL GRAS EIN DUW NI;" ac, fel y mae'r apostol yn dyweyd mewn lle arall, "yn ol cyfoeth ei ras ef." Mae hyn yn ddigon o reswm am y cwbl. Rhaid yw y gwneir rhywbeth mawr, a hyny i'r annheilwng, yn nhrefn gras, canys yma y mae y Duw mawr wedi bwriadu cyflawni "boddlonrwydd," a "holl foddlonrwydd ei ddaioni:" gwneyd yn ol yr hyn oll sydd yn ei galon, a hyny heb nac achos na chymhelliad ond boddloni ei ddaioni ei hun. Ac y mae daioni Duw mor fawr fel y gellwch chwi fod yn sicr mai nid ychydig a'i boddlona Ef. Nid oedd dy grëu na dy gynnal ddim yn ddigon ganddo. Na, ni fydd ei ddaioni yn foddlawn heb dy achub i fywyd tragywyddol, dy gymhwyso di ar y ddaear, a dy ddwyn yn y diwedd i ogoniant. Ond bydd yn hyn ddigon i gyflawni holl foddlonrwydd daioni Duw ei hun. Yr oedd yn profi boddlonrwydd wrth ewyllysio a bwriadu hyn yn y tragywyddoldeb pell; a phan fydd yr ewyllys wedi ei chyflawni, a'r hen amcanion wedi dyfod i ben, efe a ddywed, Dyma fy naioni yn foddlawn bellach! Wele Satan wedi ei yspeilio, pechod wedi ei ddinystrio, angeu

wedi ei lyncu mewn buddugoliaeth, a'r holl eglwys ger fy mron yn ddifeïus mewn gorfoledd; byddaf lonydd mwyach, ïe, llonyddaf yn fy ngharíad byth!

Ac os gofyni eto, fy enaid, Pa fodd y daw hyn oll i mi, a minnau yn bechadur? pa le fel hyn y mae anrhydedd deddf a chyfiawnder Duw? y mae'r cwbl yn ddïogel yn y gair olaf: "Yn ol gras ein Duw ni, A'R ARGLWYDD IESU GRIST." Mae gras ein Duw ni yn ei holl gyflawnder wedi ei drysori yn y dyn Crist Iesu, a thrwyddo ef yn teyrnasu trwy gyfiawnder i fywyd tragywyddol. Heb olwg ar ei ras ef, buasai yr enaid euog, wedi ei argyhoeddi o'i bechod a'i drueni, yn rhoddi i fyny ddysgwyl am ddaioni oddiwrth yr Arglwydd; ond gyda ffeithiau Bethlehem a Chalfaria o flaen ei lygaid—y geni yn y preseb, a'r marw ar y groes—efe a ddywed, "Dysgwyliaf am yr Arglwydd; dysgwyl fy enaid, ac yn ei air ef y gobeithiaf. Yr Hwn nid arbedodd ei brïod Fab, ond â'i traddododd ef drosom ni oll, pa wedd gydag Ef hefyd na ddyry Efe i ni bob peth?" Heb dderbyn a defnyddio gras yr Arglwydd Iesu Grist trwy ffydd, dyna ni heb gysylltiad â gras Duw Dad; ac os heb ras Duw, nis gall na bydd digofaint Duw yn aros arnom. Ond derbyniwn yma o'i gyflawnder Ef, a gras am ras, ac ni a fyddwn hefyd yn gyfranogion o'r gogoniant a ddadguddir.

## PREGETH III.

### DYN, OS NID I FYW MEWN BYD ARALL, WEDI EI GREU YN OFER.

PSALM lxxxix. 47: "Paham y crëaist holl blant dynion on ofer?"

Y MAE yr amgylchiad presennol, pa beth bynag a fyddo ar fywyd dyn, yn dueddol i lyncu'r meddwl mor llwyr iddo ei hun fel ag i attal effeithiau oddiwrth bob gwrthddrych arall. Y mae y pethau a fu ac a ddaw wedi eu hanghofio, a'r enaid yn ymlenwi â'r pethau sydd yn awr. Mewn hawddfyd, mae'r galon yn gyndyn i gredu y dichon hi fyned yn newid byd. "Byddaf farw yn fy nŷth, a byddaf mor aml fy nyddiau â'r tywod; ni'm syflir yn dragywydd." Mewn adfyd, drachefn, mae hyd yn nôd enaid y cristion yn aml mor llawn o flinderau fel ag i gadw effeithiau pob peth arall draw. Mae trallodion y fuchedd hon yn meddiannu y meddwl mor hollol fel nad yw ar lawer mynyd yn cael hamdden i edrych i'r fuchedd draw, na meddwl am y digrifwch sydd yn dragywydd ar ddeheulaw Duw. A phan yn colli ei olwg ar hapusrwydd, amcan gwreiddiol ei grëadigaeth, mae yn barod i ofyn, "Paham y crëaist holl blant dynion yn ofer?"

Am y salm hon, amlwg yw ddarfod ei hysgrifenu yn amser rhyw drallod arbenig ar freniniaeth a chenedl Israel. Fe ddichon y cyfansoddwyd hi pan rwygwyd y freniniaeth yn nyddiau Rehoboam, mab Solomon, neu ynte yn amser y caethgludiad i Babilon, pryd y dadymchwelwyd gorseddfainc Judah, ac y caethgludwyd ac y lladdwyd cynifer o'r hil freninol; gorchwyliaethau oedd yn dwyn cwmwl dychrynllyd ar deulu Dafydd, ac yn anhawdd iawn eu cymmodi â'r addewidion oedd Duw wedi eu gwneuthur

iddo. Cawn y Salmydd, wrth ddal addewidion Duw a'i orchwyliaethau ar gyfer eu gilydd, fel yn ymresymu â Duw am eu hanghysondeb: "Gwnaethum ammod â'm hetholedig, tyngais i'm gwas Dafydd, Yn dragywydd y sicrhâf dy hâd di, ac o genedlaeth i genedlaeth yr adeiladaf dy orseddfainc di. Tyngais unwaith i'm sancteiddrwydd na ddywedwn gelwydd i Dafydd. Bydd ei hâd ef yn dragywydd, a'i orseddfainc fel yr haul ger fy mron i. Ond ti a wrthodaist ac a ffieiddaist, ti a ddigiaist wrth dy Eneiniog. Diddymaist gyfammod dy was; halogaist ei goron, gan ei thaflu i lawr." Y mae efe, pa fodd bynag, yn gwneyd aflwydd ei wlad yn aflwydd iddo ei hun. Ac y mae yn ddigon tebyg fod yr helyntion gwladol yn cario marwolaeth at ei ddrŵs ef ei hun fel aelod o honi. Peth ofnadwy yw byw yn amser diwedd anwiredd, pan fyddo wyneb daear gwlad yn cael ei ddadymchwel. "Wele yr Arglwydd yn gwneuthur y ddaear yn wâg, ac yn ei difwyno hi," medd un o brophwydoliaethau Esaïah; "canys efe a ddadymchwel ei hwyneb hi, ac a wasgar ei thrigolion; yna bydd yr un ffunud i'r bobl ac i'r offeiriad, i'r gwas ac i'w feistr, i'r llawforwyn ac i'w meistres, i'r prynydd ac i'r gwerthydd, i'r hwn a roddo ac i'r hwn a gymero echwyn, i'r hwn a gymero lôg ac i'r hwn a dalo lôg iddo." Pwy sydd yn ddïogel pan symudo y ddaear, y treiglir y mynyddoedd i ganol y môr, pan y rhuo a therfysgu o'r dyfroedd, ac y cryn y mynyddoedd gan ei ymchwydd ef?

Ac wrth ymdeimlo â'i aflwydd personol ei hun, mae'r Salmydd yn myfyrio ar gyflwr trancedig plant dynion yn gyffredinol. "Cofia pa amser sydd i mi," neu fel y darllena rhai, "Cofia mor fyr yw fy mywyd;" ac y mae eraill yn ei gyfieithu fel syniad mwy cyffredinol: "Cofia, attolwg, beth yw bywyd;" dyma efe yn ymddangos yn beth gwâg a disail iawn; "paham y crëaist holl blant dynion yn ofer? Pa ŵr a fydd byw ac ni wêl farwolaeth? a wared efe ei enaid o law y bedd?" Yr oedd y Salmydd wedi gweled llawer o blant dynion, yn ddïau, yn ymdrwsio â gwychder; ond yr oedd yn canfod, drwy yr holl ymddangosiad têg, wir gyflwr y byd. Yr oedd efe, oddiar brofiad o gystudd, yn gweled gwagder y pethau oedd yn ynfydu eraill. Ac y mae yn synio, os ei fywyd ar y ddaear oedd holl derfyn dyn, os nad oedd rhywbeth yn ei aros heblaw a geid yn y fuchedd hon, fod holl blant dynion wedi eu crëu yn ofer. Ti, Arglwydd, a grëaist y byd elfenol, y

byd dynol, a'r byd gwladol. Ti yw Crëawdydd Jacob fel gwlad ac eglwys, ac yr oeddym ni yn gobeithio ei fod wedi ei grëu i ddybenion mawr; ond, yn ol yr olwg bresennol, wele efe wedi ei grëu yn ofer. Yr ydym yn y salm yn cael y Salmydd weithiau megys â'i ben goruwch y tònau, yn nofio ar wyneb dyfroedd trallod trwy ffydd yn addewidion, cyfammod, a llw Duw; bryd arall ni a'i cawn fel yn suddo o'r golwg, yn cwyno fod y cwbl yn ofer; ond yn y man, mae yn dyfod i'r wyneb drachefn, yn gwaeddi am help, ac yn y diwedd yn gorfoleddu wedi cael y làn, "Bendigedig fyddo yr Arglwydd yn dragywydd. Amen ac Amen." Wrth edrych ar gyflwr presennol tŷ Dafydd, dyma'r cwbl, medd y Salmydd, yn ofer: cyfammod Duw a'i addewidion, a'r holl ddadguddiad mawr yn y weledigaeth i Dafydd, yn bethau na chyflawnir byth ynddo ef a'i hîl fel breninoedd Israel yn ol sain lythyrenol y geiriau. Nid oes yma ddim gorseddfainc fel dyddiau y nefoedd; gorseddfainc wedi ei sicrhâu fel yr haul a'r lleuad. Os nad ydynt wedi eu crëu i rywbeth heblaw a fwynhëir mewn llwyddiant gwladol a mawredd breninol yn y fuchedd hon, y maent wedi eu crëu yn ofer. Ac os yw Israel a breniniaeth Dafydd, y rhai sy'n wrthddrychau addewidion mor fawr, wedi eu crëu yn ofer, dïau y gellir edrych i'r byd yn gyffredin a chasglu bod holl blant dynion wedi eu crëu yn ofer. Ond y mae Ysbryd yr Arglwydd yn arwain y Salmydd i ystyr gyfriniol y cyfammod â Dafydd; ei deyrnas ef yn gysgod o, ac i gael ei dilyn gan, deyrnas ysbrydol y Messïah, yr hwn oedd i gael ei godi o hâd Dafydd, ac i eistedd ar orseddfa Dafydd; ac ynddo Ef y mae yr holl bethau gogoneddus o'r 20fed adnod hyd ddiwedd y 37ain yn sicr o gael eu cyflawni. Dyma fel yr oedd Dafydd ei hun yn deall y cyfammod. Yr ydoedd, fel y dywedai Pedr, "ac efe yn brophwyd, yn gwybod dyngu o Dduw iddo trwy lw, mai o ffrwyth ei lwynau ef o ran y cnawd, y cyfodai efe Grist i eistedd ar ei orseddfa ef" (Act. iii. 30). Erbyn deall hyn, yr oedd ysbrydolrwydd y deyrnas, a'i bendithion, a'r fuchedd draw, yn dyfod i'r golwg. Yr oedd sicr drugareddau Dafydd yn ffrwyth adgyfodiad Crist (Act. xii. 34). Am hyny y mae Dafydd yn gorfoleddu yn y cyfammod wrth farw: "Er nad yw fy nhŷ i felly gyda Duw, eto cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr; canys fy holl iachawdwriaeth a'm holl ddymuniad yw, er nad yw yn peri iddo

flaguro." Pe buasai y tŷ yn blaguro, pa gysur i ddyn yn myned i dragywyddoldeb a fuasai hyny? Ond yr oedd Duw yn y cnawd i ddyfod o hono, i esgyn drwy angeu yn Ben pob peth, a hyny i roddi edifeirwch a bywyd tragywyddol; i arwain ei bobl trwy'r byd o'r bedd i'r fuchedd dragywyddol. Ac oddiar hyny yr oedd Dafydd yn Psalm xvi. yn gorfoleddu yn adgyfodiad y Messïah fel gwystl o'i adgyfodiad ei hun. Felly y mae cyfansoddydd duwiol y salm hon yn adeiladu ei obaith ar gyfammod Duw â Dafydd fel cysgod o Grist, Gwreiddyn a Hiliogaeth Dafydd, Arglwydd a mab Dafydd, pan yr oedd yr olwg bresennol ar ei deulu yn dra diobaith.

Bellach ni a safwn ar eiriau'r testun ynddynt eu hunain—"Paham y crëaist holl blant dynion yn ofer?" ac a sylwn fod dyn, a'i olygu yn unig yn y bywyd hwn, ar wahân oddiwrth y fuchedd dragywyddol a gobaith yr efengyl, yn ymddangos i'r ystyriol a'r meddylgar wedi ei wneuthur yn ofer.

Gallwn nodi amryw ystyriaethau sydd yn profi hyn.

I. Yn ei gysylltiad yn unig â'r fuchedd hon, mae dyn *yn grëadur gwâg a diddym iawn.*

Yn wir, â'i osod ar gyfer Duw, nid yw ond felly â'i gymeryd fel y mae â'i dragywyddoldeb ar ei ben. Ond y mae yn annhraethol fwy felly â'i olygu yn unig mewn perthynas â'r fuchedd hon. Gelwir y peth hwnw yn ofer sydd yn wâg a disylwedd; a pha beth yw dyn well na hyny os yw i ddiflanu ar ol y bywyd hwn? "Gwagedd yn ddïau yw meibion dynion; geudeb yw meibion gwŷr." Ond os felly, meddi, hwyrach y gwnânt rywbeth efo eu gilydd; rhodder ynghyd nerth meddwl y naill a nerth corfforol y lleill, a dyna hwy yn gryn bwysau felly. Nage! "i'w gosod yn y cloriau, ysgafnach ydynt hwy i gyd na gwegi." Mae'r Salmydd ar ei lw dair gwaith yn Psalm xxxix. mai gwagedd yw dyn. "Dïau mai cwbl wagedd yw pob dyn pan fo ar y goreu;" corff, enaid, ystâd, pob un ac ynghyd ar y goreu sydd wagedd a chwbl wagedd (adn. 5). "Dyn," meddai drachefn, "yn ddïau sydd yn rhodio mewn cysgod, ac yn ymdrafferthu yn ofer" (adn. 6). A thrachefn: "Gwagedd yn ddïau yw pob dyn" (adn. 11). Pa mor fawreddog bynag y byddo ei wêdd, "pe dyrchafai ei odidogrwydd ef i'r nefoedd, a chyrhaeddyd o'i ben hyd y cymylau, efe a gollir yn dragywydd fel ei dòm; y rhai a'i gwelant a ddywedant, Pa le y mae efe? Efe a eheda ymaith megys breuddwyd ac ni cheir ef; ac efe

a ymlidir fel gweledigaeth nos. Fel breuddwyd wrth ddihuno un, felly, O Arglwydd, pan ddeffroech, y dirmygi eu gwedd hwynt" (Job xx. 6—8; Psalm lxxiii. 20).

Felly y mae Bibl yn darlunio dyn fel diddymdra, yn hanfodi yn unig mewn ymddangosiad. Dim mewn gwirionedd ydyw, yn gwisgo rhyw fôd ffugiol. Mae ei an-fôd yn fwy na'i fôd; mae yn nes i ddim nag i berffeithrwydd hanfodiad. Am hyny y mae'r Crëawdwr mawr yn prïodoli *bôd* yn unig a chwbl iddo ei hun: "Myfi sydd, ac nid oes ond myfi—YDWYF YR HWN YDWYF!" Beth yw dyn yn wyneb Duw? "Wele y cenedloedd a gyfrifwyd fel defnyn o gelwrn, ac fel mân-lwch y clorianau: wele fel brycheuyn y cymer Efe yr ynysoedd i fyny. Yr holl genedloedd ydynt megys diddym ger ei fron Ef; yn llai na dim ac na gwagedd y cyfrifwyd hwy ganddo." Mae'r dyn yn ymddangos yn gadarn a brigog, ac yn dyweyd na syflir ef byth, ac, fe allai, yn peri ei arswyd yn nhir y rhai byw. Ond gwedd, dull, breuddwyd, yw y cwbl —diddymder yn ymrithio ger bron y llygad; derfydd fel cwmwl, diflana fel niwl. Mae eu gwedd hwynt fel breuddwyd. Y fath goegluniau sydd yn pasio trwy balasau dystaw y dychymyg pan fyddo dyn yn ei gwsg; pethau gwych, pethau digrif, neu bethau ofnadwy! Ond nid oes i'r cwbl un hanfodiad gwirioneddol; deffröwch y dyn, a dyna'r oll yn diflanu. Felly am gyflwr dynion yn y fuchedd hon. Meddyliwch am yr oes sydd wedi pasio, y rhai a welsoch chwi yn actio ar chwareufwrdd amser: os nad oedd iddynt fôd mwy sylweddol na dim ydoedd yn eich golwg chwi, rhaid dywedyd mai breuddwyd oedd, sydd er ys amser bellach wedi llwyr ddiflanu. Arglwydd, paham y crëaist blant dynion mor ofer a gwâg? paham y gwnaethost y fath grëadur ffuantus? paham y gosodaist y fath swp o wagedd wrth ei gilydd? ymddangosiadau yn hòni bôd, a hwythau yn ddim; ymrithiad drychiolaethau sydd yn ebrwydd yn diflanu! Tybiais i mi weled rhywbeth a alwn yn dad, neu yn fam, neu yn wraig. Oni bu felus i ni gydgyfrinachu? oni buom yn cerdded i dŷ Dduw ynghyd? Yn awr mae'r cwbl fel breuddwyd. Gwedd a dull oedd hyn a welais yma, gwagedd yn ddïau, dim sylwedd, os nad oes byd y sylweddau yn aros.

II. Mae dyn wedi ei wneyd yn ofer, os yn unig i'r fuchedd hon, wrth ystyried *ei fod yn darfod yn ebrwydd iawn.*

Nid yn unig y mae yma yn wâg fel cysgod, niwl, a breuddwyd,

ond y mae hefyd yn cilio fel cysgod, yn diflanu fel y niwl, ac yn ehedeg ymaith fel breuddwyd. "Dyn a aned o wraig sydd fyr o ddyddiau, a llawn o helbul. Fel blodeuyn y daw allan, ac y tòrir ef ymaith; efe a gilia fel cysgod ac ni saif." Dyna y paham penodol y mae yn ymddangos yn ofer: "Wele, gwnaethost fy nyddiau fel dyrnfedd, a'm heinioes sydd megys diddym yn dy olwg di;" ac o herwydd hyny, y penderfyniad ydyw, "Dïau mai cwbl wagedd yw pob dyn pan fo ar y goreu. Dyn yn ddïau sydd yn rhodio mewn cysgod, ac yn ymdrafferthu yn ofer." Pa fodd y mae ei drafferth yn troi yn ofer? dyna efe wedi hèl golud yn bentwr. Ië, ond rhaid iddo adael yr holl dŵr ar fyrder; a phwy yna a wna ddefnydd o honynt, nis gŵyr: "Efe a dyra olud, ac nis gŵyr pwy a'i casgl." "Treuliasom ein blynyddoedd fel chwedl." Pa fodd felly? Darfod yn ebrwydd y maent: "Yn nyddiau ein blynyddoedd y mae deng mlynedd a thriugain; ac os o gryfder y cyrhaeddir pedwar ugain mlynedd, eto eu nerth sydd boen a blinder; canys ebrwydd y derfydd, a ni a ehedwn ymaith." Pan yr oedd cyfeillion Job oddiar ddychymygu mai rhagrith oedd ei grefydd flaenorol, yn ei annog i ddychwelyd at yr Arglwydd, ac felly yn addaw llwyddiant drachefn iddo ar y ddaear, ei sylw ef ar y fath annogaeth ydyw, "Pa nerth sydd i mi i obeithio? a pha ddiwedd fydd i mi fel yr estynwn fy hoedl? Ai cryfder cèryg yw fy nghryfder? a ydyw fy nghnawd o brês?" Na, na! "onid oes amser terfynedig i ddyn ar y ddaear? Fy nyddiau sydd gynt na gwenol gwehydd, ac a ddarfuant heb obaith. Gwynt yw fy hoedl; mae fy nyddiau yn gynt na rhedegwr, yn myned heibio megys llongau buain, megys yr eheda eryr at ymborth." O ran ei gyfansoddiad corfforol, y mae dyn yn myned ac yn dyfod o hyd; nid ydyw efe byth yn cael ei hun yn gyflawn ar yr un pryd.

Nid yw yr oesau hwyaf ddim i'w cymharu â thragywyddoldeb; ac nid yw yr oes yn awr i'w chymharu â'r oesau a fu; ac y mae'r nifer fwyaf o blant dynion yn meirw cyn cyrhaedd pen hon. Y mae llïaws yn meirw yn eu babandod; yn myned o'r bru i'r bedd. Onid ellid meddwl fod y Crëawdwr mawr wedi gwastraffu doethineb a gallu ar y cyfryw yn ofer iawn? Dyna hwy wedi eu gwneuthur yn ddirgel, a'u cywreinio yn iselder y ddaear. Efe a'u tywalltodd fel llaeth, ac a'u ceulodd fel caws, ac a'u gwisgodd â chroen ac â chnawd, ac a'u hamddiffynodd âg esgyrn ac â gïau.

Rhoes ysbryd o'u mewn, tynodd hwy o'r groth, darparodd liniau i'w derbyn a bronau i'w sugno. Y mae'r crëadur yn gymhwys iawn i'r byd, a'r byd iddo yntau. Mae yma oleuni, mae ganddo yntau lygad; mae yma sain, a chanddo yntau glust; mae yma waith, ac wele ganddo yntau ddwylaw; dyma ehangder, a dyma draed. Oes, y mae yma wrthddrych i bob anghen ac *instinct* sydd ganddo yntau. Ond wele'r cwbl yn ofer: y Duw mawr yn dyfetha gwaith ei ddwylaw cyn cyrhaedd un amcan; y llygad yn cau yn angeu cyn edrych ar un gwrthddrych, y tafod yn cael ei gloi cyn tòri gair, y dwylaw eu rhwymo cyn cyflawni swydd, a'r traed eu carcharu yn y bedd cyn cerdded cam; yr enaid a'i alluoedd mawreddog yn cilio i ddystawrwydd cyn gweithredu ar unpeth erioed! Y maent hwy fel hyn yn ofer am yr un rheswm ag yr oedd yr eilunod yn ofer: "Genau sydd iddynt, ond ni lefarant; llygaid sydd ganddynt, ond ni welant; y mae clustiau iddynt, ond ni chlywant; ffroenau sydd ganddynt, ond nid aroglant; dwylaw sydd iddynt, ond ni theimlant; traed sydd iddynt, ond ni cherddant; ni leisiant chwaith â'u gwddf." Dyna ddesgrifiad hefyd o'r rhai a dynwyd o'r bru i'r bedd.

Nid ydyw nemawr gwell gyda golwg ar y rhai sydd yn cael byw i fyned yn ugain oed. Bydd rhïeni wedi gwario llawer o serch a phryder arnynt erbyn hyn; eu porthi, eu dilladu, eu haddysgu, gyda thraul a mawr ofal calon; a chyda eu bod yn gymhwys i weithredu drostynt eu hunain, wele hwynt yn cael eu hysgubo ymaith mewn mynyd. Pe gwelech y celfyddydwr yn gwneyd offeryn cywrain, megys oriawr, ac yn ei dynu yn ddarnau yn ebrwydd, a'i adael felly, byddech yn barod i ofyn, Paham y gwnaethost ef yn ofer? Pe canfyddech y peiriannydd ar ol gwneuthur peiriant costus, cymhwys i ateb dyben mawr, yn ei dynu oddiwrth ei gilydd cyn iddo roi tro erioed, chwi a ddywedech, os nad oedd efe am ei osod i fyny eto mewn gwlad arall, ei fod wedi ei wneyd yn ofer. Ac, yn wir, os byddwch byw i fyned yn ddeg a thriugain neu bedwar ugain mlynedd o oed, chwi a gewch weled erbyn y daw'r holl flynyddoedd hyny i ben, y byddant yn ofer iawn. Ni bydd pob peth a fyddwch wedi ei gael ac wedi ei wneyd yn ddigon i beri i chwi beidio edrych ar y cwbl yn ofer, os ydych yn angeu i ddarfod am byth. Felly y mae'r oes yn ymddangos yn nghymydogaeth angeu i Job: "Fel y derfydd y cwmwl,

ac yr â ymaith, felly yr hwn sydd yn disgyn i'r bedd. Paid â mi, canys oferedd yw fy nyddiau." Wrth edrych ymlaen i flynyddoedd a allant ddyfod, ymddengys bywyd yn rhywbeth i'r meddwl; ond rhaid edrych ymlaen i dragywyddoldeb ar ei ddiwedd, ac onidê fe deimlir y bydd y cwbl yn ofer.

III. Mae dyn wedi wneyd yn ofer, os yn unig i'r fuchedd hon, wrth ystyried *ei helyntion a'i brofedigaethau.*

Mae bôd a bywyd yn myned am ddaioni a chysur bywyd yn y Bibl. Mae'r dyn sy'n colli y rhai hyn megys yn ei golli ei hun. Lleferir am amser o adfyd neillduol yn dymmor ofer. "Gwnaethpwyd i mi feddiannu misoedd o oferoedd," medd Job. "Treuliodd efe eu dyddiau hwynt mewn oferedd," ebe y Salmydd am Israel yn yr anialwch. "Mewn oferedd y daeth," medd y pregethwr am y dyn na ddiwellir ei enaid â daioni. Beth, ynte, yw oes dyn yn yr ystyr yma ond dyddiau bywyd ei oferedd? "Dyn a aned i flinder;" mae "yn fyr o ddyddiau, a llawn o helbul."

Edrychwn i'r byd gwladol. Mae pob peth yn llawn blinder, a Duw yn eu poeni hwynt â phob aflwydd. Mynych y gwelwyd melus chwantau a drwg anwydau dynion yn tòri allan yn rhyfeloedd ac ymladdau; cenedl yn erbyn cenedl, a theyrnas yn erbyn teyrnas; lladd dynion yn cael ei ddysgu fel celfyddyd, a'i gyflawni fel un o orchwylion bywyd, a'r holl ddaear yn Aceldama, wedi ei llenwi â thrais, gorthrymder, a gwaed.

Edrychwn i'r byd masnachol; y mae yno yn llawn blinder: pawb yn ceisio yr eiddynt eu hunain; pob un am hela ei frawd i'w rwyd. Ceir cariad, ymddiried, cyfiawnder, sydd yn rhwymyn cymdeithas, wedi eu colli yn y cydeiddigedd a'r cydelyniaeth a'r cydymgais am y byd. Dywed un gŵr mai ofn methu llwyddo yn y byd yw uffern y Saeson; ac yn fflam eu gofal, eu pryder, a'u siomedigaeth, mae llawer yn cael eu poeni nes y mae eu hwyneb yn curio, a'u hesgyrn yn pydru. Gyda golwg ar foddion bywioliaeth, mae y miliynau o bobl yn ymddangos fel pe baent wedi eu hanfon i'r byd yn unig i grafu am damaid trwy chwys eu hwynebau. Dyna hwynt yn troi ddydd ar ol dydd o gwmpas yr un gorchwylion, a'r rhai hyny yn orchwylion nad oes ynddynt un ymarferiad nac amaethiad na hapusrwydd i alluoedd ardderchog yr enaid. Beth, dybygech chwi, pe buasech wedi eich codi o ddiddymdra am ychydig flynyddau i *ffeilio*'r dur, i lifio a naddu coed, i bwyso a lapio mân-

nwyddau, i fesur brethynau, i drîn nodwydd neu fynäwyd, i nyddu gwlân, ac i daflu yr wenol yn ol ac ymlaen—y merched ieuengaf yma i dynu i lawr a gosod i fyny y llestri priddion, a'r rhai henaf i weu hosanau—ac wedi rhoi eich hoes at gyfryw orchwylion, eich bod yna i ddisgyn dros byth i ddystawrwydd,—oni buasech wedi eich gwneyd yn ofer? Ewch at yr amaethwr a'i lafurwyr: yr un fath, yr un peth drosodd a throsodd drachefn, ydyw ganddynt dros ddyddiau eu hoes. Onid yw yn syn gweled etifedd y fath alluoedd yn ymdreulio ar bethau a all efe gyflawni wrth synwyr ei fawd, heb fod i'w enaid ddim i'w wneyd na dim i'w gael? Os yw dyn wedi ei ddwyn i fôd, yn cael ei ddattod i ddim, ar ol dilyn pethau mor annhraethol islaw galluoedd ei natur, dïau fod miliynau wedi eu crëu yn ofer.

Gellir edrych ar lïaws drachefn megys wedi eu hanfon i'r byd i ddyoddef. Nid oes iddynt hwy drwy eu bywyd ond un ystod o gystudd. Gymaint sydd yn barod i gwyno fel Job dan angerdd cystudd, "Megys y dyheua gwas am gysgod, felly y gwnaethpwyd i mi feddiannu misoedd o oferedd, a nosweithiau blinion a osodwyd i mi. Pan orweddwyf y dywedaf, Pa bryd y codaf, ac yr ymedy y nos? caf ddigon o ymdroi hyd y cyf-ddydd;" troi o ochr i ochr am fod yr esgyrn yn cael eu tyllu'r nos, a'r gïau ddim yn gorphwys; dysgwyl y dydd, ac erbyn iddo ddyfod, nid yw ei derfynau yn llawenychu arno ef. "Pan ddywedwyf, Fy ngwely a'm cysura, fy ngorweddfa a esmwythâ fy nghwynfan, yna y'm brawychi â breuddwydion, ac a'm dychryni â gweledigaethau." Nid oedd yn cael llonydd i gymeryd anadl, nac i lyncu ei boeryn. "Am hyny dewisai fy enaid ymdagu," medd efe, "a marwolaeth yn fwy na'm hoedl; ffieiddiais einioes, ni fynwn fyw byth; paid â mi, canys oferedd ydyw fy nyddiau" (Job vii.). Wedi i'r claf dreulio y dydd i ddysgwyl am y nos, a'r nos am y bore, cerdded o ystafell i ystafell, newid ystum am ystum, gwylio'r *clock* yn taro, gruddfan gan ei boen, a hiraethu am esmwythder, o'r diwedd mae'r truan yn "marw mewn chwerwder enaid, ac ni fwytäodd mewn hyfrydwch" (Job xxi. 25). Yn y golygiad hwn, gwagedd yn ddïau yw einioes dyn. A wnaed dyn yn unig i'w foddi yn y dwfr, i'w losgi yn y tân, i'w newynu gan eisieu bwyd, i'w saethu â'r mellt, i'w ysgytian o'r byd gan ddaeargryn, i orwedd yn fwyd i bryfed neu dail i'r ddaear? Os felly, aeth ei fôd yn ofer.

IV. Mae dyn wedi ei wneyd yn ofer, os yn unig i'r fuchedd hon, wrth ystyried *natur isel ei bleserau.*

Hapusrwydd yw prif amcan dyn, canys megys y gwnaeth Duw ef i'w ogoniant, gwnaeth ef hefyd i'w fwynhâu. Felly y mae tuedd ymhob dyn i ymgyrhaedd at hapusrwydd; a phan yn anobeithio am hyny, mae yn gweled y cwbl yn ofer; ei lamp heb oleuni, a ffynnonau ei hapusrwydd wedi rhewi.

Ond fe allai y dywedir, Onid ellir golygu bywyd dynion y byd, y rhai sy'n tòrheulo mewn llwyddiant, yn ffurfio eu hamgylchiadau wrth eu hewyllys, y rhai beth bynag a ddeisyfo eu llygaid, ni ommeddir hwynt iddynt,—yn cynnwys amcan digonol ynddo ei hun, pe heb fyd eto i ddyfod? Ond gallem ateb mai penderfyniad yr hwn a brofodd hyny ydoedd, "Gwagedd o wagedd! gwagedd yw y cwbl!" Rhaid i'r hapusrwydd sydd yn ddigon o amcan i fôd y crëadur gyfateb i arbenigrwydd ei natur; rhaid iddo fod yn gyfryw âg y gall efe gadw pob peth mewn darostyngiad iddo a chyrchu ato fel cyrhaeddiad eithaf natur; rhaid ei fod yn gymaint o ddaioni fel po lwyraf yr ymwertho dyn iddo, mai mwyaf oll yw ei hapusrwydd am ei fod yn cyrhaedd amcan ei grëadigaeth. Yn awr, ynte, bernwch bleserau y byd wrth y rheol yna, a chwi a welwch os nad yw y fath un â dyn wedi ei wneyd i rywbeth heblaw y fath bleserau, ei fod wedi ei wneuthur yn ofer.

Meddyliwch am bleserau gwybodaeth. Nid oes ond ychydig yn meddu gallu ac amser i yfed o'r ffynnonau hyn. Y mae "trysorau doethineb yn guddiedig." "Pa le y ceir doethineb?" "Y peth sydd bell a dwfn iawn, pwy a'i caiff?" Ac nid yw y rhai sy'n rhodio gerddi philosophi ddim yn hapus. Gwybod a mwynhâu sydd ddau beth gwahanol. Gall y pen fod yn llawn goleuni, a'r galon yn llawn trueni. Dacw y gŵr yr agorodd natur ei holl galon iddo, yn cwynfan yn alaethus, "Mewn llawer o ddoethineb y mae llawer o ddig, a'r neb a chwanego wybodaeth a chwanega ofid. Fel y dygwydd i'r ffôl y dygwydd i minnau; pa beth gan hyny a dâl i mi fod yn ddoeth mwyach? canys ni bydd coffa am y doeth mwy nag am yr annoeth yn dragywydd; a pha fodd y mae'r doeth yn marw? fel yr annoeth."

Meddyliwch eto am bleserau anian; "pob peth a'r sydd yn y byd, megys chwant y cnawd, chwant y llygad, a balchder y bywyd." Pwy na chywilyddiai feddwl fod dyn wedi ei wneyd i fwynhâu y

rhai hyn yn unig am dymmor, ac i ddisgyn i ddystawrwydd? dyn wedi ei wneyd i gasglu cyfoeth i'r neb na ŵyr—i fwyta ac yfed, ac yna i fyned yn fwyd i bryfed ei hun—i ennill clod ffyliaid, ac yna i ddisgyn i dir anghof! A all pethau fel hyn fod yn brif amcan ei grëadigaeth? pethau y mynai'r dyn ei hunan eu cadw mewn darostyngiad i bethau uwch, megys iechyd ac anrhydedd; pethau y mae yn gywilydd gan yr annuwiol eu haddef yn brif bleserau; pethau sydd yn ei wneyd yn druenus, ac nid yn hapus, wrth ymwerthu iddynt! Nid oes eisieu yr un enaid i'w mwynhâu. Gall yr anifail fwynhâu peth o'r fath gystal âg yntau. Ac, fel hyn, y mae pob peth sydd gan ddyn yn fwy na'r anifail yn ofer. Paham, ynte, y cafodd dyn y meddwl mawr yna, y côf cryf, y dymuniadau ëang, y serchiadau a allant ymddigrifo yn Nuw ei hun, yr amgyffred a all dreiddio i ddirgelion tragywyddoldeb, i ddim yn y byd ond i fwyta ac yfed? A ydyw'r cyfryw alluoedd mawrion wedi eu rhoddi er mwyn darpar dros y cnawd? Dyna felly lestri aur yn cael eu defnyddio i ddal golchion brwnt; y tywysog breiniol wedi ei anfon i borthi moch! Paham y rhodded iddo enaid heb ddim ar ei gyfer? Gofynwch i'r rhai a wnaethant foddion bywyd yn amcan bywyd, Oni ddarfu i chwi fyw yn ofer? Y meddwyn, y godinebwr, a'r cybydd; a dâl eich gwrthddrychau chwi i'w dilyn fel amcan mawr bywyd? Atebwch yn awr, wedi i chwi aberthu enw, cydwybod, ac iechyd iddynt. Caiff "mab Dafydd, brenin yn Jerusalem," wedi iddo bentyru iddo ei hun arian ac aur, ac heb attal ei galon oddiwrth ddim hyfryd, ateb yn eich lle: "Wele, hyn oll oedd wagedd a gorthrymder ysbryd, ac nid oedd dim budd dan yr haul."

V. Mae plant dynion wedi eu gwneyd yn ofer, os yn unig i'r fuchedd hon, o ran dim y maent yn ei brofi *mewn crefydd.*

Dyma lle y mae rhai o honoch yn edrych am wir amcan eich crëadigaeth. Hwynt-hwy sydd wedi eu cyfiawnhâu trwy ffydd a'u hadnewyddu i ddelw Duw—heb edrych ar y pethau a welir, y rhai sydd dros amser, ond fel parotöad i'r pethau ni welir, y rhai sydd dragywyddol—er trugareddau Duw yn ymroddi i'w wasanaeth trwy barch ac anmharch, clod ac anghlod—yn gosod eu serchiadau ar bethau sydd uchod, a'u hymarweddiad yn y nefoedd—yn myned trwy'r byd dan weddïo, marweiddio y serch iddo, heb ofalu am ddim sydd ynddo ond gwasanaethu Duw,—beth a ddywedwn am

y dynion hyn? Dywedwn, os mai dyma unig ystâd dyn, mai "ofer yw crefydd hwn." "Ofer y glanhëais fy nghalon." "Os yn y byd yma yn unig y gobeithiwn yn Nghrist, truanaf o'r holl ddynion ydym ni."

Ystyriwch leied o hapusrwydd crefydd a fwynhëir yma. Newynu sydd yma, a diwallu draw; llafur yma, a gorphwys draw; ymladd yma, a mwynhâu yspail y fuddugoliaeth draw. Ac am yr ychydig bleser yr ydym yn ei fwynhâu gyda chrefydd, tragywyddoldeb yw ei felusder. Beth a fuasai cyfiawnhâd, mabwysiad, na delw Duw, o werth i grëadur yn disgyn i ddiddymdra? Beth fuasai waeth i mi ymha ystâd y byddwn, na pha annhrefn oedd yn nhymher fy ysbryd, os un ydwyf i ddisgyn i ddim yn ebrwydd? Ah! yn ol hyn, po fwyaf a brofaswn o bleser crefydd, mwyaf truenus a fuaswn, a pharotaf i ofyn, Paham y gwnaethost blant dynion yn ofer? Am a wn i nad dyma y tro olaf i mi, O Arglwydd, gael dyfod i dy ŵydd—y tro olaf i mi gael gweled dy wyneb grasol, a chlywed dy hyfryd lais—y prawf diweddaf a gâf o'th ddaioni—y canu olaf i'th enw a fwynhâf. Paham y crëaist fi i weled Canaan, heb fyned iddi—i archwaethu blâs dy gariad, ac i ddiflanu—i weled afonydd o hyfrydwch, ac ond yn brin brofi o honynt—i dy ryfeddu am foment, a dy adael byth i'th ryfeddu dy hun? O na buaswn heb fyw erioed, neu, ynte, yn cael byw byth!

Ydyw! mae y cwbl o dan haul yn ddirgelwch oni olygir dyn ar y ddaear yn teithio ymlaen tua byd y bydd ei gyflwr ynddo o dragywyddol barhâd. Heb hyn, y bobl oreu yn y byd hwn yw y rhai a siomir fwyaf. Y syniad am dragywyddoldeb a'i gynnwys yw yr hyn a esyd enaid cristion ar dân gyda chrefydd. Gyfiawnion, pa fodd yr ydych yn gorfoleddu mewn gorthrymderau? Yr ydym "yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw." I ba le y cyfeirir chwi gan y teimlad sydd yn eich codi i ddadgan "Bendigedig fyddo Duw?" "I etifeddiaeth anllygredig a dihalogedig, a diddiflanedig, ac yn nghadw yn y nefoedd i ni." Pa beth sydd yn peri i chwi edrych i lawr mor ddiochain ar y bedd? "Canys ni a wyddom, os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd?" Y tipyn mwyniant crefyddol a geir yma, cychwyniad gogoniant ydyw; blaenffrwyth y cynnyrch mawr sydd yn ol. Y wybodaeth am Dduw, yr awyddfyd am ei gymdeithas, y cariad at

Grist,—dyna ddechreuad ein nefoedd, ac nis gallwn eu colli byth.

Credwn fod tragywyddoldeb yn ein haros, a dyna yr holl dywyllwch yn cilio. Rhodiwn yn ngoleuni y Bibl am anfarwoldeb, ac ni a welwn yn amlwg na chrëodd y Duw doeth a da mo ddyn yn ofer. I wasanaethu a mwynhâu Duw y gwnaed dyn i ddechreu. Gosodwyd ef ar y ddaear yn nghanol temtasiynau am dymmor i'w brofi. Yma syrthiodd i ddrwg a thrueni; ymrysonodd â'i Luniwr, troseddodd ei ddeddf, a chollodd ei heddwch. Eto ni syrthiodd dyn yn ddiobaith. Lluniaethwyd trefn i'w godi yn ol at Dduw trwy Gyfryngwr; a phan y dygir ef at Dduw yn mhabell y cyfarfod, dyna gymdeithas yn dechreu rhyngddo â'r Mawredd ar y ddaear, yr hon a berffeithir yn nhragywyddoldeb.

Wele ni bellach mewn awyr oleu ac ar dir safadwy. Gan edrych ar dragywyddoldeb, ni chwynfanwn mwyach, "Paham, Arglwydd, y crëaist holl blant dynion yn ofer?" eithr ni a ddywedwn wrtho, Cyfiawn a chywir yw dy ffyrdd, O Arglwydd; gwnaethost ddyn mewn doethineb, ac nid yn ofer!

Y mae dyn i bara byth, ac y mae hyny *yn rhoddi amcan teilwng i'r cwbl sydd yn gweini arno yn y fuchedd drancedig hon.* Pe buasai wedi ei wneyd i aros yn unig am dymmor megys hwythau, buasai yr oll a welir yn ofer: haul yn tywynu yn ofer, daear yn ffrwytho yn ofer, i ddyn a grëwyd yn ofer; y naill yn byw ar y llall, a'r cyfan yn disgyn i ddiddymder yn y diwedd. Ond wrth wasanaethu ar grëadur sydd i bara byth, y mae'r pethau a welir yn ateb dyben anfeidrol, ac yn cael math o dragywyddoldeb yn ei wirioneddol dragywyddoldeb ef. Lysieuyn y maes, paham yr wyt ti yn tyfu? I fod yn fwyd i'r anifail. Yr anifail, paham yr wyt ti yn pesgi? I fod yn ymborth i ddyn? Tydi, O ddyn, pa amcan sydd i fod genyt? Byw i Dduw; dechreuaf ymarfer hyny yma tuag at ei gyflawni dros byth. Dyn, yr hwn sydd yn edrych mor ddistadl,—er ei fwyn ef, ar ol iddo ddyfod i gymmod âg Arglwydd y lluoedd, y mae holl olwynion peiriant mawr naturiaeth yn troi. Dyma yr Arglwydd yn gwrando ar y nefoedd, y nefoedd yn gwrando ar y ddaear, y ddaear yn gwrando ar yr ŷd a'r gwîn a'r olew, a hwythau yn gwrando ar Jezreel (Hosea ii. 21, 22). Oni buasai fod gan Dduw ei Israel, y bobl a luniodd efe iddo ei hun, ni welid ymhobman ond diffrwythdra ac anghyfannedd-dra;

hwynt-hwy sydd "yn fendith o fewn y tir." Y mae'r ddaear, mae yn wir, yn tynu at ei diwedd; hi "a heneiddia fel dilledyn." Beth, er hyny? y mae crëaduriaid diddiwedd, personau i fôd byth, yn cael eu cynnal arni; y maent hwy yn cael moddion bywioliaeth ganddi i'w hyfforddi arni fel rhai â'u hwyneb ar fuchedd ddidranc. Os syrthio i ddiddymder yw tynghed ein daear ni, ni ddisgyn hi yno nes iddi yn gyntaf boblogi y tragywyddoldeb mawr. O ddaearen, nis gall mai yn ofer y'th wnaethpwyd! Gan fod Mab Duw yn llawenychu yn dy gyfanneddle cyn gwneuthur o hono dydi—ac wedi iddo, âg efe yn ffurf Duw, wisgo ynot natur dyn, ac felly dy nodi â'i gamrau, a'th gysegru â'i waed—a chan ei fod ef fel Tad tragywyddoldeb, y Tad tragywyddol, yn dy roddi i'r plant a roddes Duw iddo yn feithrinfa i'r nefoedd,—ni'th anghofir ac ni'th ddiystyrir byth. Bûm weithiau wrth feddwl am eiriau Pedr, a'u cyffelyb mewn lleoedd eraill, "Y ddaear a'r gwaith a fydd ynddi a losgir," yn dyweyd ynof fy hun mewn ffordd o gyfarchiad, Wel, yr hen ddaear, pa fodd bynag yr ymdarewi wedi y llosgiad mawr, ti a fyddi yn dragywyddol yn fy nghôf i! mi a gofiaf ddaear Cymru, y llwybrau i hen gapel Llansanan, a'r cerdded dros fynyddoedd i hen Gymdeithasfäoedd y Bala, am dragywyddoldeb! Ië! er pob camdriniaeth a sarhâd a gafodd daear trwy bechodau plant dynion arni, caiff, pa fodd bynag, dragywyddoldeb anrhydeddus yn nghôf y gwaredigion; a chyfrifir gan bob sant iddi lawn ateb dyben ei chrëadigaeth.

Y mae dyn i bara byth, ac y mae hyny *yn rhoddi rheswm am holl ymddygiadau Duw tuag ato yn y byd sydd yr awr hon.* Ar y ddaear nid yw yr annuwiol mor druenus âg y gallesid dysgwyl y buasai gelyn Duw; ac nid yw y duwiol mor hapus âg y gallesid dysgwyl gweled plentyn Duw. Tragywyddoldeb a wna y cwbl yn uniawn, lle y rhydd Barnydd pawb "i bob un fel y byddo ei waith ef." Bûm yn meddwl fod y byd hwn, nid ar bob cyfrifon, ond mewn rhyw un golygiad, yn debyg i'r seler o dan ystafell y brawdlys. I fyny y profir ac y bernir y carcharorion, ac i lawr y cedwir y rhai sydd eto heb sefyll yn y *court.* Ar y llofft, uwch ben y carcharorion yn y seler, y mae'r farn yn eistedd, ac y maent hwythau o un i un yn cael eu galw o flaen y barnwr. Wedi iddynt fyned i fyny ar hyd y grisiau tywyll, byddant yn dyfod allan yn y llŷs agored; bydd gorsedd barn ar eu cyfer, y dadleuwyr a'r

tystion yn barod; y llyfrau yn cael eu hagor, eu hachos hwy yn cael ei drîn yn ebrwydd; ac, os ceir hwynt yn euog, dyna y ddedfryd yn cael ei chyhoeddi arnynt, yr hon a roddir mewn grym yn ddiwarafun. Nid yw yr annuwiol ar y ddaear yn gallu cyflawni pechodau yn gwbl ddilyfethair: mae cydwybod yn ei boeni, a rhagluniaeth yn ei gyfyngu; carcharor ydyw yn cael ei wylio a'i gadw erbyn y farn. Ac nid ydyw efe eto yn derbyn yr hyn a haeddai ei anwiredd: y mae efe yma heb ei alw i sefyll o flaen y fainc. Y mae miloedd o blant dynion yn cael eu dwyn bob mynyd trwy *entry* marwolaeth i wyddfod yr orsedd fawr, lle y penderfynir eu hachos dros byth. Nid yw holl ofidiau a gorthrymderau y duwiol ar y ddaear ond dysgyblaeth yr ysgol, lle y dygir ef i fyny i'w gymhwyso i iawn ymddwyn yn nhragywyddol ystâd gogoniant, ac i'w hiawn fwynhâu. "Da yw i mi fy nghystuddio," medd efe, "fel y dysgwn dy ddeddfau." Tad yr ysbrydoedd sydd, dros yr amser presennol, yn ceryddu ei feibion er llesâd iddynt, fel y byddont gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef. Y mae ymddygiad Duw tuag at ddynion ar y ddaear yn gyfryw âg a allesid ei ddysgwyl mewn gorchwyliaethau at grëadur syrthiedig sydd i bara byth, ac eto, yn wir, heb ei lwyr adael. Gwelir fod pechod yn drueni ynddo ei hunan,. fel nas gall pechadur osgoi anghysur. Ond y mae llewyrch gobaith ar y ddaear yn goleuo pechadur; y mae trefn yr efengyl yn wynebu arno fel y mae; ac y mae pob annedwyddwch sydd ynglŷn â'i sefyllfa bresennol i fod yn rhan o'r moddion i'w gau ef i'r drefn hono. Pe na chaffai ond iechyd a hawddfyd, cyfeillion a chysuron, anhawdd fyddai iddo edrych arno ei hun yn ddyeithr ar y ddaear, a chwennych gwlad well. Gwneir iddo feddiannu misoedd o oferedd, i edrych a ddaw hyny âg ef i geisio tragywyddoldeb o etifeddu sylwedd. A mynych y bendithiwyd dyoddefiadau yr amser presennol hwn i weithredu yn odidog ragorol i'r dyoddefydd dragywyddol bwys gogoniant.

Y mae dyn i bara byth, a dylai ystyried hyn *ein cymmodi â marwolaethau annysgwyliadwy ein cyfeillion.* Pe buasai dyn i ddarfod yn angeu, buasai ei oes fer yn ddirgelwch anesboniadwy. Gynifer a welsom ni yn meirw yn eu hieuenctyd, ac yn eu mysg nid ychydig wedi eu haddurno â galluoedd mawrion, wedi eu bendithio â gwir anian crefydd, a'u rhoddi mewn manteision

têg i ogoneddu Duw, a phawb o'u cydnabod yn dysgwyl pethau mawrion oddiwrthynt! Paham yr oedd y cyfryw rai yn cael eu cipio ymaith mewn moment—eu galw oddiar y chwareufwrdd cyn iddynt ddechre actio, a pheri i wahanlen tragywyddoldeb eu cuddio oddiwrthym? Yn ddïau, medd ein teimlad siomedig ni, yn ofer y gwnaethpwyd hwynt. Eithr, nage! yr oeddynt trwy farwolaeth yn cyrhaedd eu hamcan yn gynt. Beth a fuasent hwy yn ei wneuthur pe gadawsid hwy ar y ddaear? Wel, meddwch, caru Duw a'i wasanaethu—dilyn Crist a'i ganmawl ef.Ië; ond draw, tu hwnt i angeu, y maent yn gwneuthur hyny yn berffaith. Mi a welais yn Liverpool dŷ haiarn mawr a chywrain wedi ei osod i fyny, yn llawn ystafelloedd, a llïaws o bethau manteisiol at driggiannu ynddo; ond cyn i neb gysgu noson o'i fewn, cafodd ei ddad-*screwio*, ei dynu i lawr, ei sypio at ei gilydd, ei ddwyn yn sypynau i long, a'i gludo felly dros y môr. Dyna hwnw wedi ei adeiladu yn ofer. Nage; dros y môr yr oedd efe i fyned. Bwriadwyd ef yn balas i ryw dywysog neu frenin yn nghoedwigoedd Affrica; ac i'w weled am enyd yn unig y rhoddwyd ef i fyny yn y wlad hon. Wedi myned i'w le penodol yr ochr draw, codwyd ef i fyny i aros yn ansymudol. Felly am ein cyfeillion ieuainc, duwiol a doniol, y buom yn galaru ar eu hôl, na feddyliwn ynom ein hunain mai ofer oedd eu hanfoniad i'r byd o herwydd eu symudiad disymwth o hono. I'r wlad fry yr oeddynt i fyned; i wasanaethu Duw yno heb anmherffeithrwydd na blinder y cymhwyswyd hwynt; ac yno "y maent ger bron gorseddfainc Duw, ac yn ei wasanaethu ef ddydd a nos yn ei deml."

Y mae dyn i bara byth, a phrïodol gan hyny yw *i achosion amser gael eu llyncu gan dragywyddoldeb.* Nis gallwn lai na gweled yr argraff o fawredd meddwl dyn a osodir ar ei adeiladau, ei beiriannau, a'i holl weithredoedd celfydd; a syn yw edrych arno yn cael ei gymeryd ymaith oddiwrthynt mor ebrwydd, a chanfod gwaith ei law yn aros wedi iddo ef ei hun gilio. Ond, erbyn iawn farnu, rhaid i ni synio mai pethau yw y rhai hyny i rwyddhâu ei ffordd trwy y byd i dragywyddoldeb; a pharotôi erbyn y byd hwnw a ddylai fod ein hamcan penaf yn y byd hwn. "Canys nid oes i ni yma ddinas barhäus, eithr un i ddyfod yr ŷm ni yn ei dysgwyl." Caiff ein parotöad i'r nefoedd ei hwyluso ymlaen "tra na byddom yn edrych ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni

welir; canys y pethau a welir sydd dros amser, ond y pethau ni welir sydd dragywyddol."

Enaid! gan fod dadguddiad y gwirionedd, trwy ddwyn tragywyddoldeb ger bron, yn profi mai nid ofer y'th wnaed, cymer hyn yn gymhelliad i gredu yn Nghrist, fel un "a wnaethpwyd yn awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhânt iddo." Efe a ddaw "i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu, yn y dydd hwnw." Ac os na chaiff efe ei ogoneddu ynom ni, efe a fyn ei ogoneddu arnom, a hyny yn ddiddiwedd. Pa le a pha fodd y byddi di yn y byd tragywyddol? Mae yr Arglwydd yn penderfynu cael ei ogoniant oddiwrth dy fôd; ond pa un ai gogoniant ei ras a'i gariad, ai ynte gogoniant ei allu a'i ddigofaint, a fydd hwnw? "Beth, os Duw, yn ewyllysio dangos ei ddigofaint, a pheri adnabod ei allu, a oddefodd trwy hirymaros lestri digofaint wedi eu cymhwyso i golledigaeth?" Fel y winwydden ddiffrwyth, gan nad yw o un gwerth o ddiffyg ffrwyth, a'i choed yn hollol ddiddefnydd i wneuthur gwaith, nac hyd yn nôd i gymeryd o honi hoel i grogi un offeryn arni, nid oes i'w wneuthur ond ei rhoddi yn ymborth i'r tân (Ezec. xv. 2—4); ac fel tanwydd hi a fydd o ryw wasanaeth—felly y bydd yr anghrediniol a'r anedifeiriol mewn byd arall yn gwasanaethu fel esiampl o ddïaledd cyfiawn y Duw Goruchaf. "A hwy a ânt allan, ac a edrychant ar gelanedd y rhai a wnaethant gamwedd i'm herbyn; canys eu pryf ni bydd marw, a'u tân ni ddiffydd; a byddant yn ffieidd-dra gan bob cnawd." Gan hyny, O bechadur, cyn i'th ddydd fyned heibio, derbyn Grist fel y mae yn cael ei gynnyg i ti yn yr efengyl; felly y gwaredir di rhag gwastraffu dy amser cymeradwy i sicrhâu tragywyddoldeb o wae, ac y cyrhaeddi amcan gogoneddus a dyben penaf dy fôd.

## PREGETH IV.

### CADW TRWY DDINYSTRIO.

I CORINTHIAID V. 5: "Draddodi y cyfryw un i Satan, i ddinystr y cnawd, fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu."

NID oes ond dwy deyrnas ysbrydol yn y byd hwn, yr eiddo Satan a'r eiddo Crist. Mae y ddwy yn elynol i'w gilydd; ac y mae llwyddiant y naill yn lleihâd a dinystr i'r llall. Pan mae dynion trwy dröedigaeth rasol yn cael eu dwyn o'r byd i'r eglwys, y maent yna yn cael eu troi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw—eu gwaredu o feddiant *(power)* teyrnas y tywyllwch, a'u symud i deyrnas anwyl Fab Duw. O'r ochr arall, pan mae dynion anghymeradwy yn cael eu bwrw allan o'r eglwys, a'u difeddiannu o'i breintiau, mae y cyfryw yna yn cael eu traddodi i Satan, i'w deyrnas weledig ef; y maent o ran eu hystâd allanol, pa beth bynag ydynt rhyngddynt â Duw, yn yr un cyflwr â'r dynion sydd yn amlwg yn nheyrnas y diafol.

Mae y gyfran hon o'r gwirionedd yn rhoddi drych o'r orchwyliaeth anhawdd, beryglus, ac ofnadwy hono, yr hon sydd yn dyosg dyn o bob hawl a braint sydd yn perthyn i eglwys Dduw, ac yn ei roddi yn ol yn grëadur esgymun i Satan; ac y mae yn gosod cyfarwyddiadau i'w gweinyddu hyd ddiwedd amser. Ei gwrthddrych yw dyn yn byw mewn bai ysgeler, o'r hyn yr oedd prawf hollol. Nid yw y cerydd hwn ddim i'w weinyddu ar chwedl ddisail, nac am wendidau anocheladwy; "canys mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro;" ac nid yw ychwaith i'w weinyddu am fai mwy neillduol yn wastad, cyn i foddion eraill brofi

yn aneffeithiol i adgyweirio. Gwir nad yw Paul yma yn dysgu yr eglwys i ymofyn dim am edifeirwch, nac i arfer dim moddion tuag at adferu y dyn i edifeirwch cyn ei ddiarddel: ei draddodi i Satan yw yr unig foddion a orchymynir er dinystr y cnawd a chadwedigaeth yr ysbryd, sef trwy adferiad i edifeirwch; ond fe welir fod y dyn hwn nid yn unig yn euog o fai tra ysgeler, ond hefyd wedi byw ynddo, dybygid, er ys cryn amser, ac, ar yr un pryd, o bosibl, yn ddyn mwy cyhoeddus na chyffredin.

Dangosir awdurdod yr orchwyliaeth hon: "Yn enw ein Harglwydd Iesu Grist." Efe a roddes y gallu hwn i'w eglwys; efe a sefydlodd yr ordinhâd hon yn ei dŷ; a thrwy ei awdurdod, gan hyny, mae i gael ei harfer. A phan y caffo ei gweinyddu yn ol ei air, yn ei Ysbryd, ac yn ei enw, mae ei allu yn ei heffeithioli ac yn ei chadarnhâu. "Yn wir meddaf i chwi, Pa bethau bynag a rwymoch ar y ddaear, a fyddant wedi eu rhwymo yn y nef; a pha bethau bynag a ryddhäoch ar y ddaear, a fyddant wedi eu rhyddhâu yn y nef" (Mat. xviii. 18). Ac ni a welwn yr ybsryd yn yr hwn mae i gael ei gweinyddu: galaru. "Ni alarasoch yn hytrach." Mae pob peth yn galw am alar yn yr amgylchiad hwn ar eglwys: enw Crist dan warth, a brawd yn yr Arglwydd dan fai, ac yn awr yn myned dan y cerydd olaf, trymaf, sydd yn perthyn i eglwys Crist, ac yn cael ei drosglwyddo i ystâd nad oes ganddi mwy i wneyd âg ef. Y mae yn orchwyliaeth y dylid ei chyflawni gydag ympryd a gweddi. Lle bo eglwys yn yr iawn dymher, y mae yn sicr o fwrw y drygionus o'i mysg; ond fe ddylid cofio fod yn bosibl i eglwys fod yn fanylaidd mewn dysgyblaeth tra wedi colli yr ysbryd i'w gweinyddu.

Mae ein testun yn dangos dyben yr orchwyliaeth. Traddodir i Satan, ac felly purir yr eglwys; ond iachawdwriaeth y troseddwr yw y nôd mawr: "dinystr y cnawd, fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig." Yr un dyben sydd i'r gweinyddiad difrifol hwn âg sydd i holl orchwyliaethau Duw, ei air, ei ordinhadau. Yn nesaf at ogoniant Duw, iachawdwriaeth pechadur yw yr amcan. Os yw y pethau hyn yn troi yn fagwraeth i'r cnawd ac yn ddinystr yr ysbryd, y mae hyny i'w brïodoli i ddrwg y dyn, ac i farn Duw arno am eu camddefnyddio. Cadw yw tuedd ac amcan cyntaf holl orchwyliaethau Duw trwy yr efengyl.

Heb aros bellach ar y gweinyddiad o esgymundod eglwysig, ni

a dynwn allan o'r testun egwyddor gyffredinol, ac a alwn sylw at yr hynodrwydd a ddangosir ynddo sydd yn ngorchwyliaeth y cadw: cadw trwy ddinystrio. "I ddinystr y cnawd fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig." Nid oes dim cadw heb ddinystrio, na dim dinystr gyda ni yma ond fel y byddo y dyn ei hun yn gadwedig. Mae dynion o ran cyflwr eu personau ac ansawdd foesol eu meddyliau tuag at Dduw y fath, fel ag y mae yn rhaid i'r orchwyliaeth a'u hachubo fod yn orchwyliaeth o ddinystr o'r dechre i'r diwedd. Pe byddech yn dirnad hyn yn well, chwi a welech fwy o gymhwysder a rheswm yn y gorchwyliaethau. Mae dyn yn barod i feddwl pan y dechreuo Duw ei drîn ef er ei gadw, mai myned i'w ladd ef y mae, a hyny o herwydd fod y driniaeth yn cael ei chymhwyso i ladd pethau eraill sydd o'i fewn ef. "Od yw yr Arglwydd gyda ni," medd Gedeon, "paham y dygwyddodd hyn oll i ni?" Os am fy achub i y mae Duw, medd yr enaid, beth yw y saethau llymion yma yn fy nghydwybod? beth yw yr ymrysonfa yr wyf yn ei phrofi yn fy mynwes? beth yw y barnu a'r condemnio a wna Duw arnaf yn fy meddyliau? beth yw yr holl wylio y gelwir arnaf iddo; yr ymarfogi a'r ymgadw? paham y rhaid fy rhoddi mewn cystuddiau, dan geryddon fy mrodyr, dan ddysgyblaeth y tŷ? Yr ateb yw, mai trwy ddinystrio y mae cadw. Y mae gelynion i'w gorchfygu, a thueddiadau drwg i'w marweiddio; y mae dinystrio yn holl orchwyliaeth y cadw. Rhaid yw gorchfygu trosot, trwot, ac ynot, mewn trefn i'th gadw.

I. Y mae hyn yn dyfod i'r golwg *yn iachawdwriaeth gysgodol yr eglwys trwy yr oesoedd.*

Yr oedd holl iachawdwriaethau yr eglwys yn gysylltiol â dinystr i'w gelynion. Trwy hyny yr oeddynt yn cael eu cyflawni; ac felly yr oeddynt yn destun gorfoledd i'r duwiolion. Felly y mae yr Arglwydd yn aml yn yr Hen Destament yn cael ei osod allan fel Rhyfelwr, Barnwr, a Dïalydd; ac y mae ei addewidion i'w bobl yn fynych yn gynnwysedig yn ei fygythion i'w elynion, am fod gwaredigaeth y naill drwy ddinystr y lleill; ac felly hefyd ceir ei fygythion i'w elynion yn gorwedd yn ei addewidion i'w bobl.

Yr esiampl nodedig gyntaf a gawn ni o hyn yw y diluw. Gallasech feddwl nad oedd yn hyny ddim bron ond dinystrio; ond edrychwch yn fanylach, a chewch weled fod yno nid yn unig gadw yn gystal a dinystrio, ond mai cadw oedd yr amcan, a bod y

dinystrio mewn trefn i gadw. Fe foddwyd y byd fel y byddai Noah gadwedig. Mae yn wir fod yr arch yn ddïogelwch iddo ef rhag y diluw; ond mor wir ydyw fod yr arch a'r diluw yn gwneyd un iachawdwriaeth oddiwrth drais ac annuwioldeb y byd. Yr oedd yno "achub trwy ddwfr," yn gystal â rhag dwfr. Nid oedd ond Noah a'i deulu yn glynu wrth addoliad Duw; yr oedd y byd o'i gwmpas yn llawn drygioni a thrais, yr hyn oedd yn gosod crefydd a bywyd Noah mewn perygl, ac yn hyny yr eglwys o ran ei hanfod yn debyg o gael ei dyfetha. Ond pan yr oedd efe wedi ei adael, "megys lluestŷ mewn gwinllan, megys llettŷ mewn gardd cucumerau, megys dinas warchäedig," dyma y diluw yn cael ei ddwyn ar fyd y rhai anwir, fel y byddai yr eglwys yn gadwedig. Felly yr oedd yr holl orchwyliaeth yn iachawdwriaeth trwy farn a dinystr. "Cyffelybiaeth cyfatebol"—*antitype*—i hyn yw yr hwn sydd "yn ein hachub ninnau, sef bedydd." Achubwyd Noah trwy fod ei fedydd wedi dinystrio yr hen fyd a'i lygredigaeth, a'i ddwyn yntau i fyd newydd; ac achubir pechadur eto drwy fod yr iachawdwriaeth a ddengys bedydd yn dinystrio yr hen ddyn a'i chwantau twyllodrus, ac yn codi y pechadur i newydd-deb ysbryd a buchedd.

Yr un modd yr oedd gwaredigaeth Israel o'r Aipht yn waredu trwy ddinystr. Yr oedd hyny o ystwytho a fu ar Pharaoh yn profi y gallasai Duw ddwyn ei bobl allan mewn heddwch. Ond yn lle hyny, wele Dduw yn gadael iddo galedu i'w ddinystr, a thynu barn ar farn nes dyfetha'r Aipht. Felly dywedai yr Arglwydd wrth feibion Israel, "Myfi a'ch dygaf chwi allan oddi tan lwythau yr Aiphtiaid, ac a'ch rhyddhâf o'u caethiwed hwynt, ac a'ch gwaredaf â braich estynedig, ac â barnedigaethau mawrion" (Ex. vi. 6). Ac i berffeithio y waredigaeth, dacw ben yr hen lefiathan ei hunan yn cael ei ddryllio, ac Israel yn canu, wedi gweled yr Aiphtiaid yn feirw ar fîn y môr, "Yr Arglwydd sydd ryfelwr; taflodd y march a'i farchog i'r môr." Paham y cenwch am hyny? Yn hyn mae efe "yn iachawdwriaeth i mi." Iachawdwriaeth yr Arglwydd oedd y cyfan o'r dinystr; ac felly yr oedd yn destun cân i'w bobl.

Yn gyffelyb yr ydoedd wrth ddwyn Israel i Ganaan. Yr oedd iachawdwriaeth yn cario gyda hi ddinystr y gelynion. Wele y wlad yn meddiant y Canaaneaid, a'r un wlad wedi ei rhoddi yn etifeddiaeth i gyntafanedig Duw trwy lw, a'r llw i Abraham wedi

myned yn llwon i'r llwythau o'r diwedd. Ond yr oedd y naill yn eiddil, a'r llall fel mynyddoedd tragywyddol a bryniau oesol. Ni chânt hwy fyned allan o'r Aipht, medd Pharaoh. Ni chânt hwy ddyfod yma, medd y Canaaneaid. Beth ynte a ddaw o'r llwon? medd Duw. Dyma gan hyny y cleddyf yn cael ei lwyr noethi, a'r haint yn myned o'i flaen i Ganaan. "Mewn llid y cerddaist y ddaear, a dyrnaist y cenedloedd mewn digter." Pan yr oedd Duw yn cerdded, yr oedd holl natur yn ymgrymu iddo, y cenedloedd cymydogol mewn braw, nerth y Canaaneaid, oedd fel mynyddoedd tragywyddol a bryniau oesol, yn dryllio ac yn crynu. Beth oedd hyn oll? Duw sydd "wedi myned allan er iachawdwriaeth i'w bobl." Gallesid meddwl nad oedd yna ddim ond rhyferthwy a dinystr; eithr yr oedd y cwbl yn iachawdwriaeth: yr haul yn sefyll, y dyfroedd yn hollti; ac hyd yn nôd yr elfenau cynddeiriog yr oedd Duw yn farchogaeth, er eu bod yn dryllio y gelyn, meirch i ymwared oeddynt a cherbydau iachawdwriaeth (Habacuc iii. 5, 6, 8, 9, 10, 12, 13).

Felly hefyd am y waredigaeth o Babilon. "Dygaf chwi o Babilon," medd Duw. Ond pa fodd? a wna y Babiloniaid eu gollwng trwy fodd ac ewyllys da? Ni wnâf fi ddim ceisio ganddynt, medd Duw. A wnei di ryw fargen am danynt? Na; nid âg arian eu gwaredir; mi a godaf Cyrus, "a'i holl ffyrdd a gyfarwyddaf; efe a adeilada fy ninas; efe a ollwng fy ngharcharorion heb na gwerth na gwobrwy" (Esa. xlv. 13). Felly nid ä yn waredu ar Israel heb frwydr. "Ymfyddinwch yn erbyn Babilon o amgylch; yr holl berchen bwäau, saethwch ati, nac arbedwch saethu; bloeddiwch yn ei herbyn hi o amgylch;" yna daw y waredigaeth i feibion Israel a meibion Judah, a gwelir hwy ar y ffordd i Sïon (Jer. l. 5, 14, 15).

Felly y darlunir yn brophwydol waredigaeth eglwys y testament newydd ynglŷn â barn a chwymp Anghrist. Ar ol llef uchel yr angel, "Syrthiodd, syrthiodd Babilon fawr," yr oedd llef uchel gan dyrfa fawr yn y nef yn seinio, "Iachawdwriaeth, a gogoniant, ac anrhydedd a gallu, i'r Arglwydd ein Duw ni!"

Fel hyn y mae barnau yr Arglwydd yn destynau cân i'r eglwys bob amser: Moses ac Israel yn canu ar làn y môr, y gaethglud yn tynu eu telynau oddiar yr helyg ar gwymp Babilon, a Sïon yn dyblu ei Haleluia ar ddinystr Anghrist (Dad. xix. 1—3). "Canaf

am drugaredd a barn," ebe y Salmydd. Mae y naill yn y llall: barn yn esgor ar drugaredd, a thrugaredd yn dyfod drwy farn. Cawn ganu am yr oll gan eu holrhain i'w ffynnon. "Yr hwn a darawodd freninoedd mawrion, o herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd; ac a'n hachubodd ni oddiwrth ein gelynion, o herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd" (Psalm cxxxvi.). Os yw y gwaredigaethau drosodd, mae y drugaredd a'r gallu a'i cyflawnodd yn parhâu yn dragywydd.

Da yw i'r cristion gofio hyn yn wastad; oblegid y mae'r byd yn elyn iddo yntau. Mae yn wir eto eiriau Crist, "Pe byddech o'r byd, y byd a garai yr eiddo; ond oblegid nad ydych o'r byd, eithr i mi eich dewis allan o'r byd, am hyny y mae'r byd yn eich casâu chwi." Ac felly geiriau yr apostol, "Ië, a phawb a'r sydd yn ewyllysio byw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, a erlidir." Mae offer y rhyfel erbyn hyn yn ronyn mwy tyner, a'r amcanion yn fwy ysbrydol; ond mae yr elyniaeth yr un. Anaml y mae'r byd yn awr yn lladd saint oddiar ddybenion politicaidd fel Pharaoh; ond y mae eu dedwyddwch yn deffro ei genfigen, a'u sancteiddrwydd, yr hwn sydd yn ei gondemnio, yn cynhyrfu ei ddygasedd; a thrwy ŵg, gwên, gwawd, cyfeillach, addysg, ac esiamplau, mae'r byd yn ceisio lladd pob gwahaniaeth, a gwneyd yr eglwys yn un âg ef ei hun. Ac os bydd efe yn lladd eu personau, yr amcan yw lladd yn eu hysbryd yr egwyddorion a'r ansawdd y mae efe yn ei gasâu. Felly rhaid yw gorchfygu'r byd, ïe, ei ddinystrio yn nhuedd ac amcan ei ymddygiad, cyn y gall "yr ysbryd fod yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu." Ond mae Duw Israel eto yn fyw. Mae ysgytiwr Pharaoh a'i lu yn y Môr Coch yn marchog eto yn ngherbydau ei iachawdwriaeth. Cofia gan hyny, gristion, os yw yr hen waredigaethau drosodd, fod yr hen drugaredd a'u cwblhäodd yn parhâu yn dragywydd, ac fel hyn yn barod heddyw i dy gynnorthwyo dithau.

II. Yr oedd yr orchwyliaeth ddyblyg hon yn cael ei dwyn ymlaen *yn nghyflawniad iachawdwriaeth dragywyddol yr eglwys gan Grist.*

Nid oedd holl waith y prynedigaeth ond cadw a dinystrio; dinystrio mewn trefn i gadw. "I hyn yr ymddangosodd Mab Duw, fel y dattodai weithredoedd diafol." Dyma oedd amcan mawr ei gnawdoliaeth a'i angeu. Felly y mae yn cael ei alw yn

Rhyfelwr yn gystal âg yn Achubydd; ac y mae yr holl brophwydoliaethau gogoneddus am dano yn darlunio y gwaith oedd ganddo i'w gyflawni, fel brwydr i'w hymladd, cystudd i'w ddyoddef, a dïaledd i'w dywallt ar elynion nes eu dinystrio. Ac yn hyn fe'i gwnaed ef yn Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhânt iddo; yn berffaith Iachawdwr wedi cwbl orchfygu.

"Wele dy iachawdwriaeth yn dyfod," medd y Tad wrth ei eglwys. Ond pan aeth Sïon i edrych am dano ef, y peth cyntaf a welai oedd rhyfelwr digofus, â gwaed ei elynion ar hyd ei wisgoedd. "Paham yr ydwyt yn goch dy ddillad?" Yr oeddym yn dysgwyl i ti efengylu i'r rhai llariaidd, rhwymo y rhai ysig eu calon, cyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar y rhai sy'n rhwym. Felly yr ydwyf yn gwneuthur; ond nid oes dim achub y caethion heb ymryson â'u hymrysonydd, na'u dwyn o'r carchar heb ollwng gwaed; am hyny, nid arbedaf y gelynion; "sathraf hwynt yn fy nig, ac a'u mathraf hwynt yn fy llidiogrwydd; canys dydd dial sydd yn fy nghalon, a blwyddyn fy ngwaredigion a ddaeth" (Esa. lxiii. 2—4). O'r diwedd daeth y Gwaredwr; ac mor gynted ag y dywedodd y Tad pwy ydoedd yn ei fedydd, wele Satan yn ei nodi allan, a'i hèrio i ymdrechfa yr anialwch. Ac wedi gwrthsefyll yr ymgyrch hwnw, y mae yntau yn troi ac yn rhuthro yn ôl ar y gelyn ei hunan. Yr oedd yn gwaredu personau dynion o'i feddiant, ac yn symud ffrwyth ei ddygasedd a'i falais oddiar eu cyrff, ac yn dattod ei weithredoedd yn eu meddyliau; yr oedd pob gwaredigaeth yn ddinystr, a phob dinystr yn waredigaeth i ryw bechadur, yr hyn oedd yn peri i'r Iesu lawenychu yn yr ysbryd, wrth weled Satan fel mellten yn syrthio o'r nef.

Ha! medd y diafol, os nad wyf yn gryf, mi fûm yn gyfrwys; nid all efe byth ddwyn dyn o fy meddiant i yn anrhydeddus. Ei gipio oddiarnaf trwy act noeth o allu, fe ddichon; a'm hysgytian i ac yntau i uffern, fe all wneyd hyny; ond gwnaed y naill neu'r llall, mi gâf ymffrostio byth yn fy ystryw a'm malais yn erbyn gogoniant Duw. Eithr am waredu dyn yn anrhydeddus, nid all ef byth. Mae dyn yn droseddwr fel finnau; ac y mae cyfiawnder, gorseddfainc, ïe, holl brïodoliaethau Duw, yn sefyll rhyngddo â gwaredigaeth. Dyma sail a nerth fy ymherodraeth i; ac fe saif fy llywodraeth, gan hyny, nes y rhydd gorsedd Duw ei hawl i fyny. "A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn? neu a waredir y rhai a

garcherir yn gyfiawn?" Na wneir byth. "I mi y rhoddwyd hwynt;" paham yr wyt ti, a aned yn Methlehem, yn aflonyddu ar fy ymherodraeth i? Os wyt ti am ryw lywodraeth, rhaid i ti ei dal danaf fi; syrthia i lawr i dderbyn y commissiwn; ond am waredu, ni wnei di byth. Gwir a ddywedi am y modd y daethant i'th feddiant, medd Mab Duw. Am hyny ni ddygaf fi mo honynt drwy drais, ac ni dderbyniaf mo honynt fel rhôdd. Yr wyf am dy ddinystrio drwy ffordd arall. "Yn awr mae barn y byd hwn; yn awr y bwrir allan dywysog y byd hwn." Nid drwy allu eu gwaredir, ond trwy farn; trwy orchwyliaeth a ä dan wraidd holl awdurdod y diafol, a dry ei ddichellion a'i ystryw yn siomedigaeth a chynddaredd, ac a wna holl brïodoliaethau Duw yn ddysglaer yn ei gwymp. Wele yr Iesu yn offrymu ei hun, yn gwneuthur iawn; a thrwy y farwolaeth yr hon yr oedd Satan ei hun yn cynllwyn am dani, efe a ddinystriodd yr hwn oedd â nerth marwōlaeth ganddo, ac felly a gafodd ffordd gyfreithlawn i'w gwaredu hwynt.

O ryfedd angeu y groes! yma y caed iawn i Ofynwr, dinystr i ormeswr, a rhyddhâd i garcharwr. Yma y bu dybenu camwedd, selio pechodau, gwneuthur cymmod dros anwiredd, a dwyn cyfiawnder tragywyddol; yma y condemniwyd pechod yn y cnawd. "Gan yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau, efe a'u harddangosodd hwy ar gyhoedd, gan ymorfoleddu arnynt arni hi;" ac fel hyn wele Satan a'i ystryw wedi dyrysu. Beth sydd gan Fab Duw i bechadur trwy y cwbl? Y mae maddeuant, cymmod, cyfiawnhâd, sancteiddiad, rhyddid i fyned i mewn i'r cysegr, ac etifeddiaeth dragywyddol, i ni yn yspail y fuddugoliaeth. Diolchwn am ysgar ein tynged ni oddiwrth dynged y diafol, a throi ei ddinystr ef yn iachawdwriaeth i ni!

III. Mae yr orchwyliaeth ddyblyg hon yn cael ei chario ymlaen eto o fewn y pechadur *yn nghymhwysiad yr iachawdwriaeth gan yr Ysbryd Glân.*

Mae mynwes yr edifeiriol a'r crediniol bellach yn faes brwydr: dinystrio a chadw, a dinystrio er cadw, yw y cyfan. Mae y byd, y cnawd, a'r diâfol, y rhai a orchfygwyd drosto gan Grist, i'w gorchfygu ynddo ef a thrwyddo ef eto.

1. Mae yr orchwyliaeth hon yn dechreu *yn a thrwy undeb y pechadur â Christ.*

Yn a thrwy Grist y mae'r saint yn fwy na choncwerwyr. Mae Efe wedi gorchfygu y gelynion yn eu natur fel eu cynnrychiolwr, a chyda eu hachos, ac yn gwneyd y truan yn un âg ef ei hun yn ei fuddugoliaeth, ac yn ei ddwyn i hawl o lwyr oruchafiaeth yn ei berson ei hun ar bob gelyn. Yn Nghrist, fy enaid, y cefaist dy gyfiawnhâu. Beth oedd hyny ond bywyd i ti a dinystr i bob gelyn? Pa faint bynag yw nerth dy elynion ysbrydol, nid oes ganddynt ddim hawl arnat ti. O'r blaen yr oedd ganddynt hawl y gallasent ei dangos mewn ysgrifen-law yn dy erbyn. Ond yn Nghrist, nid oes dim damnedigaeth, ac am hyny nid oes gan un gelyn ddim hawl arnat. Yn wyneb eu hymosodiadau a'u hedliw-iadau, dangos di y groes iddynt; a chânt hwy ddinystr, a thithau fyw. "I Dduw y byddo'r diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth," buddugoliaeth ar uffern, angeu, a grym pechod, "trwy ein Harglwydd Iesu Grist." Yn Nghrist y cefaist dy aileni; a pha beth oedd hyny ond dy gadw di byth, ac yn yr un weithred dy ddwyn o feddiant Satan, dinystrio arglwyddiaeth pechod ar dy galon, a dy wneyd yn orchfygwr ar y byd? Fel y mae yr egwyddor-ion a dderbyniwyd yn yr ailenedigaeth yn cynnyddu, mae y cnawd yn cael ei ddinystrio, a bywyd yr ysbryd yn cryfhâu; goleuni yn dinystrio tywyllwch, cariad yn lladd yr elyniaeth, syniadau daearol yn cael eu llyncu trwy gynnydd syniadau ysbrydol ac ymlyniad y serchiadau wrth bethau Duw, yr hyn sydd yn fywyd a thangnefedd. Y mae credinwyr i'w cyfrif eu hunain yn feirw i bechod. Pa fodd y maent felly yn feirw? "Oni wyddoch chwi, am gynifer o honom ag a fedyddiwydd i Grist Iesu, ein bedyddio ni i'w farwolaeth ef?" Ein hundeb â Christ yn ei farwolaeth a ddangosir yn ein bedydd. "Efe a fu farw unwaith i bechod," a buom ninnau feirw gyda Christ, ac yn hyny y cawsom ein cyfiawnhâu oddiwrth bechod. Beth yw y canlyniad? Dirymu, dinystrio corff pechod. Pa fodd y try y cyfan allan i chwi? Byw gyda Christ; byw i Dduw yn Nghrist Iesu yr Arglwydd; rhodio mewn newydd-deb buchedd (Rhuf. vi. 1—11).

2. Mae yr orchwyliaeth hon yn cael ei dwyn ymlaen yn ol nerth Crist *drwy amcanion ac ymdrech y cristion ei hunan.*

Mae y cristion wedi ei ddwyn trwodd o gyflwr natur i ystâd o ras yn debyg i Israel ar eu dyfodiad o'r Aipht i Ganaan. Dyna hwynt mewn cyflwr rhydd, prynedig, ac yn ngwlad yr addewid;

y tir a dyngwyd wrth eu tadau, a fesurodd Duw i'r deuddeg llwyth yn ol ei lwybrau tragywyddol ei hunan, y tir a fendigodd Moses o ben Pisgah, ac y dŷg Josuah hwy yn ddïogel i'w gyffiniau. Ond, er hyn i gyd, mae perchenogaeth y cenedloedd o'r tir hwn yn peri nas gall Israel ei feddiannu mewn esmwythder. "Daethom i'r tir lle yr anfonaist ni," medd yr yspïwyr wrth Moses; "ac yn ddïau llifeirio y mae o laeth a mêl; a dyma ei ffrwyth ef. Ond y mae'r bobl sydd yn trigo yn y tir yn gryfion, a'r dinasoedd yn gaerog ac yn fawrion iawn; a gwelsom yno feibion Anac." Nid oes gŵys i'w chael ond a ennillir â'r cleddyf ac â'r bwa; rhaid i bob llànerch fod yn yspail buddugoliaeth. Mae meddiant, rhyddid, a dïogelwch y bobl yn gynnwysedig mewn dinystrio; nid oes ganddynt ddim i'w wneyd ond dinystrio a byw, neu gymeryd eu dinystrio allan o'r tir. Felly y mae am feddiant y cristion o'r wlad dda sydd o'i flaen. "Yr ysbryd yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu!" pa bethau mawrion sydd yn gynnwysedig yn hyn! dyna feddiannu yr "etifeddiaeth anllygredig, dihalogedig, a diddiflanedig, sydd yn nghadw yn y nefoedd" i saint y ddaear. Yn ei undeb â Christ, mae y cristion wedi dyfod eisoes i hawl o'r etifeddiaeth; y mae yn sangu ei chyffiniau yn ei ystâd o ras; yn profi o'i grawnsypiau yn mlaenffrwyth yr Ysbryd. Yr heddwch, y rhyddid, y llawenydd gogoneddus hwnw a brofaist ti, fy enaid; dyna ffrwyth y wlad dda. Ond rhaid ei chymeryd hi drwy drais. Mae gelynion o fewn ac o faes i'w gorchfygu; rhaid gwrthsefyll y temtasiynau o bob cŵr a ymesyd ar yr enaid; pob tueddiad llygredig o'i fewn, meddyliau ofer, serchiadau afreolaidd, hen *habits* drwg: rhaid ymladd â hwy, ac ennill buddugoliaeth arnynt. Y mae rhai wedi cael y fath brofiad o rym y drwg bethau hyn yn ngoleuni argyhoeddiad, ac mewn ymladdfa cydwybod â'r tueddiadau, nes yr oeddynt yn digaloni, yn rhoi i fyny ymgais am Ganaan, ac yn marw yn yr anialwch.

Broffeswr, crêd hyn: nid oes dim llai nag ymladd am y bywyd yn y chwareu. Dyna yr hen ddifrawder at Dduw yn nyledswyddau a phethau crefydd—y ddeddf arall yn dy aelodau sydd yn gwrthryfela yn erbyn deddf dy feddwl; fe wna ysgar rhyngot â Duw byth os llwydda; mae yn rhaid ei ddinystrio trwy gariad yr Ysbryd. Y chwant yna sydd yn denu ac yn llithio,—rhaid ei ddinystrio, ac onidê efe a esgor ar bechod, a hyny

drachefn a thrachefn, nes y cymmodo ei hun â'r gydwybod, ac y gwna ddyfetha pob tynerwch o'r fynwes, nes y byddo mewn dideimladrwydd yn dal pob gorchwyliaeth o eiddo Duw; yr oll sydd dyner mewn trugaredd, a'r oll sydd ofnadwy mewn barn. Gwna, broffeswr! os na byddi yn ymdrechu am dy fywyd, fe wna y chwant yn ddystaw gadarn wreiddio yn dy feddwl nes dwyn ffrwyth mewn marwolaeth. Dyma sail yr annogaethau i wyliadwriaeth calon, marweiddiad pechod, a phob ymdrech crefyddol: "Anwylyd, yr wyf yn attolwg i chwi megys dyeithriaid a phererinion, ymgedwch oddiwrth chwantau cnawdol, y rhai sydd yn rhyfela yn erbyn yr enaid." "Os byw yr ydych yn ol y cnawd, meirw fyddwch; eithr os ydych yn marweiddio gweithredoedd y corff trwy yr Ysbryd, byw fyddwch." "Ymdrechwch am fyned i mewn trwy y porth cyfyng; canys llawer, meddaf i chwi, a geisiant fyned i mewn, ac nis gallant."

Ond mi a fynwn eich cysuro yn gystal a'ch cyffroi. Cofiwch nad yw y gelynion yr ydych i ymladd â hwy ond rhai a orchfygwyd eisoes. Mae eich Tywysog mawr yn eich natur a chyda eich achos wedi eu darostwng. Ac wedi iddo eu concwerio drosoch, mae yn barod eto i'w concwerio ynoch. Mewn gwirionedd, nid yw dy ymdrech di, gristion, ond parhâd o'i ymdrech Ef. Er ei fod wedi gorphwys yn bersonol, mae yn ymdrech, yn ymladd, ac yn gorchfygu yn ei bobl. Mae y cristion i gyflawni yr hyn sydd yn ol o gystuddiau Crist yn ei gnawd; mae bywyd Iesu yn y nefoedd i'w egluro yn marwol gnawd credadyn ar y ddaear (Col. i. 24; 2 Cor. iv. 11). Megys mai dyoddefiadau personol Crist drosom yw ein bywyd, felly ei ymdrech a'i ddyoddefiadau ynom sydd i ni yn foddion byw. Er i lafur a phoen ddyfod i mewn yn rhan o ddinystr y pechadur am ei ddrwg, y maent yn llaw Crist wedi troi yn ddinystr y cnawd fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig. Beth yw yr orchwyliaeth anghenrheidiol tuag at fyned i mewn i'r bywyd? Tòri ymaith y llaw neu'r troed, neu fwrw y llygad ymaith, os bydd y naill neu'r llall yn ein rhwystro (Marc ix. 43—47). Nid yw yr holl ymladdfa flin yma sydd yn dy fynwes di, gristion ieuanc, yr holl ofni, y dagrau, y gwyliadwriaethau, a'r gweddïau, ddim ond gwewyr esgor a ddybena mewn ffurfio Crist yn nhymher dy ysbryd; dyoddef yn y cnawd i beidio â phechod; marweiddiad yr Arglwydd Iesu fel yr eglurer hefyd fywyd Iesu yn dy gorff

di; hau mewn dagrau i fedi mewn gorfoledd: dinystrio y cnawd fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig.

3. Mae yr orchwyliaeth ddyblyg hon yn cael ei dwyn ymlaen gan Grist *trwy y gair a'r ordinhadau.*

Fel y mae gweinidogaeth yr efengyl yn arogl bywyd i fywyd i'r rhai cadwedig, ac yn arogl marwolaeth i farwolaeth i'r rhai colledig, felly y mae hefyd i'r ddau ddyn o fewn; mae pob blwch a dòrir yn arogli marwolaeth i'r cnawd a bywyd i'r ysbryd. Yn ol y gwahanol ddarluniadau, mae y ddau *brocess* yn myned o hyd ymlaen: ar un ochr, argyhoeddi, ceryddu, barnu, saethau yn glynu, tân yn ysu, a gordd yn dryllio; ac ar yr ochr arall adnewyddu, cynghori, dyddanu, a bywhâu. Mae y naill air yn archolli i'r galon, a'r llall yn tywallt olew a gwîn, maddeuant a heddwch, i'r archollion; a'r ddau yn cydweithio i ddinystrio y cnawd fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig. "Canys bywiol yw gair Duw, a nerthol, a llymach nag un cleddyf daufiniog, ac yn cyrhaeddyd trwodd hyd wahaniad yr enaid a'r ysbryd, a'r cymmalau a'r mêr, ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon." Pan fyddo Mab Duw fel hyn yn rhoddi bywyd a nerth yn y gair, ac yn dwyn dirgelion y galon i'r golwg, ac yn gwneyd barn arnynt yn y gydwybod ei hunan, y mae yno ladd. Oes! ond lladd i gadw yn fyw ydyw; dinystrio y cnawd fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig. Erbyn yr ail edrycho yr enaid gwir argyhoeddedig, ni bydd yno ddim wedi darfod am dano ond ei hen adfeiliad, ei serch i'r byd, ei galedwch, trythyllwch, a balchder: y cnawd yn ddinystriedig, a'r ysbryd yn gadwedig. O fel y mae trem ar ogoniant gwrthddrychau yr efengyl, prawf o ddaioni ei bendithion, golwg ar ei Christ a gogoniant Duw ynddo, a'r nefoedd y mae yn ei dadguddio, yn darostwng llygredigaeth ac yn adnewyddu y galon! Beth oedd wedi rhoi y cyfan dan farweiddiad yn nghalon Paul? Arglwydd y gogoniant oedd wedi ymddangos iddo. "Ië, yn ddiammheu," meddai; "yr wyf yn cyfrif pob peth yn golled o herwydd ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd." Bobl ieuainc, os ydych yn teimlo y cnawd yn fyw, a'r ysbryd yn marweiddio mewn crefydd, ymarferwch yn adnewyddol a beunyddiol â'r gair; darllenwch ef yn ddefosiynol, darllenwch ef yn fynych, ac yn ymddibynol ar yr Ysbryd Glân.

4. Mae yr orchwyliaeth ddwbl yma yn cael ei chyflawni *trwy*

*geryddon dirgel, a cheryddon eglwysig, ac yn nhrefn rhagluniaeth Duw.*

Y mae pechod yn rhai o'i chwantau yn gwreiddio mor ddwfn yn nghalon y cristion, ac yntau yn syrthio i'r fath adfeiliad a chaledwch, fel nad yw moddion gras ddim yn effeithiol i'w adferu. Y gair a'r ordinhadau yw y moddion ordeiniedig i ddychwelyd ac iachâu; eithr os bydd y galon wedi myned mor galed fel ag y bydd raid cael rhyw foddion mwy na chyffredin i'w hadferu, Duw a ŵyr a adferir y dyn hwnw byth. Nid oes dim dadl nad oedd Dafydd yn ymarfer â moddion gras wedi ei gwymp pechadurus, ond nid oedd dim yn ei adnewyddu i edifeirwch; ac am hyny wele benarglwyddiaeth yn myned gam ymhellach, a thrwy gerydd Nathan, angeu y plentyn, ac afonydd o ofidiau, yn dinystrio y cnawd ac yn cadw enaid Dafydd. "Pe iawn farnem ni ein hunain, ni'n bernid; eithr pan ein bernir, y'n ceryddir gan yr Arglwydd, fel na'n damnier gyda'r byd." Dyna y proffeswr wedi myned yn rhy swrth i'w farnu ei hunan; mae ynddo feïau mawrion heb edifarhâu am danynt, cyfeiliornadau yn yr ysbryd, chwantau y galon yn cael byw, ac yntau yn gweddïo a chymuno fel pe na byddai dim o'i le. Ni wna hyn mo'r tro, medd Ysbryd Duw; rhaid dinystrio yr enaid acw neu ddinystrio y cnawd; un o'r ddau sydd i gael ei fywyd. Mae ei ddamnio gyda'r byd yn anghyson â'r cyfammod y mae efe dano, canys "nid oes yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu;" ac y mae ei adael yn yr ansawdd lygredig acw mor anghyson. Beth a wneir? Fe gymer Duw y farn i'w law ei hunan, ac a eilw ar y nefoedd a'r ddaear i farnu y truan crwydredig. Nefoedd, attal dy gysuron. Eglwys, gweinydda dy ddysgyblaeth. Wendid, llesgedd, angeu, deuwch ymlaen! Bydd y ceryddon allanol yn cario argyhoeddiad i'r gydwybod yn dufewnol, fel y dywedai y wraig o Sarephtah wrth Elïas, "A ddaethost ti ataf i goffâu fy anwiredd, ac i ladd fy mab?" Digon caled a fydd rhwymo â gefynau afiechyd, ond nid dyna'r cwbl. "Yna efe a ddengys iddynt hwy eu gwaith a'u hanwireddau, amlhâu o honynt." Gwenwyn saethau y Goruchaf yn yfed yr ysbryd, Duw yn ysgrifenu pethau chwerwon yn erbyn yr enaid, ac yn gwneuthur iddo feddiannu camweddau ei ieuenctyd: y mae trwy hyn yn dïal am ei ddychymygion; yn dïal trwy bethau ofnadwy. Ond y canlyniad i'r cystuddiedig dychweledig a

fydd dinystrio y cnawd fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig. Pan y byddo yr enaid yn cael ei geryddu gan Dduw, gelwir arno i beidio ymollwng. Wel, onid ydyw y fflangellu a'r argyhoeddi drwy hyny yn ofnadwy? Ydyw; ond mae y derbyn gan Dduw, y byw, a'r cyfranogi o'i sancteiddrwydd ef, yn felus a dedwydd (Heb. xii. 5—10). "Trwy hyn y glanhëir anwiredd Jacob; a dyma yr holl ffrwyth, tynu ymaith ei bechod" (Esa. xxvii. 9). "Cleisiau briw a lanhâ ddrwg; felly y gwna dyrnodiau gelloedd y bol," medd y gŵr doeth. Peiriau yw y triniaethau hyn i buro yr aur oddiwrth ei sothach; tân i ddifa y gwair a'r sofl, fel y byddo y dyn ei hun yn gadwedig, er trwy dân.

Gwnawn ddau sylw cymhwysiadol er terfynu ein hymdriniaeth.

1. *Bod yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu ydyw y peth mwyaf ei bwys i ddyn.* Y dydd mawr a fydd hwnw; y dydd y bydd yr Arglwydd ei hun yn disgyn o'r nef gyda bloedd, â llef yr archangel, ac âg udgorn Duw, ac yr ymddengys â thân fflamllyd; ac wedi dyfod yn ei ogoniant, "yna yr eistedd efe ar orseddfainc ei ogoniant." I ba beth? I wneuthur barn; i argyhoeddi, a llwyr argyhoeddi. Bydd goleuni yn treiddio trwot y dydd hwnw; gwirionedd fel awyr o'th amgylch, a dirgelion dy galon heb gêl, heb allu o honot esgusodi, gwadu, na bychanu dy feïau; byddi yn noeth i'r byd, i'r Barnwr, ac i ti dy hun. Enaid, a fyddi di gadwedig y diwrnod hwnw? Y diwrnod y gesyd y Barnwr y defaid ar ei ddeheulaw, a fyddi di yn eu mysg hwy? Y dydd y bydd y ddwy dynged dragywyddol yn cael eu cyhoeddi, o dan ba un y byddi di? Y dydd y bydd Crist a'i bobl yn ymddangos mewn gogoniant, pa ddelw a fydd arnat ti? Y dydd y bydd Efe yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu, a fydd rhyw un yn rhyfeddu ei ras, rhinwedd ei waed, ei allu a'i ffyddlondeb, ynot ti? Pa un ai wedi dy gadw ai wedi dy golli y'th geir yn y dydd hwnw? Dyma'r farn dragywyddol. Pa beth bynag a fyddi di yn y dydd hwnw, dyna a fyddi di byth. "Genyf fi bychan iawn yw fy marnu genych chwi, neu gan farn dyn," ebe Paul. Paham? "Yr Arglwydd yw yr hwn sydd yn fy marnu." Y farn ddaw allan o'i enau ef a saif byth. Ei farn ef a benderfyna ein cyflwr yn ddigyfnewid. Ai tybed, medd rhywun, y bydd fy ysbryd yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu? Minnau a ofynaf i ti yn ôl, A wyt ti yn gweddïo yn dy ddydd hwn am drugaredd gan yr Arglwydd yn y dydd

hwnw? A wyt ti yn rhoi dy ysbryd ato ef i'w gadw erbyn y dydd hwnw? A yw dy galon yn cael ei hadnewyddu, fel âg i beri i ti fod mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb yn dysgwyl ac yn brysio at ddyfodiad dydd Duw? I'r rhai sydd yn dysgwyl am ac yn caru ei ymddangosiad ef, y rhydd efe goron cyfiawnder, ac yr ymddengys er iachawdwriaeth yn y dydd hwnw. A yw ffydd yn ei ddyfodiad yn dy godi i barotôi, yn gwneuthur i ti drwsio hen lampau cynneddfau yr enaid, a cheisio olew gwirionedd, a hwnw wedi ei oleuo gan yr Ysbryd Glân? Pa fodd bynag, y mae yr Arglwydd yn dyfod; ac nid oes genyt ddim amser i'w golli tuag at ymbarotôi. Mae y cam nesaf i'r farn yn dy ymyl,—marw; a lle y gedy einioes di y'th gaiff angeu, ac fel y gedy angeu di y'th gaiff y farn.

2. *Dysgwyliwn i grefydd dda fod yn grefydd boenus yn y byd hwn.* "Trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw." Bobl, y grefydd sydd yn eich gadael fel y bluen i nofio gyda phob awel, i gymeryd llun ac agwedd pob llestr fel dwfr, i wneyd a pheidio gwneyd yn ol archwaeth a mympwy, cewch y grefydd hòno yn esmwyth i'r cnawd, ond gwybyddwch mai ffordd esmwyth i uffern a fydd. Rhaid ymdrechu er mwyn ennill y gamp; rhaid ymladd mewn trefn i gael y fuddugoliaeth, ac arwain bywyd o farweiddiad i'r byd, i'r cnawd, ac i ni ein hunain, mewn trefn i fyned i mewn i'r bywyd. Mae gwir grefydd â'i sail mewn aberth. Aberth Crist sydd wedi ei chyfreithloni, a hunan-aberthiad sydd yn ei phrofi. Trwy boen a gofid y ganwyd hi yn yr enaid yn y dechre; ac am fod ei chynnydd yn cynnwys dinystr y pethau gwrthwyneb iddi yn y galon, rhaid y bydd yno ymdrech a phoen. Simon o Cyrene yn dwyn y groes yw y cristion; gŵr gofidus a chynnefin â dolur. Mae Satan a'r byd ganddo i'w gwrthwynebu; a phe bae y ddau yn gadael y ddaear i'r cristion, byddai y cnawd wedi hyny i'w groeshoelio ganddo; byddai raid iddo ddolefain, "Pwy a'm gwared i oddiwrth gorff y farwolaeth hon?" Nis gellwch, yn wir, farweiddio yr aelodau sydd ar y ddaear, croeshoelio y cnawd, a dinystrio corff pechod, heb boen. Os nad y chwi ydyw yr hen ddyn, y drwg sydd yn trigo ynoch ydyw. Nid y chwi yw eich aelodau, ond eich aelodau chwi ydynt er hyny; ac nid ellwch eu tòri a'u tynu ymaith heb boen. Nid heb deimlo a briwo y tynir y llygad dê, ac y tòrir y llaw ddê. Os

mynech fod yn wir ddysgyblion yr Iesu, mae yn rhaid i chwi fel eich Meistr fyned ymlaen trwy ymdrech meddwl, a llefain cryf a dagrau. I ddyn o gyflwr, o egwyddorion, ac o amcanion cristion, rhaid i einioes fod yn ymladdfa; ymladdfa gyda'i holl bwys a'i holl beryglon, ei holl ymdrech, a'i phryder, ei holl ystyfnigrwydd, a'i holl aethau gwaedlyd.

Os felly y mae crefydd, meddwch, dyna olwg ddu arni. Nid mor ddu i'r rhai sydd yn profi mai da iddynt gael eu cystuddio—y rhai y mae gorthrymder yn wystl eu mabwysiad—y rhai sydd yn profi, er llygru y dyn oddiallan, fod y dyn oddimewn yn cael ei adnewyddu o ddydd i ddydd.Ië! nid mor ddu i'r rhai sydd yn profi, fel y mae cystuddiau Crist yn amlhâu, fod eu dyddanwch trwy Grist yn amlhâu hefyd—y rhai sydd yn cael eu byr ysgafn gystudd yn odidog ragorol yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant iddynt—y rhai a allant ganu,

"Wna'r dyfroedd ond fy ngwneyd yn lân,
'Cha'i ond fy mhuro gan y tân,
Am hyn pob peth yn dda."

Os poenus yw crefydd yr awr hon, hi a dâl yn dda yn y diwedd. Gadewch i'r cnawd boeni gan y caiff yr ysbryd ei gadw, a'i gadw yn nydd yr Arglwydd Iesu, pan y bydd y ddaear a'r nef yn ffoi ymaith.

## PREGETH V.

### YR ORCHWYLIAETH ANEFFEITHIOL.

EZECIEL xxiv. 13: "Yn dy aflendid y mae ysgelerder; o herwydd glanhâu o honof di, ac nid wyt lân, o'th aflendid ni'th lanhëir mwy, hyd oni pharwyf i'm llid orphwys arnat."

MAE y geiriau yn wir ddarlun o ansawdd y genedl Iuddewig gerbron Duw, ac o'i orchwyliaethau yntau tuag atynt, o amser eu neillduad hyd eu cwymp. Yn mhennod xvi. o'r llyfr hwn, mae y prophwyd yn dangos eu bod yn llygredig ac aflan yn ngolwg Duw o'u dechreuad: eu tadau wedi soddi mor ddwfn i eilunaddoliaeth a'i frynti â'r Amoriaid a'r Hethiaid, a'u plant hwy yn yr Aipht mewn ystâd mor ddiymgeledd, a'u haflendid moesol mor adgas, fel y cymherir hwy i blentyn wedi ei fwrw ar wyneb y maes i ffieiddio ei einioes ar y dydd ei ganwyd. Pan yn y cyflwr hwn, tramwyodd Duw heibio iddynt yn ei ras. Gwaredodd hwy o'r Aipht â llaw gref, amddiffynodd hwy yn wyrthiol yn yr anialwch, dŷg hwy i gyfammod âg ef ei hun o dan Sinai, a gwnaeth hwy yn eglwys a gwladwriaeth neillduol ar wahân oddiwrth genedloedd eraill yn ngwlad Canaan. Trwy y gorchwyliaethau pwysig hyn dywedir iddo lanhâu eu gwaed; eu gwaredu oddiwrth eilunaddoliaeth a'i holl aflendid. Gosododd warth ar eilunod y cenedloedd yn eu golwg, dangosodd mai efe yn unig oedd Dduw, ac mai pur a chyfiawn yw ei gymeriad; ac yr oedd holl osodiadau ac addoliad Duw o duedd i wneyd gwahaniaeth hollol rhyngddynt â'r paganiaid, i wrthweithio y demtasiwn i holl lygredigaethau eu hamseroedd, ac i gadw Judah yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd.

Ond er eu glanhâu fel hyn, y gwir am y rhan fwyaf o honynt trwy yr oesoedd oedd, nid oeddynt lân. Nid oedd cyfreithiau Duw ddim wedi eu rhoi o'u mewn hwy, ac am hyny ni thrigasant hwy yn ei gyfammod ef, ac y mae yntau yma yn bygwth eu gadael a'u hesgeuluso hwythau. Er eu ceryddu yn llym, a'u gwaredu yn wyrthiol, codi prophwydi a breninoedd drwy yr oesoedd i'w dychwelyd at Dduw eu tadau, ac i adnewyddu ei gyfammod â hwynt, eto byth o'u cwymp nodedig dan Sinai hyd eu cwymp mwy nodedig yn eu gwrthodiad o Grist, ni a'u cawn o hyd yn ymadael â Duw, yn ymlygru beunydd gydag eilunaddoliaeth, ac mor fryntion eu harferion â'r cenedloedd nad adwaenent Dduw.

Am hyny dywedir yma fod "ysgelerder" yn eu haflendid; hyny yw ystyfnigrwydd a chaledwch ag oedd yn gwrthsefyll moddion eu glanhâd. "Nid at bobl o iaith ddyeithr ac o dafodiaith galed y'th anfonir di, ond at dŷ Israel; oni wrandawsai y rhai hyny arnat, pe y'th anfonaswn atynt?" medd yr Arglwydd wrth Ezeciel; "eto tŷ Israel ni fynant wrando arnat ti, canys ni fynant wrando arnaf fi; oblegid talgryfion a chaledgalon ydynt hwy, holl dŷ Israel." "O chwi rai gwargaled, a dienwaededig o galon ac o glustiau," medd Stephan; "yr ydych chwi yn wastad yn gwrthwynebu yr Ysbryd Glân; megys eich tadau felly chwithau." Fel hyn yr oedd ysgelerder, caledwch ac ystyfnigrwydd, yn eu haflendid hwy, nad oedd y cenedloedd paganaidd wedi cael mantais i ddangos ei gyffelyb. Yr oedd y rhai hyny wedi eu gollwng i fyned yn eu ffordd eu hunain; ond yr oedd yr Ysbryd Glân drwy ei air a'i ragluniaethau yn ymryson âg Israel drwy yr oesoedd, a hwythau yn wastad, o dad i fab, yn ei wrthwynebu Ef. Dyna ysgelerder eu bai. Ac yma y maent fel yn cael y fuddugoliaeth arno i'w dinystr: "Ni'th lanhëir mwy." Felly y dybenodd eu cyndyn ymlyniad yn eu pechodau yn eu caethgludiad i Babilon. Wedi i Dduw eu tadau hir anfon atynt trwy law ei genadau, gan foregodi ac anfon, a hwythau yn gwatwar ei genadon, tremygu ei eiriau, a gwawdio ei brophwydi, o'r diwedd y cododd digofaint yr Arglwydd yn eu herbyn fel nad oedd iachâd. Ac yn gyffelyb drachefn y darfu iddynt barhâu yn eu gwrthodiad ystyfnig o Grist a'r efengyl nes y daeth digofaint Duw arnynt hyd yr eithaf.

Nid yw yr ymadrodd, "Ni'th lanhëir mwy, hyd oni pharwyf i'm llid orphwys arnat," ddim yn awgrymu y glanhëid hwy wedi hyny

ar ol a thrwy dywallt y llid arnat. Ond arwydda mai tywallt y llid sydd yn dilyn rhoddi i fyny lanhâu. Os na fydd pechadur yn lân cyn i gosb ei aflendid syrthio arno, ni lanhëir mohono byth. Yr oedd dyweyd na bu i Michal, merch Saul, etifedd hyd ddydd ei marwolaeth, gystal â dyweyd na bu iddi yr un byth. Ac fel hyn y mae dyweyd na lanhëir pechadur mwy nes bydd llid Duw yn gorphwys arno yr un peth â dyweyd na lanhëir mohono yn dragywydd.

Trwy help Duw, ni a sylwn ar y geiriau yma yn eu perthynas â ni ein hunain.

I. Aflendid pechadur.

Mae dyn fel pechadur yn aflan. Mae yn haws ganddo ef, fe allai, gydnabod ei euogrwydd na'i aflendid; ond y mae pechod ac aflendid yn wastad efo eu gilydd, megys mai yr un peth yw calon lân ac ysbryd uniawn. Cymaint o anuniondeb ac o ŵyrni oddiwrth ddeddf sanctaidd Duw sydd yn ysbryd y dyn, y mae hyny yn aflendid yn ngolwg Duw. A thra y byddo unrhyw deimlad o bechod yn aros yn y meddwl, bydd teimlad o'i aflendid, gyda chywilydd o'i herwydd, yno hefyd. Yr aflendid mwyaf yw pechod.

1. Hwn yw *yr unig aflendid yn ngolwg Duw;* yr unig beth sydd yn wrthwyneb i'w natur. Rhywbeth yn cynnyrchu teimlad o wrthwyneb a dygasedd yn meddwl dyn yw aflendid naturiol; ond y mae pechod yn wrthwyneb i sancteiddrwydd natur Duw. Nid yw y ci na'r hwch yn yr olwg ffieiddiaf arnynt—nid yw cnawd mewn tlodi, budreddi, ac archollion, nes ei wneyd yn alarllyd i'w gydgrëadur, ddim yn wrthwyneb i burdeb Duw; ond y mae enaid dan lywodraeth egwyddorion drwg, gwŷniau dieflig, a chwantau cnawdol, mor adgas yn ngolwg Duw âg yw y rhai'n i ddynion. Yr oedd cornwydydd Lazarus yn ffiaidd yn ngolwg y gŵr goludog; ond ei falchder a'i gnawd nwyfus ef oedd yn ffiaidd yn ngolwg Duw. Mae y rhai hyn fel gwelïau crawnllyd, ac archollion wedi pydru, yn drygsawru yn ei ffroenau yntau. Enaid marw mewn camweddau a phechodau sydd yn gelanedd adgas yn ei olwg. Y mae Efe yn troi draw rhag edrych ar ddrwg, ac yn chwydu y pechadur allan o'i enau. "Yr Arglwydd a ffieiddia y gŵr gwaedlyd a'r twyllodrus." "Na wnewch, attolwg, y ffieiddbeth hyn, yr hwn sydd gâs genyf fi," medd efe wrth Iuddewon pechadurus. "O'r galon," medd Mab Duw, "y mae meddyliau drwg yn dyfod

allan, lladdiadau, tòr prïodasau, godinebau, lladradau, camdystiolaethau, cablau: dyma y pethau sydd yn halogi dyn." Y mae yr hyn bethau mor wrthwyneb i sancteiddrwydd natur Duw âg yw y peth ffieiddiaf i ddynion. Am mai natur Duw yw y natur ardderchocaf, ac mai sancteiddrwydd yw anrhydedd a phrydferthwch mwyaf y natur hòno, pechod yw yr aflendid mwyaf gwirioneddol ac adgas o bob aflendid. Dyma yw dy aflendid di, bechadur: anghydffurfiad dy natur a'th fywyd â phurdeb natur neu sancteiddrwydd Duw. Dal di dy hunan yn ymyl Duw: Duw yn ei ddeddf, Duw yn ei Fab, ïe, yr hyn sydd o Dduw yn dy reswm a'th gydwybod di dy hunan; ac ni byddi yn hir cyn gwaeddi, "Y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun." Edrych ar dy feddwl tywyll, dy dueddiadau drwg, dy drachwantau cryfion, a'th wŷniau gwarthus. O mor annhebyg ynddynt ydwyt ti i Dduw! Nid yn unig y mae dy anian di a'i anian yntau yn wahanol, ond yn wrthwyneb; mwy na bod yn annhebyg, y maent yn hollol groes. Sancteiddrwydd yw prydferthwch Duw a'r saint ac angelion, tegwch digymhar y dyn Crist Iesu, ïe, gogoniant mwyaf Duw ei hun. Lleferir am gadarn allu, ac am ddyfnder doethineb, ond am *brydferthwch* sancteiddrwydd. I'w sancteiddrwydd y mae Duw yn tyngu. Mae yr eglwys orfoleddus a'r filwriaethus, y cerubiaid fry a'r pedwar anifail obry, yn cyduno i foliannu wrth goffadwriaeth ei sancteiddrwydd Ef; ni ddywedir, Cadarn, Cadarn, ond Sanct, Sanct, Sanct yw Arglwydd y lluoedd! Felly, os natur Duw yw y natur brydferthaf, ac os sancteiddrwydd yw tegwch mwyaf y natur hòno, yna llygredigaeth pechod yw y brynti mwyaf. Tydi sydd yn llawn o beth hollol groes i burdeb y Goruchaf,—mae yn rhaid dy fod yn aflan iawn.

2. *Aflendid yr enaid yw pechod.* Y mae aflendid yn ychwanegu mewn adgasrwydd yn ol natur y gwrthddrych y byddo arno. Nid ydyw mor adgas i'r golwg yn y domen âg yn y parlwr—ar y gàreg farw âg ar y blodeuyn prydferth. Mae tlysni y blodeuyn yn cynnyrchu hyfrydwch yn y meddwl, fel tlŵs a wnaed i brydferthu crëadigaeth Duw; ac y mae gweled y llysnafedd brwnt ar y fath degwch yn ei wneyd yn fryntach yn fy ngolwg. Y mae anifail aflan yn adgasach eto; ac y mae aflendid ar ddyn yn fwy adgas byth. Ond ysbryd aflan yw y bryntaf yn nghrëadigaeth Duw. Aflendid enaid yw enaid aflendid. Gweled crëadur galluog i fod

yn llawn o sancteiddrwydd Duw yn llawn o beth llwyr groes iddo, yw yr olwg fwyaf adgas yn ngolwg pawb sydd yn gweled yn iawn. Mae efe yma yn wir wedi ei osod "lle nis dylid;" yn nghysegr Duw. Y crëadur lle bu Duw—yr enaid lle trigai cyfiawnder, gwirionedd, a chariad—lle bu y llechau yn nghadw, y Shechinah yn gorphwys, ac arogldarth mawl ac addoliad yn dyrchafu,—hwn yn llawn trais, twyll, anghyfiawnder, a phob drygioni, nes ei fod ef a fu unwaith yn dwyn calon Duw, yn awr yn îs nag uffern yn ei olwg. I ba le yr ewch chwi am ddylni ond at y march a'r mul? i ba le am ffyrnigrwydd a gwenwyn ond at y blaidd, yr arth, a'r wiber? ac i ba le am ffieidd-dra ond at y ci a'r hwch? y naill yn troi at ei chwydiad, a'r llall i'w hymdreiglfa yn y dom. Ond dyna ddarluniad o ddyn. Enaid dyn yn wâg o ddelw foesol Duw,—y mae yr holl fwystfilod megys wedi ymgasglu yno, ac arllwys eu hurtrwydd, eu drygnawsedd, a'u brynti i'w natur, tuag at wneuthur un anghenfil mawr mewn anwybodaeth, gelyniaeth, ac aflendid ynddo ef.

3. *Aflendid ydyw sydd wedi dyfod yn elfen ac ymhyfrydiad y pechadur.* Y mae aflendid yn annyoddefol i'r glân; pe *ffansïai* ef ei hunan yn nghroen, ac, yn wir, yn ngwisg yr aflan, fe chwithai ei holl deimladau; ond y mae yr aflan wedi cymmodi â'i aflendid ei hun. Grym ei aflendid yw yr achos ei fod ef mor foddlawn ynddo ef; a pho gryfaf yw ei gariad at ei aflendid, bryntaf oll ydyw. Pryf y domen sydd wrth ei fodd yno; crëadur aflan ydyw; mae budreddi yn elfen iddo megys pe byddai wedi ei lunio i chwareu ynddo. Dyma fel y mae dyn pechadurus. "Y ffyliaid a ymhyfrydant mewn camwedd." "Y rhai a lawenychant i wneuthur drwg, ac a ymddigrifant yn anwiredd y drygionus." Felly wedi cyflawni pethau rhy fryntion i'w hadrodd, y maent nid yn unig yn eu gwneuthur, ond "yn cydymfoddloni â'r rhai sydd yn eu gwneuthur hwynt." Ymddigrifant yn y bai mewn eraill, lle na ddŵg y cyflawniad o hono ddim mwyniant iddynt hwy eu hunain. O! mae yn rhaid fod pob egwyddor dda wedi ei bwrw o'r meddwl, purdeb wedi ei ddinystrio yn llwyr, a'r galon wedi ei thrwytho mewn halogedigaeth, cyn y gallai crëadur fel dyn ymddigrifo mewn drwg! Tydi sydd yn ymhyfrydu mewn pechod, yr wyt yn rhy aflan i deimlo dy fod felly, ac felly yn byw mewn drygioni heb na chywilydd na phoen, ac, hwyrach, yn ymogoneddu ynddo, pan

y mae pawb glân yn chwitho wrth dy weled: Duw yn troi ei lygaid oddiwrthyt, angelion yn dy ffieiddio, a saint Duw yn cilio oddiwrthyt mewn dychryn. Hyd yn nôd pan gaffo cristion olwg ar lwgr ei natur, y mae efe yn ffoi rhagddo ei hun; y mae *idea* ddrwg yn gwneyd iddo wrido; wedi dywedyd gair o'i le, neu feithrin tymher ddrwg am fynyd, bydd fel yn barod i ddiflanu gan deimlad o'i lygredd. O fel y dyheua efe am y ffynnon! "Golch fi yn llwyr ddwys!" Bechadur, er mor naturiol yw pechod i ti yn awr, pryd y mae pob iawn deimlad wedi ei anhuddo gan rym dy deimlad, eto cofia mai nid dy natur di yw pechod, ond ei gwarth a'i chywilydd; ac fe fydd bod yn ei afael yn boen annhraethol i'th natur pan y delo Duw i'r gydwybod.

II. Natur gorchwyliaeth Duw tuag at yr aflan: "Yn dy aflendid y mae ysgelerder; o herwydd glanhâu o honof di, ac nid ydwyt lân."

Er fod pob pechadur yn aflan, y mae mwy o ysgelerder yn aflendid rhai. Yr ysgelerder yw y grâdd a'r math mwyaf o aflendid. Po gwaethaf y byddo'r bai, a pho llwyraf yr ymroddiad i fyw ynddo, mwyaf oll yw y llygredigaeth. Hwyrach mai dyma yr ysgelerder oedd yn aflendid y rhai hyn: yr oeddynt mewn cysylltiad â'u heilunaddoliaeth yn euog o'r pechodau bryntaf, a'u calonau wedi ymgynefino â hwy; yr enaid yn ei holl dueddiadau yn fyw iddynt ac yn ystyfnig yn ei ymlyniad wrthynt er pob gorchwyliaeth. "Nid wyt lân." Er eu ceryddu yn llym, eu gwaredu yn wyrthiol, eu hysgar oddiwrth eilunaddoliaeth drwy eu cyfammod â Duw a'u sefydliadau crefyddol—er codi breninoedd a phrophwydi i'w diwygio, ac iddo trwy ei Ysbryd adfywio crefydd yn eu mysg o bryd i bryd—eto o'u cwymp nodedig dan Sinai hyd eu cwymp mwy nodedig dan yr efengyl, ymlygrent drwy eu bai: yr oedd ysgelerder yn eu haflendid. Onid oes yma ddrych o honom ni ac o ymddygiadau grasol Duw tuag atom fel cenedl er ys blynyddau? Ac y mae y bygythiad yma a gyflawnwyd arnynt hwy wedi ei ysgrifenu yn rhybudd i ninnau.

"O herwydd glanhâu o honof di."—Mae yn hawdd deall beth yw hyn lle mae y peth yn cael ei effeithio. Mae glanhâu a sancteiddio yn eiriau sydd yn golygu weithiau holl iachawdwriaeth pechadur; ei olchi ydyw ei aileni, ei gyfiawnhâu, a phuro ei gydwybod drwy waed Crist, cyfnewid ysbryd ac ansawdd ei feddwl

drwy nerth yr Ysbryd Glân, a'i godi ef oedd yn fyw mewn pechod i'w farweiddio, ac i berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw, nes ei gael yn ddibechod. Ond nid hyny yw y glanhâu yn y testun, canys dyma y neb a lanhëid eto heb fod yn lân.

Beth gan hyny a gynnwys fod Duw yn glanhâu y rhai nad oeddynt er hyny yn lân?

1. Mae yn cynnwys *fod gan yr Arglwydd drefn i lanhâu pechaduriaid.* Os dywedir fod yr Arglwydd yn gwneuthur pethau nad ydynt yn cael eu cyflawni, ni ddywedir ei fod yn gwneuthur dim ag mae yn anmhosibl ei gyflawni; fe fuasai glanhâu pechadur yn beth anmhosibl oni buasai fod trefn i hyny yn cael ei dadguddio.

Dyma brif hynodrwydd y Bibl. Mae, yn wir, yn cynnwys yr hanesion rhyfeddaf a'r moesau mwyaf dyrchafedig a phur. Ond ei arbenigrwydd a'i arnod neillduol ydyw ei fod yn dadguddio ffordd i adferu pechadur trwy faddeuant pechodau, ac adnewyddiad ei natur, yn ol i ffafr a delw Duw. Iachawdwriaeth trwy gnawdoliaeth ac angeu Crist oedd y peth cyntaf a ddadguddiodd Duw i'r pechadur cyntaf ar y ddaear (Gen. iii.). Crist oedd sylwedd yr addewid i Abraham; ac efe â'i gyfryngdod fel ffordd adferiad pechadur a gedwid o hyd ger bron llygad yr eglwys trwy addewidion, prophwydoliaethau, a chysgodau. A phan ddaeth, ni a wyddom beth oedd ei waith a dyben ei ddyfodiad. Fe ddaeth i wneyd dy iachawdwriaeth di, bechadur, yn unol â holl brïodoliaethau Duw—daeth i gyflawni bwriadau Duw yn nghyfiawnhâd a sancteiddiad ei eglwys—daeth i fod yn iawn er maddeuant—i ddilëu pechod trwy aberthu ei hun—fel y sancteiddiai y bobl drwy ei waed—i berffeithio yn dragywydd—i roddi ei hun dros ei eglwys, fel y sancteiddiai efe hi, a'i glanhâu â'r olchfa ddwfr trwy y gair, a'i gosod yn ogoneddus iddo ei hun yn eglwys heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw, ond fel y byddai yn sanctaidd a difeïus. Dyma reswm a sylfaen yr holl addewidion am lanhâd, yr holl orchymynion a'r cymhelliadau i lanhâd, y gweddïau am dano, gyda'r moddion i'w ddwyn i ben.

Ni buasai dim rhwng Duw â phechadur byth oni buasai bod trefn i'w lanhâu. Dadguddiad y drefn o du Dduw, a ffydd yn y dadguddiad o du y pechadur, ydyw gwreiddyn yr holl addoliad Dwyfol. Hyn a gododd Abel allan i aberthu, a grynhôdd saint y

cynfyd at eu gilydd i alw ar enw yr Arglwydd, a seiliodd y deml yn Jerusalem, ac a gasglodd yr eglwysi Cristionogol ynghyd. Beth yw holl ordinhadau addoliad ond tystiolaeth sefydlog yn yr eglwys fod gan Dduw drefn i ymgeleddu pechadur? Iawn er maddeuant, puro trwy waed, oedd iaith yr aberthau. Yr oedd yr aflan yn cael ei ddwyn yn ol o'i neillduaeth trwy faddeuant a glanhâd yn nhrefn Duw. Dacw efe wedi ei gau o'r gwersyll, yn halogedig, ac yn halogi pob peth o'i gwmpas. Ond wele fôdd i'w ymgeleddu yn nhrefn Duw. "Ymolched, a glân fydd." Felly am ordinhadau y testament newydd yr un modd: bedydd er maddeuant, gwaed wedi ei dywallt er maddeuant, golchi budreddi y cnawd er dangos golchiad yr adenedigaeth. Os yw gair yn rhy fach o sicrwydd gan dy gydwybod, dyma yr Arglwydd yn rhoi i ti arwyddion o drefn i'th ymgeleddu. Cei ymarfer â'r naill ar ddechreu dy oes, ac â'r llall o hyd. Trîn arwyddion bywyd yr enaid yr ydym wrth addoli. Os wyt eto yn aflan, bechadur, y mae Duw yn dangos yn yr holl efengyl fod ganddo drefn i'th lanhâu.

2. Mae Duw yn glanhâu dynion, *trwy ei fod, mewn cysylltiad â'r drefn hon, yn arfer moddion i hyny.*

I bechadur yn y fuchedd hon, y mae pob peth yn foddion ei lanhâd. Nid oes dim yn cyfarfod âg ef fel damweiniau diamcan, dim fel dygwyddiadau cyffredin rhagluniaeth, na dim, ar y dechre, mewn ffordd o farn i'w galedu a'i ddallu i'w ddinystr. Ond y mae'r cwbl yn tarddu o garedigrwydd Duw tuag at y pechadur, ac yn gwneyd i fyny un orchwyliaeth fawr o lanhâd. Dydd gras yw ei dymmor ef: iachawdwriaeth yw tuedd hiramynedd ein Harglwydd tuag ato. Nid arbed hyd ddydd dial i'w ddwyn ef allan yn nydd cynddaredd—nid esgeuluso amseroedd eu hanwybodaeth, a goddef iddynt fyned yn eu ffyrdd eu hunain, fel paganiaid yr oesoedd gynt—nid dyoddef trwy hirymaros lestri digofaint wedi eu cymhwyso i golledigaeth, fel y byddai ei ddigofaint a'i allu yn fwy amlwg yn eu cwymp a'u dinystr yn y pen draw; na! y mae'r cwbl i ddyben gwahanol; mae yr oll sydd mewn cysylltiad â dadguddiad o drefn achub a moddion gras yn gweithio at iachawdwriaeth. "Am hyny y dysgwyl yr Arglwydd i drugarhâu wrthych." "Hirymarhöus yw Efe tuag atom ni, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch." Hir-

amynedd yw hwn âg iachawdwriaeth yn bendraw iddo. Amcan a thuedd y cwbl mewn cysylltiad â Christ a'r efengyl yw tywys i edifeirwch.

Enaid gwerthfawr, mae y Duw a ddarparodd y noddfa, yn aros, yn oedi, yn dysgwyl fynyd ar ol mynyd, ddydd ar ol dydd, i ti ffoi iddi hi. Wedi darpar edifeirwch, mae Efe yn gorchymyn i bob dyn ymhob man edifarhâu, ac yn rhoddi amser i hyn. Am hyny y mae yn arfer pob moddion cymhwys i effeithio hyn, ac nid yn goddef a gollwng pechaduriaid yn eu ffordd eu hunain. Tra y mae hiramynedd yn rhoddi amser, mae doethineb a gras yn trefnu pob gorchwyliaeth, ac yn troi y cwbl yn foddion glanhâu. Y mae gair Duw yn cael ei ddanfon at yr enaid—Duw yn Nghrist yn cael ei gyhoeddi—gweinidogion y gair oddiar yr egwyddorion uchaf yn perswadio—Duw yn galw, yn gorchymyn, yn cymhell, yn bygwth, a'r cwbl er troi y pechadur, ac nid er ei ddinystr. Wele ragluniaethau, hwythau, â rhyw effeithiolrwydd ynddynt yn llaw Duw yn gweithio at yr un amcan: y Goruchaf yn codi ystorm yn nheulu un, yn gosod gwasgfa ar ei lwynau; weithiau yn lladd, ac weithiau yn bywhâu; yn ei lwytho yn awr â daioni, yna yn ei lenwi â chwerwder, ac yn ei feddwi â'r wermod (Galar. iii. 15); ei osod yn awr yn y dyfnder, gan gau arno mewn cystudd, a phryd arall yn dyrchafu ei einioes o'r ffôs, ac yn ei amgylchynu â chaniadau ymwared. Nid damweiniau deillion, diamcan, yw y pethau hyn; nagê! ac nid barnau digllawn i galedu; ond ceryddon er lleshâd i'r pechadur yw y cyfan. Lladd sydd yma fel y ceisient yr Arglwydd; gorchwyliaethau er addysg, ac er cael gollyngdod mewn iawn (Job xxxiii.). "Trwy y pethau hyn y glanhëir anwiredd Jacob; a dyma yr holl ffrwyth, tynu ymaith ei bechod." Felly yr oedd y cwbl yn cydweithio yn "Heddyw" hynod yr hen Jerusalem (Heb. iii. 7): Mab Duw yn ymddangos yn y cnawd—Ysbryd Duw yn cael ei dywallt ar bob cnawd—cyflawnder o ddoniau i osod y pethau a berthynent i'w heddwch o'u blaen—Rhagluniaeth yn ysgrifenu ei gwersi mewn gwaed a thân a tharth a mŵg ar ddalenau y nefoedd a'r ddaear; y cwbl er dwyn pechadur i alw ar enw yr Arglwydd, a thrwy hyny i gael yr ymwared sydd ar fynydd Sïon (Joel ii. 28—32; Act. ii. 17—21).

Onid oes yma ddynion y bu Duw fel hyn yn cau o'u hamgylch, ac yn bwrw tail? Bu rhïeni duwiol yn eu dysgu, gweinidogion y

gair yn eu rhybuddio, Rhagluniaeth yn eu trosi, ac Ysbryd Duw fel ysbryd y peth byw yn yr holl orchwyliaeth yn ei dwyn hi adref at y gydwybod. Yr oedd y bregeth yn dwysbigo, geiriau y Bibl fel saethau llymion, a thrallodion yn gwneyd i ti gofio Duw. "Heddyw os gwrandewch," yw iaith y cwbl wrthyt ti. Dyna ofnau, addunedau, awydd dychwelyd, llawenydd mewn gobaith, oll yn ymweithio yn dy fynwes. O Arglwydd mawr! beth fydd y canlyniad? pa un ai Esau halogedig ai Jacob, tywysog gyda Duw, a ddaw allan o'r ymwthio sydd oddifewn y pechadur? Dacw Israel yn y ffwrn: pa un ai arian ai anmhuredd arian a ddaw allan o'r pair? Wele y claf tan ddwylaw y Meddyg; pa un ai mawolaeth neu iachâd a fydd y diwedd? Y mae y ffigysbren a fu yn hir yn ddiffrwyth yn cael eto flwyddyn y cloddio o'i amgylch a'r bwrw tail; "os dŵg efe ffrwyth, da; ac onidê, wedi hyny tòr ef i lawr," a fydd y ddedfryd. Uchel ddywedyd y mae'r cwbl, "Ceisiwch yr Arglwydd tra y gellir ei gael ef." "Cyn i'r ddeddf esgor, cyn i'r dydd fyned heibio fel peiswyn—ceisiwch yr Arglwydd."

3. Mae y dull hwn o lefaru yn brawf *o berffeithrwydd a chymhwysder y moddion a arferir i gyrhaeddyd y dyben.*

Pe bae effaith yn dyfod i fod mewn rhyw gysylltiad â gorchwyliaeth anmhwrpasol i'w chynnyrchu, ni phrïodolech chwi mohoni i'r orchwyliaeth hòno. Fe wellhäodd y claf, er holl driniaeth anghymhwys y meddyg; do, ond nid trwy y driniaeth hòno. Ond pan y byddo un yn cyrchu yn onest at amcan trwy foddion cymhwys i'w gyrhaeddyd, fe ddywedir ei fod ef yn gwneyd y peth hwnw, er na byddo y peth yn wastad yn cael ei effeithio; canys nid ydyw heb ei wneyd o herwydd fod dim diffyg yn y moddion. Yr oedd Paul "yn rhyngu bodd i bawb ymhob peth" (1 Cor. x. 33); eto dyn oedd efe a erlidid yn ddigyffelyb. Yr oedd yn rhyngu bodd i bawb trwy amcanu at foddion a dangos ymddygiadau oedd yn tueddu i hyny. Yr oedd y "gŵr oedd yn rhoi ymaith ei wraig, yn peri iddi wneuthur godineb;" nid am fod pob gwraig wrthodedig yn gwneuthur felly, ond am fod ei ymddygiad ef yn tueddu i hyny. Yma, cymherwch natur dyn â'r orchwyliaeth o adferiad y mae efe wedi ei osod dani; ac onid yw yn beiriant perffaith cymhwys i godi y fath grëadur o bydew llygredigaeth i sancteiddrwydd?

Dyna athrawiaeth, gorchymynion, ac addewidion y Bibl: y

maent yn brïodol i effeithio ar yr holl galon. Mae yr ystyriaethau oddiar ba rai y mae yr Arglwydd yn galw am ufudd-dod yn cynnwys yr oll sydd ofnadwy a hyfryd mewn bôd. Ond i ba beth y mae'r cwbl yn tueddu? Beth a fyddai y canlyniad pe byddai yr holl fyd wedi ei ddwyn dan effeithiau gair Duw—pe byddai y surdoes hwn sydd wedi ei guddio ynddo ef, yn suro y cwbl oll? Bydded ein gelynion yn farnwyr. Oni cheid dywedyd am yr holl fyd, "Ni chlywir mwy sôn am drais yn dy wlad, na dystryw na dinystr yn dy derfynau; eithr ti a elwi dy fagwyrydd yn Iachawdwriaeth, a'th byrth yn Foliant. A'r blaidd a drig gyda yr oen, a'r llewpard a orwedd gyda'r mŷn; y llo hefyd, a chenaw y llew, a'r anifail brâs, fyddant ynghyd, a bachgen bychan a'u harwain; y fuwch hefyd a'r arth a borant ynghyd; eu llydnod a gydorweddant; y llew, fel yr ŷch, a bawr wellt; a'r plentyn sugno a chwery wrth dwll yr asp, ac ar ffau y wiber yr estyn yr hwn a ddiddyfnwyd ei law. Ni ddrygant ac ni ddyfethant yn holl fynydd fy sancteiddrwydd; canys y ddaear a fydd llawn o wybodaeth yr Arglwydd, megys y mae y dyfroedd yn toi y môr" (Esa. xi., lx.)!

Mae dyn yn ymdebygu i wrthddrych ei addoliad. Pan ddychymygodd y Paganiaid eu duwiau yn noddwyr i bob brynti, aeth pob brynti yn rhan o'u haddoliad. Ond pa fath un yw y Duw a ddadguddia y Bibl? Hanfod anghenrheidiol, anfeidrol, tragywyddol, a digyfnewid o ddaioni, cyfiawnder, a sancteiddrwydd. Efe yw y Graig—perffaith yw ei weithred, ei holl ffyrdd ydynt farn—Jehofah, Jehofah, y Duw trugarog a graslawn, hwyrfrydig i ddîg, a pharod i faddeu—glanach ei lygaid nag y gall edrych ar ddrwg—Duw gwybodaeth, Duw gwirionedd, Duw cyfiawnder ydyw—sancteiddiol yw ei enw ef. Chwi a'i cewch ef yn ddigon galluog i gynnal pob peth drwy air ei nerth, ac i borthi yr oll o gelloedd ei ddaioni—yn ddigon ei amynedd i arbed byd o wrthryfelwyr am oesoedd lawer, ac mor fawr ei dynerwch fel y mae yn cadw yn fyw droseddwyr er mwyn eu hanifeiliaid a'u plant bach. Ydyw, y mae Efe yn ddigon grasol i gynnyg ymwared i bechaduriaid mawrion, ac yn ddigon penderfynol dros gyfiawnder i ddamnio byd.

Meddyliwch i ba beth mae esiampl ac athrawiaeth y Gwaredwr yn tueddu. Ni wnaeth efe bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau. "Efe a roddes i ni esiampl fel y canlynem ei ôl Ef:" esiampl i wasanaethu Duw, i gyflawni pob cyfiawnder, i ddiffodd picellau

tanllyd y fall, ac i garu ein gelynion. Y mae efe, yn awdurdod Duw, â'i air yn ddeddf, a'i ddeddf, wedi ei chadarnhâu â thragywyddol gosb a gwobr, yn gwahardd pob drwg, yn gorchymyn pob dyledswydd, ac yn galw am bob rhinwedd. "Pa bethau bynag sydd wir, cyfiawn, pur, canmoladwy, od oes dim rhinwedd, od oes dim clod, meddyliwch am y pethau hyn." Ac y mae ei ddysgeidiaeth yn annelu yn uniongyrchol at y galon. Nid yw efe yn boddloni i olchi y tu allan i'r cwpan a'r ddysgl, a gwỳngalchu y bedd llawn o esgyrn y meirw a phob budreddi. Na, mae yn bwrw halen i ffynnonell y dyfroedd—yn trefnu y dyn oddiallan trwy gyfnewid y dyn oddimewn. Ydyw, y mae yn dyweyd, "Na ladd, na ladrata, na odineba." Ond y mae yn myned i'r galon. "Na thrachwanta." Na chwennych ddim. Nac ymddielwch. Cerwch eich gelynion. Beth pe bae y byd dan awdurdod prif orchymynion y ddeddf, "Câr yr Arglwydd dy Duw â'th holl galon; câr dy gymydog fel ti dy hun?" oni byddai annuwioldeb wedi crino o'r gwraidd, a dynion wedi eu hasio â Duw ac â'u gilydd? Byddai pawb yn caru Duw, heb neb yn addoli eilunod, neb yn cymeryd ei enw yn ofer, neb yn tòri y sabbath, neb yn dirmygu yr efengyl, neb yn anghofio y Goruchaf mewn hawddfyd nac yn tuchan mewn trallod; pawb yn addoli yr Arglwydd, a'u bwyd a'u dïod mewn gwneuthur ei ewyllys ef: dyna nefoedd ar y ddaear! A phe byddai pawb yn caru eu cymydogion fel hwy eu hunain, dyna heddwch rhwng teyrnasoedd, cydgordiad ymhob cymydogaeth, twyll marsiandïaeth wedi darfod, cenfigen wedi toddi o'r galon, genau yr enllibiwr wedi cau, calonau y tadau a'r plant wedi troi at eu gilydd, dim sôn am drais yn y wlad, na dystryw na dinystr o fewn y terfynau—pob budreddi yn cael ei roi ymaith, pawb yn blaenori yn yr hyn sydd dda; enw, cysur, eiddo, teimlad, lleshâd pawb, i bob un fel yr eiddo ei hun!

Dyma ddysgeidiaeth Crist; ac y mae mewn undeb â'r egwyddorion sydd yn cynnwys y cymhelliadau cryfaf i ufudd-dod. Nid fel y philosophydd yn gwneyd corff o foesau heb ddim ysbryd ynddo—yn gosod ger bron beiriant heb ddim ager i'w yru ef; ond y mae yr ystyriaeth a ddŵg i gymhell dyn i ufudd-dod yn cynnwys yr oll sydd ofnadwy mewn awdurdod, ac yn dyner mewn daioni. Mae yn appelio at holl gynneddfau y meddwl, ac yn cyffro holl dànnau mynwes dyn. "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhodd-

odd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Ac "os felly y carodd Duw ni, ninnau a ddylem garu ein gilydd." Mae'r dyledswyddau, yn wir, yn anhawdd: caru ein gilydd, maddeu i'n gilydd, rhoi ein heinioes dros ein gilydd; ond y mae'r cymhelliad yn gryf. Carwn "megys y carodd Crist ninnau;" maddeuwn "megys y maddeuodd Duw er mwyn Crist i ninnau." "Ninnau a ddylem ddodi ein heinioes dros y brodyr:" paham? "Yn hyn yr adnabuom gariad Duw, oblegid dodi o hono ef ei einioes drosom ni." Pwy a all lai na rhoi heibio gynhen pan y mae yr holl ddyddanwch yn Nghrist, yr holl gysur cariad, holl gymdeithas yr Ysbryd, yr holl ymysgaroedd a thosturiaethau Dwyfol, yn gymhelliadau i hyny? "Er gwerth y'ch prynwyd, am hyny gogoneddwch Dduw." Os nad yw hyn yn ddigon, edrychwn ymlaen i dragywyddoldeb. Gwasanaethwn Dduw, dilynwn Grist, ac ni a gawn goron cyfiawnder, taledigaeth y gwobrwy, eistedd gyda Christ ar ei orseddfainc. Ofnwn rhag bod yn ôl o'r orphwysfa nefol, canys y pydew diwaelod, y llŷn o dân, cosbedigaeth dragywyddol, a fydd cyfran enaid colledig. Beth pe byddai y pethau hyn wedi meddiannu y myfyrdodau, y meddyliau am danynt yn fywiog ac yn aml? Oni byddent yn sicr o halltu y galon a choethi yr archwaeth? Beth pe byddai Duw yn Nghrist yn trigo yn y meddwl? Byddai yno oleuni, rheoleidd-dra, bywyd, a nerth. Mae trem arno yn newid i'w ddelw. Ffydd yn puro'r galon yw ffydd yn Nghrist; gobaith yn iachâu yw gobaith yr efengyl. Pan ddelo i drigo trwy gariad i'r galon, mae yn troi pydew llygredigaeth yn gysegr sancteiddiolaf. Yn wir, y mae hyd yn nôd argyhoeddiadau yr efengyl yn nghalon yr annuwiol yn newid peth ar liw ei groen ef, fel y mae efe i ryw fesur yn "dïanc oddiwrth halogedigaeth y byd, trwy adnabyddiaeth yr Arglwydd a'r Achubwr Iesu Grist" (2 Pedr ii. 20—22). A pha beth am effeithiau dylanwadau achubol yr efengyl? Cawn droi at y Corinthiaid dychweledig am atebiad. "Hyn fu rai o honoch chwi;" hyn: godinebwyr, eilunaddolwyr, masweddwyr, lladron, cybyddion, meddwon, difenwyr, cribddeilwyr, a'r cyffelyb; "eithr chwi a olchwyd, eithr chwi a sancteiddiwyd, eithr chwi a gyfiawnhäwyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni."

4. Mae y glanhâd hwn yn arwyddo fod *y moddion yn cael eu*

*harfer gydag egni ac awyddfryd am lanhâd y pechadur.* Prin y gellir dywedyd fod un yn gwneuthur dim, os na bydd efe, o leiaf, yn ei ewyllysio yn gryf, ac oddiar hyny naill ai yn ei wneyd, neu yn methu er pob ymdrech. Ac o'r ochr arall, pan byddo calon dyn yn y peth, ac oddiar hyny yn arfer pob moddion i'w gyrhaedd, mae hwnw cystal â'i wneyd ef yn ngolwg Duw, pa un bynag a fydd efe yn cael ei gyflawni ai peidio. "Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth hi yn iach." Gwnaethom gymaint fyth ag a fedrem at hyny; rhoddasom hi yn iach o'n rhan ni. Felly yr oedd Abraham cystal âg offrymu ei fab, Dafydd cystal â chodi y deml, a Gehazi wedi myned yn berchen gwinllanoedd, defaid, a gwartheg, drwy eiriau Naaman, cyn defnyddio hatling o honynt. Yr oedd meddylfryd y galon yn llawn o'r peth. Bydd llïaws yn cael eu cosbi yn uffern, neu eu gwobrwyo yn y nef, am weithredoedd na chyflawnwyd erioed mo honynt. Yr oedd yno ewyllys ac ymdrech; nid oeddynt heb wneuthur y weithred o'u rhan hwy. Felly yma: mae yma foddion priodol yn cael eu harfer o wir ewyllys i hapusrwydd yr enaid.

Mae yn wir nad yw y "glanhâu o honof di, ac nid wyt lân," yn cynnwys fod anghrediniaeth dyn yn gwneyd ffyddlondeb Duw yn ofer, neu fod bwriad tragywyddol Duw yn cael ei ddyrysu a'i siomi. "Tyngodd Arglwydd y lluoedd, gan ddywedyd, Dïau megys yr amcenais, felly y bydd; ac fel y bwriedais, hyny a saif. Duw ydwyf ac heb fy math, yn mynegu y diwedd o'r dechreuad, ac er cynt yr hyn ni wnaed eto, yn dywedyd, Fy nghynghor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf" (Esa. xiv. 24; xlvi. 9, 10). Ond y mae yn arwyddo fod drwg a thrueni y pechadur yn beth croes i'w ewyllys; ac o'r ochr arall, fod ei ddychweliad a'i ddedwyddwch yn bethau y mae efe yn ymhyfrydu ynddynt. Os bydd yr enaid yn druenus byth, nid drwg-ewyllys Duw i'w hapusrwydd a fydd yr achos. Nid oedd dim rhyfedd fod cyfrif y bobl heb ei ddwyn at Dafydd; nid oedd Joab na neb yn galonog yn y gwaith. Nid oedd ryfedd fod y dyn yn edifaru myned at fwrdd y drwg ei lygad, oblegid er fod hwnw yn cymeryd arno fod yn groesawus, nid oedd ei galon ef ddim gyda y gwahoddedig (Diar. xxiii. 7). Ond y mae calon Duw gyda thi, fy enaid, yn ei holl wahoddiadau. Os yw yn gorchymyn i ti edifarhâu a dychwelyd oddiar nad ydyw yn ymhoffi yn dy farwolaeth, mae yn rhaid fod ei galon ef yn y peth. Gweithio

allan ei natur, agoryd ei fynwes rasol, y mae trwy ei air. Fel y mae hwnw felly y mae yntau. Os yw fel ei air, y mae yn hoffi trugarhâu. Os yw fel hwn, mae ei galon ef yn troi wrth feddwl rhoddi enaid i fyny. Mae yn arfer y moddion am ei fod yn tosturio. "Arglwydd Dduw eu tadau a anfonodd atynt hwy trwy law ei genadau, gan fore-godi ac anfon, am ei fod ef yn tosturio wrth ei bobl" (2 Cron. xxxvi. 15). Fel y dywed ei air, nid yw yn ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch. Beth arall a'i gwnaeth yn ddyledswydd ar bechadur droi, credu, ceisio ei fywyd, ond fod Duw wedi dadguddio mai hyn yw ei ewyllys? Dengys y gair fod Duw yn ewyllysio yn ddidwyll ffydd a bywyd y pechadur. "Hyn yw gwaith Duw, gredu o honoch." Hyn yw ei ewyllys ef, fod pob un sydd yn credu i gael bywyd tragywyddol. Mae ei air yn wir er i bob dyn fod yn gelwyddog; y mae dyn yn golledig, nid am nad yw Duw yn ffyddlawn, ond am ei fod ef yn anghrediniol.

Beth y mae y Bibl yn ei ddywedyd, medd rhywun, am fwriad tragywyddol Duw tuag ataf fi? Nid yw yn dywedyd dim; gedy hyny yn ddirgelwch. Ond dengys beth y mae Duw yn hoffi i ti wneyd: dychwelyd a byw. "Yr hwn sydd yn ewyllysio fod pob dyn yn gadwedig, a'u dyfod i wybodaeth y gwirionedd." Paham na buasai Duw yn achub yn ddystaw y rhai a edifarhânt ac a gredant, ac yn gadael eraill heb gyfeirio gair atynt? Am y gwnaethai felly gam âg ef ei hun. Buasai felly ddaioni ei natur heb ei eglur ddangos, a gwirionedd mawr am ei ewyllys heb ei amlygu. Gan ei fod yn teimlo yn garedig i ti, O ddyn, paham na chaiff ddyweyd hyny, a boddloni ei ddaioni drwy ddangos y ffordd, a galw yn daer arnat i ddychwelyd? Mae ei burdeb ef yma wedi ei gyd-dymheru â thrugaredd a gras, a'i orchymyn wedi ei gyd-blethu âg addewid. Efe a ddywed wrthyt am wneyd calon newydd, ac a addawa ei rhoddi ar yr un pryd. Y mae Duw o ddifrif yn gwaeddi ar genedlaeth bechadurus, pobl lwythog o anwiredd, "Ymolchwch, ymlanhëwch, bwriwch ymaith ddrygioni eich gweithredoedd oddi ger bron fy llygaid." Ni waeth i ni heb; yr ydym wedi gwneuthur gwerth ein damnio eisoes. Gadewch rhyngof fi am a basiodd, medd Duw. "Deuwch yr awr hon, ac ymresymwn, medd yr Arglwydd; pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, änt càn wyned â'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlân."

Ië, medd y truan teimladol; ond pwy a ddichon ddywedyd, Glân ydwyf, er ei holl ymolchi? y mae'r drwg yn bresennol er yr holl ymdrech; cwblhâu yr hyn sydd dda, nid wyf yn medru arno. Gâd i hyny fod; y mae'r ewyllysio yn gymeradwy—yr ochenaid gywir am fod yn lân yn dderbyniol. Cei hopian yn araf at berffeithrwydd yn help gras; os cyffyrddi â pheth aflan ac ymhalogi, mae yr isop a'r gwaed yn y gwersyll. Nid am dy ladd, ond am dy gadw yn fyw, a'th wneyd yn lân, y mae Duw yn awyddus.

Wedi cael Duw i'r cnawd, yr oedd tosturiaethau y natur Ddwyfol yn gweithio drwy serchiadau y natur ddynol yn frefiadau am achub dynion. Yr hyn oedd yn cyffroi ei dosturi, oedd gweled y bobl wedi eu gwasgaru fel defaid heb ganddynt fugail. Ei hoff waith ef oedd dwyn eu clefydau; ei dristwch oedd caledwch eu calon; ei lawenydd oedd fod pechadur yn edifarhâu; ei weddi oedd, "O Dad, maddeu iddynt!" Dacw efe yn pregethu y dydd ac yn gweddïo y nos; ac yn y man wrth weled ei ddydd i weithio gwaith yr Hwn a'i anfonodd wedi darfod, ei nerth wedi ei dreulio yn ofer ac am ddim, Israel heb ymgasglu ato ef, dacw efe yn ildio i'w caledwch, yn ymostwng i ewyllys Duw, ac yn eu rhoddi i fyny i ddwylaw cyfiawnder, eithr yn gwneuthur hyny dan wylo. Wedi iddo ddyfod yn agos, pan welodd efe y ddinas, efe a wylodd drosti, gan ddywedyd, "Pe gwybuasit dithau, ïe, yn dy ddydd hwn, y pethau a berthynant i'th heddwch! eithr y maent yn awr yn guddiedig oddiwrth dy lygaid." "Pe gwybuasit dithau"—beth a fuasai pe gwybuasai Jerusalem y pethau? mae y frawddeg yn anorphen: ydyw, ond wedi ei rhwystro a'i chadarnhâu ar unwaith y mae â dagrau y Gwaredwr; dagrau sydd yn pregethu tosturi ei galon tu hwnt i rym y geiriau cryfaf.

Y mae Duw yn ei bobl yr un modd yn dangos ei awydd am iachawdwriaeth pechaduriaid. Y mae llawer yn Nghymru âg y mae Duw mewn llawer modd wedi gwneyd yn hysbys i'w cydwybodau hwy eu hunain mai nid efe sydd yn ddifraw am eu hiachawdwriaeth. Do, fy nghydwladwyr a'm cydgenedl, efe a gysylltodd rai o honoch chwi wrth wragedd a fu yn ymdrech yn onest am eich cadwedigaeth dragywyddol. Ac efe a sancteiddiodd serchiadau mamau llawer o honoch i ddyheu am eich iachawdwriaeth yn benaf dim; yr oedd poenau yr esgoreddfa gyntaf wedi eu hanghofio yn eu hymdrech i'ch esgor drachefn hyd oni

ffurfid Crist ynoch.Ië, fy nghyd-ddyn, onid yw y brophwydoliaeth a ddysgodd dy fam i ti yn llosgi byth yn dy gydwybod? Onid oedd ei henaid yn ymdywallt i'w haddysg a'i hymbiliau pan yn gwasgu arnat, "Fy mab, cadw fy ngorchymynion, a bydd fyw?"

Do! chwi a welsoch garedigrwydd Duw i'ch enaid yn tòri allan yn awyddfryd aml hen bregethwr ar hyd Gymru am eich iachawdwriaeth. Dynion oeddynt hwy mor uchel eu hymgais â gallu cyflwyno *pob dyn* yn berffaith yn Nghrist Iesu; ac os byddent yn methu yn hyny, hwy a roent gorff ac enaid ar eu heithaf, os gallent yn hollol gadw *rhai*. Do, adwaenasoch ddynion yr oedd eich cydwybodau chwi yn adsain i dystiolaeth eu cydwybodau hwy eu hunain yn yr Ysbryd Glân, fod iddynt dristyd mawr, a gofid dibaid i'w calon ar eich rhan, ac mai gwir ewyllys eu calon a'u gweddi ar Dduw dros Gymru oedd er iachawdwriaeth. Oddiar serchiadau yn treulio ac ymdreulio dros eneidiau eu pobl, yr oeddynt yn gweddïo mwy na mwy, yn rhybuddio â dagrau, yn dyoddef pob peth fel y caent hwy yr iachawdwriaeth yn Nghrist gyda gogoniant tragywyddol. A pha beth oedd wedi cynnyrchu y fath ysbryd o'u mewn? Ymdrechu yr oeddynt yn ol ei weithrediad ef, Duw yn Nghrist, yr hwn oedd yn gweithio ynddynt hwy yn nerthol. (Col. i. 28, 29). Trwyddynt bu Duw ganwaith yn curo wrth dy ddrŵs di, bechadur, ac yn erfyn i ti ddyfod i gymmod; yn eu dagrau hwy gwelaist ei dosturi ef; ac yn eu hymysgaroedd hiraethus, ti a glywaist ei berfedd ef yn rhuo trugaredd am danat (Jer. xxxi. 20). Yr oedd yr Ysbryd, y brïodasferch, yr hwn sydd yn clywed, pawb yn dywedyd, Tyred! Pan yr oedd y genadwri yn llwyddiannus, yr oedd pawb yn llawen. "Canys fel y prïoda gŵr ieuanc forwyn y prïoda dy feibion dydi; ac a llawenydd prïodfab am brïodferch y llawenycha dy Dduw o'th blegid di." "Byw ydym ni os ydych chwi yn sefyll yn yr Arglwydd." "Mwy llawenydd na hyn nid oes genyf, sef cael clywed bod fy mhlant yn rhodio mewn gwirionedd."

O bechadur, bydd yr holl deimlo a fu yn dy achos, yr holl ymryson fu â thi, yr awyddfryd cryf a'r dagrau a gollwyd ar dy ran, yn profi, wrth dy gladdu yn y pwll diwaelod, os felly y bydd, mai nid o fodd y Brenin y darfuasai lladd Abner. Oedwyd yn hir, arferwyd pob moddion yn onest, nes pasio y dynged o'r diwedd, "Bydded frwnt eto!"

5. Dywedir fod Duw yn glanhâu, oblegid fod *yr orchwyliaeth mor ddigonol i hyny fel nad oes dim yn achos fod y glanhâd heb ei wneyd ond gwrthwynebiad ac ystyfnigrwydd y pechadur.* Nid ei aflendid yw yr achos na bae y pechadur wedi ei lanhâu, ond ystyfnigrwydd neu "ysgelerder" yr aflendid hwnw yn gwrthweithio moddion y glanhâd. Nid am nad oedd y cyffeiriau yn abl i ladd y clefyd, ond o herwydd gwrthodiad y claf o honynt, y bu efe farw. Gras Duw yw yr achos fod y glanhâd yn cael ei effeithio, ond drygioni dyn yw yr achos lle y mae yn cael ei attal. Nid yn ngorchwyliaeth Duw, ond yn nghyndynrwydd pechadur, y mae yr holl rwystr; ac nid llwgr ac aflendid natur y pechadur yw yr achos chwaith, ond ystyfnigrwydd yr aflendid hwnw; y llwgr wedi tòri allan yn actau gwrthnysig o wrthod yr efengyl oddiar elyniaeth ati, ac oddiar gariad at bechodau neillduol. Sylwa, fy enaid: y mae Duw yn weithiwr rhydd, ac felly yn cwtogi neu yn estyn ei waith wrth ei ewyllys ei hun. Y mae weithiau, o'i ewyllys da ef, yn myned dan wraidd holl wrthwynebiad ac ystyfnigrwydd y pechadur, i droi ei galon ac achub ei enaid; nid arfer moddion yn unig er glanhâu, ond cynnyrchu y glanhâd ei hun yn yr enaid; nid ei gynnyg i'r ewyllys, a'i gadael i ddewis neu wrthod o honi ei hun, ond ei hennill yn drwyadl â'i gariad, ac yn hyny aileni y pechadur. Ond, bryd arall, y mae efe yn nesu at y pechadur trwy ei air a'i Ysbryd, ac yn cael ei wrthwynebu yn olynol a phenderfynol, ac yntau o'r diwedd yn cilio am byth.

O tydi y dyn y mae bŷs Duw ar dy ysbryd! gwrando hyn er dy rybudd a'th gysur: nid ydyw ef byth yn ymadael heb gael ei wrthwynebu. Dyma yr Iachawdwr wedi lànio eto yn yr hen Gadarena aflan gyda'i moch a'i chythreuliaid; fe aiff i'r llong yn ol, ond nid cyn dy glywed di yn attolwg arno ymadael â'th gyffiniau. Ni phair dim iddo roi heibio dy lanhâu ond actau pendant o wrthod yr ymgeledd. Yr wyt ti yn annheilwng, medd Duw, ond ni chaiff hyn ddim tòri rhyngom heddyw; gwnaf er fy mwyn fy hun, yn ol boddlonrwydd fy ewyllys. Mae dy bechodau gynt yn ysgeler, ond ni chaiff hyny luddias y glanhâd; y mae ffynnon wedi ei hagoryd i bechod ac aflendid. Mae y llygredigaeth yn anallui i dderbyn yr ymgeledd, ond ni chaiff hyny rwystro yr ymwared; dyma fy Ysbryd â'i argyhoeddiadau eisoes yn y gydwybod, a nerth ychwanegol wrth law. Ni chei farw o eisieu haeddiant na

nerth. Beth gan hyny a luddias ddechreuad y gwaith sydd i ddybenu mewn bod heb frycheuyn na chrychni? Dim ond anufudd-dod a gwrthodiad penderfynol. Nid oes gan anghrediniaeth llawer o'r Cymry un ffordd o weithredu ond mewn actau noethion o wrthodiad o Grist, a sarhâd o'i iachawdwriaeth. Dyna yr enaid wedi ei ysgytian o'i ddifrawder gan argyhoeddiadau, ei dywyllwch wedi ei oleuo, ei ddadleuon wedi eu hateb, ei golledigaeth wedi ei dwyn i'w deimlad, tystiolaeth o werth iachawdwriaeth yn ei gydwybod, ac yn cynnyrchu llawenydd yn y serch. Ond pan yr oedd efe, dybygasid, ar bwynt prïodi Mab Duw, wele yr ewyllys oddiar elyniaeth at Grist, ac oddiar gariad at bechodau neillduol, yn tòri allan mewn actau pendant o anufudd-dod a gwrthodiad. Ni ddychwelaf ddim; ni fynaf ddyfod at Grist fel y caffwyf fywyd. Dyweded Duw a ddywedo, gwnaed a wnelo, ni wrandawaf. Pe cawn i roi fy mŷs yn ôl yr hoelion, a'm llaw yn ei ystlys a wanwyd, a gweled i mewn hyd at galon yr Hwn a groeshoeliwyd, a darllen fy enw arni, ni chredaf ddim. Perwch i Sanct Israel beidio â mi. Felly mae drwg anghrediniaeth dyn yn cael ei roi yn erbyn ei ewyllys ef. "Hon yw y ddamnedigaeth: ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni." Paham, wedi i Dduw alw ac addaw, "Dychwelwch wrth fy ngherydd; wele, mi a dywalltaf fy Ysbryd i chwi," na buasai y dychweliad yn dygwydd? Dyma y pam: "Yn gymaint âg i mi eich gwahodd ac i chwithau wrthod, i mi estyn fy llaw a neb heb ystyried; ond diystyrasoch fy holl gynghor i, ac ni fynech ddim o'm cerydd." Y mae pethau wedi dyfod i'r pwynt yma rhwng Duw a'ch eneidiau chwi, ddynion: rhaid i'ch ymarfer â'r efengyl ddybenu mewn dychwelyd a bod yn gadwedig—ymolchi a bod yn lân—neu ynte mewn gwrthodiad penderfynol o'ch ochr chwi, ac yn ngwaith Duw, yntau, yn eich rhoi i fyny am byth!

III. Y CANLYNIAD ARSWYDOL O ANEFFEITHIOLRWYDD YR ORCHWYLIAETH. "O'th aflendid ni'th lanhëir mwy."

O ddynion, dyma chwi ar brawf am dragywyddoldeb! mae y golchi drwy'r moddion yma o ganlyniad ansicr; ac er i chwi fod fel modrwy ar ei fŷs, a gwregys am ei lwynau, mae yn bosibl i'r Duw mawr wneyd ei feddwl i fyny i'ch rhoddi i fyny am byth. Er mor hwyrfrydig a grasol, fe wnaeth Duw ei feddwl i fyny o'r

diwedd i derfynu yr ymrysonfa â'r hen fyd mewn boddi y cyrff, a bwrw yr eneidiau yn ysbrydion i garchar—i adael yr hen Jerusalem, dinas y Brenin mawr, hen gartref y Shechinah, dan gwmwl tragywyddol—ac i chwydu yr eglwysi Cristionogol cyntefig yn Asia allan o'i enau. Beth os yw adfywiad Anghrist yn y wlad ac yn yr eglwys, o faes ac o fewn i'r eglwys Brotestanaidd, yn awgrym fod y canwyllbren ar gael ei symud—efengyl gras fel wedi colli ei nerth tuag at eneidiau dynion! Beth os yw Duw yn myned i gau y ffynnon, "Ni'th lanhëir mwy!"—i gloi y cwpbwrdd, "Ni phorthaf chwi mwyach!" Gwae, gwae yr enaid sydd yn colli teyrnas Dduw wedi ei ddwyn yn agos iddi—y llongddrylliad yn dygwydd yn y porthladd—llw Duw wedi myned rhwng Israeliad â Chanaan, pan yr oedd efe ar ei chyffiniau, a'i grawnsypiau yn ei safn—pechadur, wedi ei godi i'r nef mewn gobaith, yn cael ei ostwng i lawr hyd yn uffern!

1. *Ni wyddys pa fynyd y bydd y farn a fygythir yn cael ei gweinyddu.* Yn nwylaw penarglwyddiaeth y mae hŷd tymmor yr arbediad. Sefyll, ac nid eistedd, y mae yr Arglwydd wrth y drŵs. O'i ewyllys da, nid o anghenrheidrwydd, y mae efe yn gweithio ynoch. Bechadur, fe allai fod mater dy enaid anfarwol ar droi ryw ochr y fynyd hon; fod nodwedd dy dragywyddoldeb ar gael ei argraffu a'i sefydlu tu hwnt i bosiblrwydd cyfnewidiad. Un radd eto ar y ddeial, ac fe fydd dy haul wedi machlud—gyda y chwa nesaf, bydd dy ganwyll wedi diffodd yn y tywyllwch du—un pechod yn ychwaneg, a dyna fesur yr anwiredd wedi ei gyflawni—diffrwythdra am y flwyddyn hon, a bydd y "tòr ef i lawr" mewn grym! Gwylia, enaid gwerthfawr, rhag mai myned at dy hen chwant unwaith yn rhagor yn groes i'th gydwybod—lladd un awydd am ddyfod at Grist ac i'w dŷ—un weithred arbenig o wrthod y Gwaredwr—a ddaw â'th anghrediniaeth di i'w faint, ac amynedd yr Arglwydd i'w derfyn, ac y bydd yr holl ymdrin grasol yn dybenu yn ngwaith Duw yn tyngu yn ei lid na ddeui i'r orphwysfa. Gwylia i amser dy ymweliad fyned heibio cyn i ti ei adnabod! Heddyw y mae yr Hollalluog yn meddalu dy galon; yfory fe allai y bydd hi yn caledu. Heddyw mae dy gydwybod yn effro; yfory hi a all fod yn cysgu i farwolaeth. Yr awr hon, yr wyt yn teimlo yn bryderus am dy fater tragywyddol; yr awr nesaf hwyrach y rhaid i ti brofi fod gras Duw wedi ei lwyr attal, ffyn-

nonau yr iachawdwriaeth wedi cau, y pelydr wedi diflanu oddiar eiriau y Bibl, a bronau llaethog yr ordinhadau yn hyspion mwyach.

2. *Mae y trueni a gynnwysa y farnedigaeth yn fawr:* "Ni'th lanhëir mwy."

Gristion, fe wyddost ti mai esmwythyd mawr, pan y byddi yn llewygu gan sawyr corff y farwolaeth, fydd cael gwaeddi, "Golch fi—mi a lanhëir—byddaf wỳnach na'r eira!" Gelli di, ynte, ymsynio mor aethus a fyddai clywed y ddedfryd, "Ni'th lanhëir mwy!" O dynged arswydus! rhaid i'r hen blâ sydd yn y galon, yr hen gâs at Dduw, fod yna byth: "Ni'th lanhëir!" Beth ydyw hyn? Pechadur yn tueddu at bob drwg, a Duw yn ei gyfiawnder yn gwywo pob tynerwch, yn tynu pob dalfeuon, ac yn gadael y crëadur iddo ei hun—yn ei ollwng i gyndynrwydd ei galon. Os caiff efe hawddfyd, hyny sydd i'w ddinystrio byth bythoedd; nid yw ond yn pesgi erbyn dydd y lladdfa. Os adfyd fydd ei gyfran, fe ychwanega bechu yn erbyn yr Arglwydd; y ffrwyth fydd cnoi y tafod a chablu Duw y nefoedd. Os eistedd y bydd dan bregeth, bydd yn hòno ryw effeithiolrwydd sobr i gau y llygad a brasàu y galon, rhag i'r enaid ddychwelyd a'i feddyginiaethu. Ni fedraf fi ddim peidio meddyginiaethu y dychweledig, medd Duw; ond ni cheiff y gwrthnysig yna ddim a bair iddo ddychwelyd mwy. Ddynion! pa faint fydd y tywyllwch pan aiff Duw i ddallu? pa faint fydd y caledwch pan aiff efe i galedu? Beth a fydd bod drygioni wedi troi, nid yn unig yn fater o ddewisiad, ond o anghenrheidrwydd! Tynged y dyn yna, fel yr eiddo diafol, a fydd pechu mwy; ei farn yn ysglyfaeth i bob amryfusedd cadarn, ei wŷniau yn warthus yn ei hyrddio i bèthau bryntion, a'i gydwybod yn rhy seriedig i deimlo dim; difrawder ei feddwl o'r diwedd wedi troi yn drymgwsg oddiwrth yr Arglwydd. Pwy a ddeffry hwna byth? neu os deffry, bydd y drèm gyntaf a gaiff ar drueni yn cyffroi ei gynddeiriogrwydd, oddiar anobaith a phenderfyniad i lynu byth yn ei fai.

"Ni'th lanhëir mwy!" Pe gwelech chwi dynged y pechadur hwn ar ei dalcen, chwi a ganfyddech yn ysgrifenedig â bŷs Duw, "Anghymeradwy!" Pe codid y gorchudd nes dwyn ei wir garitor i'r golwg, chwi a welech ysbryd cadarn mewn drygioni, a damnedigaeth wedi sefydlu yn anamserol ar ei wedd; enaid addfed i goll-

edigaeth dragywyddol, dan ba un nas gellir dadroi un cam, newid un tueddfryd, cyflawni un ddyledswydd a esgeuluswyd, galaru am un bai, nac ennill un fendith!

3. *Mae y farnedigaeth hon yn arosol, ac yn sicrhâu diwedd ofnadwy.* Nis gellir byth ddysgwyl newid er gwell mewn crëadur wedi ei roddi i fyny gan Dduw. O ba le y daw goleuni wedi i'r haul fachludo? Beth a symud farwolaeth wedi i'r bywyd ymadael?

Ond pa le y mae yr aileni, y crëu o newydd? A oes dim posibl agor cysegr y cymmod eto, ac adsefydlu rhyw gyfathrach rhwng yr enaid esgymunedig â Duw? Ai nid ellir cael Ysbryd Crist i ymsymud ar y gymysgfa farwol? Na! mae y ddedfryd wedi pasio. Dyma eiriau yr adnod ar ol y testun: "Myfi yr Arglwydd a'i lleferais; daw a gwnaf; nid âf yn ol, ac nid arbedaf, ac nid edifarhâf." Pe safai Noah, Daniel, a Job i ddadleu dros gyfryw bechaduriaid, ni alwaf fy ngair yn ol. Fel mai byw fi, ni ddaw y rhai hyn byth i'm gorphwysfa! O ddyn anobeithiol! mae Duw yn tyngu na wneir iawn am ei feïau byth—na fydd dim rhyngddo ef â'r enaid yn dragywydd. Beth fydd y diwedd? Dacw efe yn cael ei arbed hyd ddydd dïal, i'w ddwyn allan yn nydd cynddaredd. Y mae efe yn tynu ymlaen—heb un aberth mwyach dros ei fai, yr un Ysbryd daionus i'w ymgeleddu, dim yn natur Duw ond a fydd yn uffern iddo ef—ymlaen at y dibyn oddiar ba un y syrth i ddwylaw y Duw byw. Nid oes i hwn ond rhyw ddysgwyl ofnadwy. Wedi esgeuluso iachawdwriaeth, rhaid dyoddef damnedigaeth. "Paraf i'm llid orphwys arno."

Pa le yr ydych chwi, hen wrandäwyr yr efengyl, yn cael eich hunain yn ngwyneb y mater hwn? Dychrynwch, ac eto nac anobeithiwch. Er fod achos i chwi ofni rhag i'ch dydd ddarfod cyn i'ch gwaith gael ei wneuthur, eto ni ddylai neb gredu fod dydd ei ras wedi darfod. Y mae hyny ymysg y dirgeledigaethau y rhai a osododd y Tad yn ei feddiant ei hun. Ond y mae yn bosibl gwybod fod y dydd heb ddarfod, a'r farn ddinystriol heb basio. A oes genyt ti, bechadur, afael yn nhrugaredd Duw? prawf yw hyny fod ei drugaredd Ef heb ddarfod â thithau. A oes rhywbeth a fynot di âg aberth y Gwaredwr—rhyw afael yn nghyrn yr allor? Mae drŵs gobaith rhyngot ti â'r dysgwyl ofnadwy; mae dy ffordd yn rhydd i gysegr Duw. Os oes yna yr

hyfrydwch lleiaf yn y gair, gafael dy feddwl yn ordinhadau yr efengyl, tuedd i wrando ar lais dy athrawon, nerth i offrymu un weddi gyda dyfalwch, a llygad yn wylo deigryn am dy fai,—yr wyf yn gweled fod y felldith heb grino yr hen ffigysbren eto. Cymer galon; hwyrach y gwelir sypiau grawnwin addfed ar dy hen ysbryd crîn, a Mab Duw yn dyfod i'w ardd, ac yn bwyta ei ffrwyth peraidd ei hun. A ydyw dy gydwybod yn deimladol o bechod, a'r teimlad hwnw yn ennyn ynot rywbeth fel ymdrech yn erbyn pechod? nid teimlad yn cynnyrchu anobaith a chynddaredd, ac yn dywedyd, Nis gallaf byth adael y pechod yma, na lladd y chwant arall; mae ei ddrwg ef yn fwy nag y gall Duw ei faddeu, a'i bleser yn fwy nag y gallaf finnau ei adael; nid oes obaith, canys cerais ddyeithriaid, ac ar eu hôl hwynt yr âf fi,—ond yn lle hyny rhyw gynllwyn yn dy fynwes yn erbyn bywyd pechod, a chymysg gwynfaniad a dysgwyliad yn llefain, Pwy a'm gwared oddiwrth gorff y farwolaeth hon? y mae yn anhawdd—yn annhebyg; ond er hyny mi a edrychaf eto tua'r deml sanctaidd; pwy a ŵyr a drugarhâ yr Arglwydd? Gallaf sicrhâu fod Duw heb adael enaid fel hyn. Pwy ond efe yw awdwr y teimladau yna yn dy ysbryd? Nid ydynt yn tyfu yn dy galon di o honynt eu hunain; ac, yn ddïau, ni chynnyrcha y diafol mo honynt yno. Ysbryd Duw yw yr awdwr. Megys na chrëodd Duw un teimlad yn natur dyn heb wrthddrychau cymhwys i'w diwallu, felly os oes ynot hiraeth am Duw, dysgwyliad wrth Grist, dymuniad am drugaredd, y maent hwythau ar dy gyfer di, yn dy gyrhaedd, yn nhrefn yr efengyl.

A oes yma enaid gan ystyriaeth o'r gwirioneddau difrifol a fu genym dan sylw yn gofyn, Beth a wnaf fi? Yr ateb cymhwys ydyw, Gwrando ar lais Ysbryd Duw yn dy gydwybod. A yw efe yn dy gondemnio am ryw fai? Gâd y bai hwnw; gâd ef yn ddioedi ac yn hollol. A ydyw yn dy gymhell i ddarllen mwy ar y Bibl, i weddïo mwy yn y dirgel, i adael cwmni yr annuwiol, i roddi dy hunan i'r Arglwydd ac i'w bobl? Ufuddhâ iddo yn hyny, heb aros wrth amser cyfaddas; canys "wele yn awr yr amser cymeradwy." Diolcha iddo am y pethau a gefaist, a gofyn bethau mwy. Yr wyf yn hyderu fod yma bechadur yn edrych i fyny at Dduw, ac yn dywedyd, O Arglwydd, diolch i ti am y Bibl, ac am ddwyn ei gynnwysiad gydag effeithiolrwydd at fy meddwl,

meddalu fy nghalon, gwneyd pechod yn faich, cymhell iachawdwriaeth arnaf, a'm dwyn yn agos i deyrnas Dduw. Ond, O Dduw, a oes genyt ddim mwy i'w wneuthur? Gwnaethost fwy nag yr wyf fi yn ei haeddu, a digon i'm gwneyd yn ddiesgus byth, ond nid digon i ddwyn pechadur ystyfnig drosodd o farwolaeth i fywyd. A oes genyt ti ddim ymgeledd yn ychwaneg, un fendith yn rhagor? a all penarglwyddiaeth a gras ddim myned gam ymhellach gyda hen bechadur cyndyn? Wrth y cyfryw, da genyf ganmawl gras fy Nuw, a dywedyd, Gall, gall! dyma ei wir eiriau ef ei hun: "Myfi a lân buraf dy sothach. Taenellaf arnoch ddwfr glân fel y byddoch lân; oddiwrth eich holl eilunod, ac oddiwrth eich holl frynti y glanhâf chwi. Rhoddaf i chwi galon newydd, ysbryd newydd a osodaf o'ch mewn chwi, a thynaf y galon gàreg o'ch cnawd chwi, a mi a roddaf i chwi galon gîg; rhoddaf hefyd fy Ysbryd o'ch mewn chwi, a gwnaf i chwi rodio yn fy marnedigaethau a'u gwneuthur hwynt; achubaf chwi hefyd oddiwrth eich holl aflendid. Nid er eich mwyn chwi yr ydwyf fi yn gwneuthur hyn, medd yr Arglwydd Dduw; bydded hysbys i chwi; tŷ Israel, gwridwch a chywilyddiwch am eich ffyrdd eich hun." Dyna Dduw yn rhoddi mwy na moddion cymhwys: wele y Gweithiwr Dwyfol ei hun yn dyfod i weithredu: "fy Ysbryd o'ch mewn."

Mi a ddywedaf ymhellach i ti, bechadur: y mae Duw yn addaw gwneyd hyn iddo ef yr hwn âg yr oedd pob moddion arall wedi bod yn aneffeithiol, ac oedd wedi myned i ofni nad oedd dim i'w ddysgwyl ond fod Duw ac yntau yn ymadael â'u gilydd byth. Felly yr oedd rhwng Duw âg Israel. Yr oedd pob peth yn y cyfammod cyntaf at ddïogelu ufudd-dod ond y gras ei hun; ond yr oedd y cwbl yn annigonol. "Ni thrigasant hwy yn fy nghyfammod, minnau a'u hesgeulusais hwythau, medd yr Arglwydd. Ond yn beïo arnynt hwy y dywed efe, Mi a wnâf â thŷ Israel ac â thŷ Judah gyfammod newydd; a hwn yw y cyfammod: Myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt." Yr oedd y cyfammod cyntaf yn myned yn ddiffrwyth, o herwydd nad oedd y gras ei hun ddim yn cael ei roddi (Deut. xxix. 4); ond yn y cyfammod newydd, dyma yr ufudd-dod sanctaidd yn cael ei ddïogelu, o benarglwyddiaeth a gras, pan nad oedd dim yn y pechadur ond pethau i'w beïo. Rhyfedd fel y mae gras Duw yn rhagor amlhâu lle yr amlhäodd pechod! "Am

anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais ac y tarewais ef," medd Duw; "ymguddiais a digiais; ac efe a aeth rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon;" rhagddo yn gildynus er y cwbl. Yr oedd y mab cyndyn ac anufudd i'w rïeni yn Israel i gael ei labyddio yn mhorth ei drigfan. Beth ynte a wneir i'r pechadur sydd wedi troi allan yn gildynus dan law Duw ond ei adael ef byth? Ië, dyna a allesid ei ddysgwyl; ond fel y mae'r nefoedd yn uwch na'r ddaear, uwch yw ffyrdd Duw na'n ffyrdd ni; a dyma a ddywed Duw eto am hwnyna: "Ei ffyrdd a welais, a mi a'i iachâf ef; tywysaf ef hefyd, ac adferaf gysur iddo." Cymer dithau hyn yn gymhelliad i adael dy fai, ac yn annogaeth i ddychwelyd at yr Arglwydd. "O cheisi ef, ti a'i cai; ond os gwrthodi ef, efe a'th fwrw di ymaith yn dragywydd."

# PREGETH VI.

## CYFAILL CRIST YN HUNO, AC I GAEL EI DDIHUNO.

IOAN xi. 11: "Y mae ein cyfaill Lazarus yn huno; ond yr ydwyf fi yn myned i'w ddihuno ef."

Y MAE yn anmhosibl i ddyn brofi cysuron uwch yn y bywyd hwn na theimlo fod Iesu Grist yn gyfaill iddo, ac na bydd angeu iddo yn y diwedd yn ddim amgen na huno yn yr Iesu. Y mae hyn yn beth y dichon i bechadur ei gyrhaedd; oblegid y mae Crist yn gyfaill mewn gwirionedd i'r rhai oll sydd yn credu ynddo, ac y mae efe yn amlygu hyny hefyd. Yr oedd efe, ni a welwn, yn hoff o Lazarus, ac yr oedd pawb yn gwybod ei fod ef yn hoff o hono. Pan y byddo'r saint yn mwynhâu sicrwydd o gyfeillgarwch Crist, mae angeu ei hunan yn colli ei ofnadwyaeth, ac yn ymddangos i'r meddwl nid yn unig yn ddiniwed, ond y pryd hwnw yn ddymunol—yn hûn felus.

Mae'r hanes a geir yma am Lazarus yn cael ei chyflawni yn rhywrai o'n cyfeillion yn barhäus, ac fe'i cyflawnir ynom ninnau. Yn fuan bellach, O ddyn, fe fydd y chwedl yn ymdaenu am danat tithau, 'Mae hwn a hwn yn glaf,' ac yn cael ei dilyn gan y newydd, 'Bu farw Lazarus.' Byddai yn gysur yn wir i ti yn nynesiad marwolaeth gael deall fod dy gyfeillion yn anfon at yr Arglwydd Crist yn dy achos, ac yn gallu dyweyd yn eu gweddïau, "Wele, y mae'r hwn sydd hoff genyt ti yn glaf!" A bydd yn gysur mwy drachefn os byddi yno yn profi ei fod ef ei hun yn dyweyd am danat, "Ein cyfaill." A'th ddedwyddwch annhraethadwy, pan wedi gollwng allan yr anadliad olaf, a fydd i'r Iesu dy gydnabod

gan ddywedyd, "Y mae ein cyfaill yn huno; ond yr wyf fi yn myned i'w ddihuno ef."

Y mae yn yr ychydig eiriau hyn, fel y gwelais sylw gan un gŵr enwog, y swyn mwyaf nerthol yn y byd i leddfu chwerwder marwolaeth, ac i'n gwneyd yn awyddus am fod yn gyfryw ag y gallem feiddio yn ostyngedig eu cymhwyso atom ein hunain. Gallwn weled tynerwch Crist yn ffrydio trwy bob gair. Yn gyffelyb i gyfaill tirion pan yn adrodd newydd trwm i'w gyfeillion: mae yn awgrymu'r peth yn gynnil i ddechreu, ac, wedi parotôi eu meddyliau, yn ei adrodd yn y modd esmwythaf. Nid dyweyd yn safnrwth, "Y mae Lazarus wedi marw;" eithr, "Y mae ein cyfaill Lazarus yn huno; ond yr wyf fi yn myned i'w ddihuno ef." Ac os bu raid iddo ddyweyd yn y diwedd fod Lazarus wedi marw er mwyn gwneyd i'w ddysgyblion ddeall, yr oedd efe wedi tòri'r garw trwy alw ei farwolaeth yn hûn, a sicrhâu y gallai ac y gwnai efe ddihuno ei gyfaill.

Ni a gawn yma edrych ar gysur ac ar obaith credinwyr: bod yn gyfeillion i Grist, huno ynddo, a chael eu dihuno ganddo.

I. Mae credinwyr yn gyfeillion i Grist: "Ein cyfaill Lazarus."

Hawdd yw i ni ddyweyd geiriau fel hyn; ond pwy sydd yn dirnad eu hystyr, yn gweled eu daioni, nes profi yn ddigonol yn y mwynhâd o hyny? Pechadur yn gyfaill i Gyfaill Arglwydd y lluoedd! un o'r Ni tragywyddol oedd yn un mewn cynghor ynghylch ei grëadigaeth, yn awr yn ei natur yn ei arddel yn gyfaill! Mae rhai nad ydynt yn gweled dim yn hyn; maent erioed heb ei ystyried. Mae eraill yn ammheu, yn methu credu fod hyn yn bod, o leiaf gyda golwg arnynt hwy eu hunain. Eto dyma yw y gwirionedd: Mab Duw yn gyfaill pechaduriaid. Dyma efe ei hun yn dyweyd fod Lazarus yn gyfaill iddo; ac yr oedd pawb yn gwybod ei fod yn dyweyd y gwir. Mae Ioan yn dyweyd fod yn hoff gan yr Iesu Lazarus a'i chwïorydd; ac y mae'r chwïorydd eu hunain yn galw eu brawd, "Yr hwn sydd hoff genyt Ti." Ië, yr oedd y gyfeillach yn ffrydio allan mewn dagrau yn ei achos nes dwyn sylw dyeithriaid. "Wele," meddynt, "fel yr oed Efe yn ei garu ef!" Medr Mab Duw dy wneyd dithau, bechadur, yn gyfaill iddo, a gwneyd i dy berthynasau, dy gyfeillion, a dy elynion hefyd, ïe, a thi dy hun, wybod dy fod yn gyfaill iddo.

1. *Mae achos a gwreiddyn y gyfeillach yma ynddo Ef ei hun.* "Nid chwi a'm dewisasoch i, ond myfi a'ch dewisais chwi," medd efe. Nid nad yw y saint yn dewis Crist, ond Efe a ddewisodd yn gyntaf; mae achos eu dewisiad hwy yn ei ddewisiad ef o honynt hwy; ac y maent hwythau yn cydnabod hyny yn y man: "yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." Mae y gyfeillach hon yn gyfeillach neillduol, ac ar seiliau nodedig. Mae wedi ei sefydlu rhwng pleidiau ag oedd unwaith ymhell iawn oddiwrth eu gilydd: Duw yn condemnio pechadur, a'r pechadur yn casâu Duw. Ond wedi i'r hen gyfeillach grëadigol ddarfod yn y cwymp, yr oedd yn Nuw achos cyfeillach newydd, a hòno yn un mwy hyfryd, ac ar seiliau mwy sicr. Ac yn y dull o ddwyn y gyfeillach hon o gwmpas yn ol cynghor tragywyddol Duw, dangosodd Iesu Grist ei hun yn gyfaill digymhar iddynt hwy: ymgymeryd â'u hachos cyn bod y byd; cymeryd eu natur yn nghyflawnder yr amser; er eu mwyn hwy, am eu bod yn gyfranogion o gîg a gwaed, yntau yn dyfod yn gyfranog o'r un pethau. Ac wedi dyfod i'w mysg, gallasai ddyweyd wrth ei Dad yn ngeiriau Dafydd, "Cyfaill ydwyf fi i'r rhai oll a'th ofnant." "Duw oedd y Gair," medd Ioan, "a'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni." Pa sut un oedd efe, Ioan? onid oedd y ddaear a'r nef yn ffoi oddiwrth ei wyneb? O na! yr oedd "yn llawn gras;" cyfaill ydoedd. Yr oedd holl gynneddfau cyfaill ynddo i'r perffeithrwydd eithaf. "Cydymaith a gâr bob amser;" felly yr oedd yntau yn caru bob amser, tywydd têg a garw. Cyfaill ydoedd yn glynu yn well na brawd; yr oedd ei archollion ef yn garedig, a'i geryddon yn ffyddlawn. Dacw fe weithiau yn nhŷ galar, ac weithiau yn nhŷ gwledd; weithiau yn cyfarfod â'i gyfeillion mewn prïodas, ac weithiau mewn cynhebrwng. Ymha gyflwr bynag y byddent hwy, byddai yntau yno yn cydymdeimlo neu yn cydlawenhâu, ïe, yn troi wylofain rhai galarus yn llawenydd. Yr oedd mwynder cyfaill yn ffrydio drwy bob gair ac ymddygiad, nes yr aeth yn enw arno o'r diwedd, "Cyfaill publicanod a phechaduriaid." Mae yn wir fod ei allu a'i awdurdod yn ofnadwy. Mawr allu Duw ydoedd. Ond cymeryd ei allu a wnaeth i gyflawni cymwynasau i'w gyfeillion; llygad i'r dall, a bywyd i'r marw. Yr un Person âg oedd yn meistroli nerth y dymhestl, a chynddaredd cythreuliaid, oedd yn dyddanu'r weddw, yn sychu dagrau y gor-

thrymedig, ac yn cofleidio plant bach. Nid oedd dim yn ormod ganddo i'w wneuthur er mwyn ei gyfeillion. Yn y diwedd, efe a fu farw drostynt. "Cariad mwy na hwn nid oes gan neb, sef bod i un roi ei einioes dros ei gyfeillion." Rhoi ei enw drostynt yn nhragywyddoldeb—rhoi ei ddoethineb, ei allu a'i ddaioni drostynt yn ei oes—a rhoi ei einioes drostynt ar y pren; dyma ei garedigrwydd ef i'w gyfeillion! Pa ryfedd fod yr eglwys yn ymffrostio ynddo, "Dyma fy Anwylyd! dyma fy Nghyfaill!" Wele efe yn gadael ei ogoniant, ei gyfoeth, ei ddedwyddwch, a'i fywyd nefol, am fywyd o warth, tlodi, ymdrech, a dagrau, ac yn y diwedd melldith angeu yn ei holl ofnadwyaeth, a'r cyfan er mwyn ei gyfeillion. "Er eu mwyn hwy yr wyf yn fy sancteiddio fy hun."Ië, gwnaeth hyn oll o'i fodd pan oeddynt elynion, i'w dwyn i ogoniant. Dyma esiampl o gyfaill! "Dyma fy ngorchymyn i," medd efe: "Ar i chwi garu eich gilydd fel y cerais i chwi." A pha fodd yr oedd efe yn caru? "Carodd Crist yr eglwys, ac a'i rhoddes ei hun drosti, fel y sancteiddiai efe hi—fel y gosodai efe hi yn ogoneddus iddo ei hun."

2. *Mae y gyfeillach yn dechreu o'u tu hwy yn eu tröedigaeth a'u hundeb â Christ.* Cyn hyn y maent yn ddyeithriaid a gelynion; dan ddigofaint Duw o ran eu personau, ac o dan lywodraeth gelyniaeth ato o ran eu meddyliau. Ond pan yn credu yn Nghrist, y maent yn cael eu cyfiawnhâu a'u dwyn i ystâd o gyfeillgarwch, ac y mae teimladau cyfeillgar prïodol i'w hystâd yn cael eu cenedlu yn eu calonau trwy eu haileni. "Am hyny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhâu trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist." Pa fodd mae ansawdd y galon? "Gorfoleddu yr ydym hefyd yn Nuw trwy ein Harglwydd Iesu Grist." Fel hyn y daeth Abraham yn gyfaill Duw. Mae yr Arglwydd ei hun yn ei alw felly. "Eithr, tydi, Israel fy ngwas ydwyt ti, Jacob yr hwn a etholais, hâd Abraham fy anwylyd"—*Abraham my friend* (Esa. xli. 8). Pan fyddai yn amgylchiad caled ar yr eglwys, hi a gofiai hyn: "Onid tydi ein Duw a yraist ymaith breswylwyr y wlad hon o flaen dy bobl Israel, ac a'i rhoddaist hi i hâd Abraham dy garedigol, yn dragywydd"—Neu, Abraham dy gyfaill (2 Cron. xx. 7)? Pa fodd y daeth ef i fod felly? "Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder, a chyfaill Duw y galwyd ef." Nid teitl perthynol

iddo ef fel sant enwog oedd hwn, ond fel pechadur yn credu yn Nghrist, a Duw yn maddeu iddo ei bechodau, ac yn cyfrif cyfiawnder Crist iddo, ac felly yn ei godi i dragywyddol gyfeillgarwch âg ef ei hun. Mae pawb sydd yn credu yn Nghrist yn cael yr un cyfiawnder, eu codi i'r un ystâd, ac i fwynhâu yr un cyfeillgarwch. "Yr hyn a welsom ac a glywsom," medd Ioan y Duwinydd, "yr ydym yn ei fynegu i chwi, fel y caffoch chwithau hefyd gymdeithas gyda ni; a'n cymdeithas ni yn wir sydd gyda'r Tad, a chyda ei Fab Iesu Grist." Trwy ffydd yn Mherson, gwaed, ac eiriolaeth Crist, y mae pechadur yn cael ei godi yn gyfaill iddo ef, ac i Dduw ynddo.

3. Wedi eu dwyn hwy fel hyn i ystâd o gyfeillgarwch, mae y *gyfeillach bellach yn myned ymlaen o bob tu.*

Bu Iesu Grist yn hir yn troi yn gyfeillgar o'u cwmpas hwy heb gael dim *return.* Yr oedd ei hyfrydwch ef gyda hwynt yn nhragywyddoldeb, pan nad oedd neb i'w garu ef yn ol. Ac efe a fu farw drostynt pryd yr oeddynt hwy yn elynion. A phan y dechreuodd ymgydnabod â hwy trwy ei Ysbryd, nid oeddynt hwy yn gwneuthur dim ond ei wrthwynebu, hyd nes yr estynodd ei law drwy y twll, y cyrhaeddodd y galon trwy yr ewyllys, nes oedd yr holl ymysgaroedd yn cyffroi er ei fwyn. Bellach dyna gyfeillach wedi dechreu a bery byth. Mae calon Duw a phechadur wedi dyfod i gyd-daro; mae efe mwyach yn aros yn Nuw, a Duw ynddo yntau.

A ydyw cyfeillion yn ymgyfrinachu â'u gilydd? Felly y mae Crist â'r enaid credinol. "Dirgelwch yr Arglwydd sydd gyda'r rhai a'i hofnant ef." "Nid ydwyf mwyach yn eich galw yn weision," medd Iesu Grist; "oblegid y gwas ni ŵyr beth y mae ei Arglwydd yn ei wneuthur; ond mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillion; oblegid pob peth a'r a glywais gan fy Nhad, a hysbysais i chwi." I eraill ar ddammegion y gwneir pob peth, ond y mae y dirgelion yn cael eu dangos i'r cyfeillion. Gall cristion gyfodi o lawer cymundeb â Christ, a dyweyd wrth ei gyfeillion fel Delilah am Samson, "Efe a fynegodd i mi ei holl galon." Dangosodd i mi ogoniant ei Berson, cadernid ei drefn, mawredd ei ras, a goludoedd ei ddaioni; mae ei feddwl genyf; gwn beth mae wedi ei feddwl am danaf erioed; gwn ei farn am danaf yn awr, a beth a wnaiff efe i mi byth. "Mor werthfawr yw dy feddyliau genyf, O

Dduw! mor fawr yw eu swm hwynt!" Maent hwythau yn tywallt eu calonau iddo yntau; yn cyffesu eu pechodau, eu hofnau, eu hymdrechfëydd, a'u dymuniadau—yn adrodd gweithrediadau grasol a llygredig eu myfyrdodau, pethau na fynai eu dadguddio i neb arall. Arglwydd, yr ydwyf yn dy garu di—dy was ydwyf, sydd yn ymroddi i'th ofn—yr ydwyf yn credu, O Arglwydd; cymhorth fy anghrediniaeth—mae fy enaid yn dy ddymuno, ac yn hiraethu am danat, O fy Nuw. Nid yw gras na phechod, yr Ysbryd Glân ar y naill law na Satan ar y llaw arall, yn gweithio yn mynwes y cristion, nad yw efe yn agor y cwbl i Iesu Grist; ac y mae yn dymuno iddo ef ddarllen ei galon, gan lawenychu yn y meddwl ei fod Ef yn gwybod y cwbl. "Arglwydd, chwiliaist ac adnabuost fi. Chwilia fi, O Dduw, a gwybydd fy nghalon; prawf fi, a gwybydd fy meddyliau, a gwêl a oes ffordd annuwiol genyf." Ni fedraf fi ddim adrodd na gwybod yr oll sydd o fy mewn; ond, ti a adwaenost dy was, O Arglwydd Dduw; ti a wyddost fy mod yn dy garu di; gwyddost nad wyf yn dywedyd, Cu genyf dydi, a'm calon heb fod gyda thi.

A ydyw cyfeillion yn ymhyfrydu yn eu gilydd? Felly Crist a'i bobl. Nid yw Llyfr y Caniadau ond amlygiad o'r cymundeb hyfryd sydd rhyngddynt. Canmawl tegwch eu gilydd, dymuno am eu gilydd, ymffrostio y naill yn y llall, y maent trwy y llyfr. "Wele di yn dêg, fy anwylyd," medd efe; "wele di yn dêg." "Wele di, fy anwylyd, yn dêg," meddai hithau; ti sy'n dêg, du wyf fi; hyny o degwch sydd arnaf, dy harddwch di ydyw; ynot y mae hawddgarwch i berffeithrwydd. "Y decaf o'r gwragedd;" ebe efe. "Tecach ydwyt na meibion dynion," ebe hithau. "Megys lili ymysg y drain, felly y mae fy anwylyd ymysg y merched," medd efe. "Megys pren afalau ymysg prenau y coed, felly y mae fy anwylyd ymysg y meibion; bu dda genyf eistedd dan ei gysgod ef; dyma fy anwylyd, dyma fy nghyfaill," medd hi. "Dygaist fy nghalon," medd Crist; "tyred gyda mi; gâd i mi glywed dy lais, gâd i mi weled dy wedd," na fydded dyeithrwch na phellder rhyngom mwy. "Brysia, fy anwylyd," meddai yr enaid; ni fedraf fi ddyoddef pellder; "gosod fi megys sêl ar dy galon, fel sêl ar dy fraich;" gâd i'm pictiwr fod ar dy galon ger bron Duw, ac amlyga gariad dy galon trwy nerth dy fraich i'm henaid. Paham? "Cariad sydd gryf fel angeu;" rhaid iddo

gael ei wrthddrych "fel y bedd," yr hwn a waedda yn ddibaid, Moes, moes; ni chymeraf ddim yn dy le. Dyma i ti drysorau yr Aipht, Moses. Na, mwy golud yn fy marn i yw dirmyg Crist. Dyma einioes, Paul! gwylia ei thaflu ymaith drwy ormod zêl dros Grist a'i efengyl. Na, nid gwerthfawr genyf fy einioes fy hun os gallaf rywfodd fawrhâu Crist; mae meddwl am ei gyfeillach yn peri chwant i'm dattod. Gelli di, Paul, yn fwy na neb ymddiried yn y cnawd; yr wyt yn meddu rhagoriaeth cenedl, llwyth, sect, a buchedd—yn ol y cyfiawnder sydd o'r ddeddf, yn ddiargyhoedd. Nage! "y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist; ïe, yr wyf yn eu cyfrif yn dom fel yr ennillwyf Grist." Ac ar waith yr enaid yn rhoi ei hunan i fyny i Grist, y mae Crist yn yr oll ag ydyw yn eiddo yntau. Bellach y maent yn ymddigrifo yn eu gilydd, ac ni foddlonir y naill na'r llall nes llawn fwynhâu eu gilydd yn nef y nefoedd.

4. Mae Crist yn undeb yr holl eglwys *yn gyfaill i bob un o'r saint.* "Ein cyfaill Lazarus," medd yr Iesu. Nid, *Y* cyfaill. Cyfarchwyd Judas felly. Nid oedd hyny ond dull cyffredin o gyfarch, ac yr oedd yma yn rhy oer gan Grist; yr oedd yma rywbeth neillduol yn gofyn lleferydd mwy tyner. Nid, *Fy* nghyfaill; buasai felly yn cau ei anwyl Pedr, Iago, ac Ioan, a'i gyfeillion eraill, allan o'r gyfeillach. Nid, *Eich* cyfaill. Buasai felly yn ei gau ei hunan allan o'r cyfeillgarwch. Eithr, "*Ein* cyfaill." Y mae Lazarus yn gyfaill i ni oll, a ninnau oll i'n gilydd, ac iddo yntau.

Felly eto, y mae Crist yn gyfaill i'r holl saint, a'r saint iddo yntau, ac i'w gilydd ynddo ef. Un gyfeillach ydyw o ddeheulaw y Mawredd i lawr at y distadlaf yn y tŷ o glai. Mae y saint yn un â Christ, ac yn un â'u gilydd yn Nghrist; ac y mae'r cariad a'r cyfeillgarwch yma, fel gwaed brŵd yn rhedeg o'r galon trwy y cymmalau a'r cysylltiadau drwy yr holl gorff. "Pa un bynag ai dyoddef a wna un aelod, y mae yr holl aelodau yn cyd-ddyoddef; ai anrhydeddu a wneir un aelod, y mae yr holl aelodau yn cyd-lawenhâu." Mae yr holl gorff yn cyd-deimlo â phob aelod, ac "felly y mae Crist hefyd." Y mae amgylchiad neillduol pob un sydd o fewn cylch y cyfeillgarwch hwn yn deffro tynerwch y cyfan, megys y mae yr holl gorff yn cydymdeimlo â'r aelod anmharus. Y mae ein cyfaill yn wrthgiliedig, medd Iesu Grist; ond yr wyf fi yn myned i'w adnewyddu ef. Mae ein cyfaill mewn

temtasiwn; ond yr wyf fi yn myned i wneyd iddo ddïangfa hefyd. Mae ein cyfaill yn dramgwyddedig; ond yr wyf fi yn myned i'w adgyweirio ef. Mae ein cyfaill yn gystuddiol a thrallodus; ond yr wyf fi yn myned i'w ddyddanu ef. "Awn ninnau hefyd," medd yr holl deulu o ran eu hawydd a'u gweddïau. A phan y bydd y Bugail yn dyfod â'r ddafad gyfrgolledig adref ar ei ysgwyddau, y mae ei holl gyfeillion yn llawenhâu gydag ef.

II. Y DARLUNIAD A RYDD CRIST O FARWOLAETH EI GYFEILLION: huno. "Y mae ein cyfaill Lazarus yn huno."

Dull mynych, mae yn wir, o lefaru yn y Bibl am angeu yw hwn; ac fe'i defnyddir yn ddiwahaniaeth am farwolaeth y duwiol a'r annuwiol, eithr yn amlaf am angeu y saint. "Er pan hunodd y tadau. Efe a hunodd gyda'i dadau—Cyrff y saint y rhai a hunasant—Hunasant yn yr Iesu—Huno yn yr angeu."

Y mae yr ymadrodd *yn sefyll am farw yn gyffredinol.* Paham y gelwir angeu yn huno? Am ei fod yn dwyn y corff i agwedd gyffelyb i gwsg. Mae corff marw a chorff mewn cwsg ar wedd debyg i'w gilydd. Pan mae dyn yn cysgu, mae y galluoedd rhesymol a'r synwyrau corfforol wedi eu cloi i fyny, a'r corff yn llonydd a diweithrediad; mae aelodau, synwyrau, blysiau, amcanion, i gyd wedi sefyll. Felly yn angeu, y mae holl allu a gweithrediadau bywyd wedi darfod; mae y cyfan, ar ymadawiad yr enaid, wedi diflanu o'r corff, a'i adael ef megys mewn hûn. Mae y fynwes oedd yn dygyfor drwyddi wedi llonyddu, a'r corff yn gorwedd yn y gwely pridd. Ac felly y mae cysgu a huno yn cael eu harfer am farwolaeth saint ac annuwiolion yr un modd. "Yspeiliwyd y cedyrn galon; hunasant eu hûn," medd y salm sydd yn cyfeirio at ddinystr byddin Senacherib (Psalm lxxvi.). "Llawer o'r rhai sydd yn cysgu yn llwch y ddaear a ddeffröant, rhai i fywyd tragywyddol, a rhai i warth a dirmyg tragywyddol." Pan y mae yr annuwiol yn cysgu mae ei holl drafodaeth ddrwg wedi llonyddu. Pa le y mae yr amcanion maleisus, y dychymyg anwiredd, y nwydau dieflig, a'r chwant pechadurus? Mae cwsg wedi hysio y cyfan am y fynyd; ond deffröwch ef, yr un un ydyw. Felly pan yn marw, "ei anadl a ä allan, efe a ddychwel i'w ddaear, y dydd hwnw y derfydd am ei holl amcanion ef." "Yna yr annuwolion a beidiant â'u cyffro." Ond pan y deffröir hwy o'r bedd gan y Duw byw, annuwolion eto a fyddant; yn feilchion, yn faleisddrwg, yn

elynol i Dduw y ceir hwy fel cynt; a phe y caent fod yn hollol yn yr un amgylchiadau wedi dyfod allan o'r bedd a chyn myned iddo, byddent byw eto yr un modd.

Yn fwyaf prïodol, y mae yr ymadrodd hwn *yn cael ei arfer ynglŷn â'r saint*, ac am danynt hwy fynychaf. Pa beth a fynai Iesu Grist i'w gyfeillion ddysgu er eu cysur oddiwrth yr enwad tyner hwn ar eu marwolaeth?

1. Dengys mai *nid marwolaeth yn ei gwir a'i llawn ystyr yw eu hangeu hwy*, pa mor debyg bynag ydyw iddo. Y mae cwsg yn debyg i farwolaeth naturiol, ond y mae annhraethol wahaniaeth rhyngddynt; felly mae angeu y saint yn debyg i farwolaeth, ond nid marwolaeth ydyw; y mae yn dwyn rhywbeth o ddelw y farwolaeth fygythiol am bechod, ond y mae digon o wahaniaeth. Pe baech chwi yn dirnad beth yw angeu yn ei wir ystyr, ac yn dirnad y farwolaeth y mae'r cristion yn ei phrofi, gyda'i ddïogelwch ynddi, ei obaith a'i gysuron oddi dani, a'i ddedwyddwch wedi myned trwyddi, chwi a ddywedech uwchben ei fedd ef, "Nid marw efe, eithr cysgu y mae." "Gan farw ti a fyddi farw." Beth sydd yn y bygythiad hwn? Duw a ŵyr. Crist a ŵyr. Y damnedigion wyddant. Ond ni chaiff y saint wybod byth. Y mae yn y marw hwnw, bechadur, drueni cyfled â dy natur, a chyhyd â dy hanfod—lladd corff ac enaid—llon'd amser a thragywyddoldeb o anobaith, anghysur, a gwae. Un gair mawr am ddigofaint Duw o herwydd pechod yw marwolaeth. Y gwpan a yfodd Crist oedd marwolaeth brïodol ei galw yn farwolaeth; ond ni archwaetha y saint mo honi byth. "Ni bydd marw yn dragywydd." *He shall never die.* Paham? Am nad oes dim damnedigaeth iddo. Mae ei angeu wedi ei ddiddymu, a bywyd ac anllygredigaeth wedi ei ddwyn i'w feddiant trwy Grist. Yn mherson eu Cynnrychiolwr yn unig y mae credinwyr wedi marw. Os bu un farw dros bawb, yna bu pawb farw, sef marw ynddo ef, a rhai byw ydynt byth mwy. Beth sydd yn eu haros yn eu personau eu hunain? Huno yn yr Iesu. "Os ceidw neb fy ymadrodd i," medd yr Iesu, "ni wêl efe farwolaeth yn dragywydd." Efe a wêl ysgar corff âc enaid—efe a wêl roddi y tabernacl hwn heibio—efe a wêl y casglu at ei bobl; "ond ni wêl farwolaeth yn dragywydd." Anhawdd iawn i'r rhai sydd yn barnu wrth y golwg gredu hyn. Golwg lewaidd sydd ar angeu. Ië! ond angeu cristion, llew wedi

marw ydyw; ein Samson galluog a'i lladdodd ef; ac yn ei law dacw mêl o'r hen ysgerbwd i lawenychu ei ddydd dyweddi ef.

2. Wrth alw marwolaeth yn huno, mae Crist yn dangos, megys y mae efe wedi tynu y niwed o angeu y saint, felly y *mynai dynu ei ofn o'u meddyliau.* Nid oedd gan y dysgyblion un syniad fod yr Iesu yn golygu peth mor ofnadwy âg angeu wrth enw mor dyner â huno. Meddylient hwy mai am hûn cwsg yr oedd efe yn dywedyd. "Os huno y mae, efe a fydd iach," meddynt. Na, medd yntau, "bu farw Lazarus."

Ni buasai ein teimladau ninnau byth yn ein dysgu i roi y fath enw â huno ar angeu. Ond dyma enw angeu y saint yn y Bibl; ac fel y mae ei enw, felly y mae yntau; ac y mae y Gwaredwr am i ti, gristion, gredu a phrofi hyny. Ië, pe byddit yn cyfarfod âg ef yn y wedd fwyaf ofnadwy, ni wnai hyny ddim gwahaniaeth. "Yr wyf yn dywedyd wrthych, fy nghyfeillion, Nac ofnwch y rhai sydd yn lladd y corff, ac wedi hyn heb ganddynt ddim mwy i'w wneuthur." Dyna yr angeu mwyaf ofnadwy yn ddïau; angeu trwy lofruddiaeth neu ferthyrdod; rhoi naid mewn mynyd o ganol bywyd, iechyd, a nerth, i dragywyddoldeb drwy ddirfawr boenau yn nghanol mwrddwyr creulawn heb un cysur daearol. Eto y mae Mab Duw yn dyweyd, "Nac ofnwch, fy nghyfeillion;" huno ydyw hyn i chwi. Felly y profodd Stephan wrth drengu. Yr oedd ei elynion yn ffròmi, yn ysgyrnygu dannedd arno, ac mewn cynddeiriogrwydd yn rhuthro yn unfryd arno, yn ei lusgo allan o'r ddinas, ac yn ei labyddio â meini. Beth a ddaeth o Stephan? Nid yw ond yn *composio* ei hunan i gysgu. Wedi tawel syllu ar ogoniant Duw, a'r Iesu ar ei ddeheulaw, mae yn gorchymyn ei ysbryd i'w law, yn dymuno maddeuant i'w lofruddwyr, ac yn huno! Medr Crist ddyfod â'n hysbrydoedd ninnau yn mlinderau bywyd i ddyheu am y bedd; canys y mae profedigaethau einioes, mewn cysylltiad â gobaith yr efengyl, yn ein cymmodi â marw, ïe yn ennyn ynom chwant i'n dattod. Gan obeithio yn Nghrist, gall y cristion edrych ar y bedd, a dywedyd, "Mewn heddwch hefyd y gorweddaf ac yr hunaf, canys ti, Arglwydd, a wnei i mi drigo mewn dïogelwch." Câf yno orphwys a huno; a phob temtio, poeni, pechu, wedi darfod. A'r bore mawr, wedi ei adfywio, efe a ddywed, "Mi a orweddais, ac a gysgais, ac a ddeffröais; a melus oedd fy hûn genyf."

3. Geilw Crist farwolaeth yn huno, *er mwyn sancteiddio a chymedroli ein galar am ein cyfeillion ymadawedig.* "Y mae ein cyfaill yn huno." Nid oes neb na dim wedi colli; o herwydd y mae deffro i fod ar ol huno. "Os ydym yn credu farw Iesu a'i adgyfodi, felly y rhai a hunasant yn yr Iesu, a ddwg Duw hefyd gydag ef." Y mae o bwys i ni wybod a deall hyn. "Ni ewyllysiwn, frodyr, i chwi fod heb wybod am y rhai a hunasant." Paham y mae hyny mor ddymunol? Fel "na thristäoch megys eraill, y rhai nid oes ganddynt obaith;" dim gobaith am eu meirw. Ond y mae genych chwi obaith gogoneddus am eich cyfeillion ymadawedig. "Canys yr udgorn a gân, a'r meirw a gyfodir yn anllygredig, a ninnau a newidir. O herwydd rhaid i'r llygredig hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb. A phan ddarffo i'r llygredig hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb, yna y bydd yr ymadrodd a ysgrifenwyd, Angeu a lyncwyd mewn buddugoliaeth." A chenych y gobaith hwn, paham y gwnewch gynhwrf ac yr wylwch ar ol dyn duwiol? ni bu farw eich câr a'ch cyfaill, ond cysgu y mae. Chwi a ryfeddech weled teulu yn wylo o gwmpas gwely tad neu frawd, pan y byddai efe yn cysgu yn dawel. 'Ah! ei lais peraidd, ei dymher fwyn, ei eiriau melus! ni chawn byth ei glywed ef mwyach!' Cewch, cewch! onid cysgu y mae efe? pan ddeffry, yr un un a fydd ef, heb golli dim ond ei anhwyl a'i ludded. Mor ddisail â hyny a fyddai i ninnau edrych ar gorff un o'n cyfeillion duwiol ar yr astyllen yn welw, a gofyn yn wylofus, O pa le y mae'r doethineb a fu yn llewyrchu y wyneb yma? pa le y mae'r ffydd a'r cariad a welsom yn pelydru yn ei lygaid? pa le y mae'r nefolrwydd a welsom yn gwneyd ei wyneb pan mewn dyledswydd fel wyneb angel? A ydyw hyny wedi diflanu am byth? Na! cysgu y mae efe; pan y deffry, byddant ynddo eto i'w canfod, a'u canfod mewn perffeithrwydd.

Mynych y mae cristion cywir, bywiog ei ysbryd crefyddol, yn disgyn i gwsg naturiol dan addoli ei Dduw. Teimla fel y Salmydd, "A'm genau a'th fawl â gefusau llafur, pan y'th gofiwyf ar fy ngwely; myfyriaf am danat yn ngwyliadwriaethau y nos. Bendithiaf yr Arglwydd yr hwn a'm cynghorodd; fy arenau hefyd a'm dysgant y nos." Ond pan yr huna yn ei orweddfa, dyna yr holl ddefosiwn yn pallu am y tymmor; mae'r cwbl wedi dystewi; nid

oes ffydd na chariad yn gweithio. Ond y fynyd y bydd yn deffro, wele efe yn yr un dymher sanctaidd âg yr aethai ynddi i gysgu. "Pan ddeffröwyf, gyda thi yr ydwyf yn wastad. Clodforaf di â'm holl galon; yn fore yr achub fy ngweddi dy flaen." Fel hyna, yn gyffelyb, dyna gristion yn syrthio i angeu dan addoli. "I'th ddwylaw di y gorchymynaf fy ysbryd. Llawenychodd fy nghalon, ac ymhyfrydodd fy ngogoniant; fy nghnawd hefyd a orphwys mewn gobaith." A'r mynyd y deffry yn more yr adgyfodiad, bydd ynddo yr un dymher addolgar. Bydd pob gwendid, methiantwch, cystudd—pob peth ynglŷn â llygredigaeth oedd yn perthyn i'r corff, a phob anmherffeithrwydd yn y meddwl—wedi eu colli; ond y cyfan oedd hoff ac anwyl, pur a daionus, hwy a fyddant ynddo eto. "Am hyny dyddenwch eich gilydd â'r ymadroddion hyn."

III. Sicrwydd y dihuno gogoneddus: "Yr wyf fi yn myned i'w ddihuno ef."

Gallwn gredu fod Crist eto yn dywedyd hyn am bob un o'r saint, mor fuan âg yr elo ei anadl allan: Dacw un o'm brodyr yn ychwaneg wedi huno; ond yr wyf fi yn myned i'w ddihuno ef. I Fab Duw nid ymddengys yr amser rhwng marwolaeth cristion yn awr â'r adgyfodiad y dydd diweddaf ddim hŵy na'r pedwar diwrnod a aethai heibio cyn dihuno Lazarus; oblegid nid yw mil o flynyddoedd gydag ef ond megys un dydd. A phan elo ein heneidiau ninnau ato ef i'r nefoedd, dichon mai yr un fath âg yntau y byddwn ni yn cyfrif amser yno. A pha fodd bynag am hyny, a pha fath bynag a fydd ein hystâd yn y cyfwng, gallwn fod yn sicr na fydd ynom yn mharadwys Duw ddim ymwybodolrwydd o oediad, ac na flinir yn dysgwyl; bydd gwanychdod calon am y gobaith a oedir drosodd byth.

Nid yw yr oll a wneir gan Iesu Grist bellach ond pethau a gyflawnir ganddo ar ei ffordd i ddihuno ei bobl. Galw yr Iuddewon, cwympo Babilon, rhwymo Satan, llanw y byd âg efengyl,—fe wna'r cyfan ar ei ffordd i ddihuno ei gyfeillion. Dyma a fydd ei orchest olaf ef fel Cyfryngwr. Ar ol dihuno ei holl gyfeillion o'u cwsg yn llwch y ddaear, efe a rydd i fyny y deyrnas i Dduw a'r Tad; "canys rhaid iddo deyrnasu hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed; a'r gelyn diweddaf a ddinystrir yw yr angeu."

"Yr wyf fi yn myned i'w ddihuno ef." Dihuno i ba beth a

fydd dihuniad y 'cristion yn nydd Crist? Dihuno i fwynhâu digonolrwydd llawenydd—i gael ei gyflwyno yn ddifeïus ger bron Duw mewn gorfoledd—i glywed y ddedfryd ddedwyddol, "Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas"—i dderbyn y tâl oedd yn addawedig yn adgyfodiad y rhai cyfiawn—i wisgo anfarwoldeb, nerth, anllygredigaeth, a gogoniant—i'w ddwyn o ran ei holl ddyn i ystâd âg y bydd Duw iddo oll yn oll.

Gan fod y fath ogoneddus bethau yn cael eu dywedyd am gyfeillion Crist, holed pob un ef ei hun a ydyw o fewn cylch y cyfeillgarwch gwynfydedig hwn. Os oes i ti, fy enaid, gyfran yn y gyfeillach hon, ti a wyddost rywbeth am dy ddwyn iddi i ddechreu; yr oedd ynot argyhoeddiad o'th ddyeithrwch oddiwrth Grist, ac o'i ragoriaeth a'i ogoniant yntau, a thi a ennillwyd i'w garu, ac i ymgyflwyno iddo. Os wyt yn cyfeillachu â'r Iesu, y mae'r fath gyfeillach yn peri i'th wyneb ddysgleirio; y mae ei heffeithioldeb yn puro dy galon, yn llarieiddio dy dymher, yn tynu dy serch o'r byd, ac yn dy newid fwyfwy i ddelw Crist dy gyfaill. Os gwyddost am fwynhâu y gyfeillach hyfryd, oruchel, sanctaidd hon, gwyddost fod chwerwder, llid, dig, a llefain, a chyflawni unrhyw fai, yn ei haflonyddu, ac mai ar dir addef a gadael y bai, ymadnewyddu i edifeirwch, gan geisio maddeuant yn nhrefn yr efengyl, ei ceir drachefn ar ol unwaith ei cholli. Os wyt yn gyfaill i Grist, yr wyt yn dywedyd gyda Paul, "Byw i mi yw Crist," neu, I mi i fyw, Crist. Y *business* mawr sydd genyf yn y byd yw byw iddo ef; y bywyd a gefais ganddo a gaiff fod yn fywyd o ymroddiad iddo. Y mae o'r gwerth mwyaf yn awr, ac fe'i canfyddir yn fuan o bwys tragywyddol, ein cael yn gyfeillion i Grist. Digysur a digalon y cyfrifir amgylchiad y dyn hwnw a fydd wedi ei ddal gan anhawsderau o ansawdd arianol, y gofynion arno yn ddirfawr, ac yntau heb fodd i'w hateb, ac heb ganddo gyfaill a all neu a wna ei gynnorthwyo. Ond am un arall mewn amgylchiad cyffelyb, y gofynwyr yn pwyso arno, ac efe ar y pryd yn analluog i'w boddloni, yr ymgymeriad sydd ganddo yn ormod iddo ef i'w ddwyn ymlaen, efe a welir eto yn dal i fyny; canys, meddir, y mae ganddo gyfaill neu gyfeillion abl a pharod i sefyll yn gefn iddo. "Gwae yr anwir, drwg fydd iddo;" pan ddêl arno yr hyn y mae yn ei ofni megys dystryw, byd yn cilio, corff yn trengu, enaid yn

myned i ŵydd Duw ei Farnwr, ni bydd ganddo ef gyfaill i sefyll o'i du. Ond "dywedwch mai da fydd i'r cyfiawn" ymhob amgylchiad: y mae pob peth yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw, a'r angeu sydd yn drosglwyddfa o'r naill fyd i'r llall, dan awdurdod ei Gyfaill goreu ef; ac un yw hwnw a wna i bob peth gydweithio er daioni ei gyfeillion. Bechadur, oni ddywedi o hyn allan?—

"'Rwy'n dewis Iesu a'i farwol glwy'
Yn Ffrynd a Phriod i mi mwy;
Ef yn Arweinydd, Ef yn Ben,
I'm dwyn o'r byd i'r nefoedd wèn."

"Dyma fy Anwylyd, dyma fy nghyfaill!" "Y Duw hwn yw ein Duw ni byth ac yn dragywydd; efe a'n tywys ni hyd angeu."

## PREGETH VII.

### Y LLYWIAWDWR A'R OFFEIRIAD RHYFEDDOL.

JEREMIAH xxx. 21: "A'u pendefigion fydd o honynt eu hun, a'u llywiawdwr a ddaw allan o'u mysg eu hun; a mi a baraf iddo nesâu, ac efe a ddaw ataf; canys pwy yw hwn a lwyr roddodd ei galon i nesâu ataf fi? medd yr Arglwydd."

YR oedd Jeremiah erbyn y cyfnod yr oedd yn ysgrifenu hynyma wedi gweled llawer o'r pethau oedd wedi eu rhagfynegu ganddo wedi dyfod i ben, a daroganau gwenieithgar y gau-brophwydi wedi troi allan yn gelwyddog a siomedig. Am hyny yr oedd y genedl wedi cael mantais ychwanegol i wybod pwy oedd y gau a'r gwir brophwydi; ac eto yr oeddynt yn barotach o hyd i gredu ffalsedd y naill na gwir air Duw o enau y llall. Yr oedd y naill yn dyweyd y goreu, a'r llall yn dyweyd y gwir; un blaid yn addaw pob heddwch a llwyddiant iddynt yn eu pechodau, a'r blaid arall yn bygwth barnedigaethau yr Arglwydd arnynt am eu pechodau; ac yr oeddynt hwy yn credu y peth oedd nesaf at eu harchwaeth eu hunain. Wele hwynt yn mawrhâu y gau-brophwydi, ac yn cofleidio eu celwyddau, yn unig am eu bod wrth eu bodd; ac o'r ochr arall yn erlid Jeremiah, ac yn taeru yn groes i'w cydwybodau mai celwydd a lefarai yn enw yr Arglwydd, heb un rheswm i brofi hyny ond yn unig nad oedd efe yn llefaru yn ol eu hewyllys hwy! Fel hyn yr oeddynt yn gosod eu gobaith ar gelwydd, yn llechu dan ffalsder, yn dyweyd wrth y prophwydi, Na phrophwydwch i ni bethau uniawn; traethwch i ni weniaith, prophwydwch i ni siomedigaeth. Ac yr oeddynt hwy a'u pro-

phwydi yn glynu yn y twyll hwn hyd y diwedd, ac yn para i wrthddywedyd ac erlid Jeremiah, er iddynt gael profion parhäus ei fod yn dyweyd y gwir. Yr ydoedd yn rhy ddiweddar bellach i wenieithio iddynt eu hunain nad aent i Babilon. Yr oedd eu brenin, eu tywysogion, a miloedd o'u cydgenedl yno eisoes. Am hyny dechreuent ymwenieithio i'w gilydd y caent eu dychwelyd yn ebrwydd o Babilon, a dwrdio Jeremiah am ddywedyd y byddai y caethiwed yn hir.

Felly y mae yr Arglwydd yn cyfarwyddo y prophwyd i anfon at y gaethglud i Babilon i'w cynghori i beidio cymeryd eu twyllo gan y gau-brophwydi, ac i ymdawelu am dymmor eu caethiwed; ac y mae yn ei ddysgu hefyd i ragfynegu gwir amser y dychweliad o Babilon, yr hwn a nodwyd ganddo mor amlwg nes y gwybu Daniel ymhen blynyddoedd ar ol hyn fod yr amser wedi dyfod i ben (Jer. xxix. 5—14; Dan. ix. 2). Ac yn y bennod hon, y mae efe yn tòri allan mewn hwyl nefolaidd i adrodd fel y byddai Duw yn eu mawrhâu ac yn eu bendithio yn y dyddiau hyny. "Nac ofna di, O fy ngwas Jacob, medd yr Arglwydd, ac na frawycha di, O Israel, canys wele mi a'th achubaf di o bell, a'th hâd o dir eu caethiwed; a Jacob a ddychwel ac a orphwys, ac a gaiff lonydd, ac ni bydd a'i dychryno." Mae Duw yn addaw eu llïosogi a'u hanrhydeddu—adeiladu Jerusalem ar ei charnedd—sefydlu y llŷs, y deml, a'r addoliad yn ol eu harfer,—eu llwyddo gymaint, yn dymmorol ac ysbrydol, nes y byddai moliant a llais gorfoledd yn myned allan o'u hanneddau. Ac fel rhan o'r bendithion arbenig ag oedd gan Dduw yn nghadw i'w bobl, mae yn addaw tòri iau dyeithriaid gorthrymus oddiar eu gwàrau, ac y caent eto eu llywodraethu gan dywysogion o'u cenedl eu hunain. Ceir y brophwydoliaeth hon yn gydunol â'r hyn a ragddywed Esaiah ar yr un mater, sef y byddai i'r Arglwydd, ar ol glân buro y genedl, a thynu ymaith ei holl alcam â'i law farnol, adferu hefyd ei barnwyr fel cynt, a'i chynghoriaid megys yn y dechreuad (Esa. i. 25—27). "A'u pendefigion," medd yr Arglwydd trwy Jeremiah, "fydd o honynt eu hunain, a'u llywiawdwr a ddaw allan o'u mysg eu hun." Ië, nid yn unig caiff eu llywyddion fod o'r genedl, ond byddant hefyd o Dduw, neu yn enwog mewn duwioldeb: "Mi a baraf iddo nesâu, ac efe a ddaw ataf, medd yr Arglwydd."

Nid anmhrïodol nac anfuddiol a fyddai i ni, cyn myned ymhell-

ach, edrych ar addewid neu brophwydoliaeth werthfawr y testun fel y cafodd ei chyflawni i'r eglwys Iuddewig ar ddychweliad y bobl o Babilon. Yr oeddynt hwy wedi bod yn hir dan iau galed estroniaid, ond yn awr yr oedd y llywiawdwyr o honynt eu hun. Yr oedd Moses wedi eu cyfarwyddo a'u gorchymyn i osod arnynt frenin o fysg eu brodyr; ac felly y gwnaethant yn Dafydd, "eu hasgwrn a'u cnawd." Yn awr, wele hwy drachefn yn cael eu dychwelyd at yr Arglwydd eu Duw a Dafydd eu brenin. Dyma hiliogaeth Dafydd eto yn blaenori yn eu mysg, a'r penaf o'r rhai hyn oedd Zorobabel. Yr oedd ei daid Jeconiah wedi bod yn frenin Judah, a Salathiel ei dad yn cael ei gydnabod yn dywysog y genedl yn Babilon. A phan gyhoeddodd Cyrus eu rhyddid, aeth miloedd o honynt o dan arweiniad eu tywysog Zorobabel, a Josua yr archoffeiriad, i fyny i'w gwlad eu hunain. Yr oedd y ddau ŵr hyn wedi llwyr roddi eu calon i nesâu at Dduw. Y mae Zechariah yn gweled y ddau dan ymgeledd gras Duw: y naill â'r gàreg alcam yn ei law yn prysur adeiladu teml yr Arglwydd, a'r llall wedi ei wisgo â newid dillad, a meitr têg ar ei ben, yn nesu at Dduw fel archoffeiriad ei eglwys; a'r ddau fel dau bincyn olewydden wedi eu heneinio a'u donio i sefydlu eu cenedl mewn llwyddiant i adferu hen wasanaeth eu Duw oedd wedi myned i lawr er ys llawer blwyddyn. O Dduw yn gwbl yr oedd hyn. "Hyn yw gair yr Arglwydd at Zorobabel, Nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd i, medd Arglwydd y lluoedd." Nid gallu milwraidd na gwladol yw eich nawdd, ond "fy Ysbryd i." Hwn a gyffrôdd ysbryd Cyrus i gyhoeddi gollyngdod, ac a gynhyrfodd eich ysbryd chwithau i godi adref, ac a gynhyrfa eich ysbryd eto i waith y deml mewn haelioni, ymroddiad, a gwroldeb. "Pwy wyt ti, y mynydd mawr? ger bron Zorobabel y byddi yn wastadedd; ac efe a ddŵg allan y maen penaf, gan waeddi, Rhad, rhad iddo!"

Felly yn llyfr Ezra, cawn hanes am y gwŷr hyn. Càn gynted ag y daethant i wlad Judah, y peth cyntaf a wnaethant, mi dybiwn, oedd myned i dŷ yr Arglwydd, ac ar ei garnedd offrymu yn ol eu gallu o wirfodd eu calon i'w gyfodi yn ei le (Ezra ii. 68, 69). Tan olygiad Zorobabel a Josua, adsefydlwyd addoliad Duw, adeiladwyd yr allor ar ei hen sylfeini, a dechreuwyd offrymu arni yr aberthau gwastadol a misol, a chyrchwyd yr holl bobl fel un gŵr i Jerusalem ar yr amser nodedig i gadw gwyl y pebyll. Dyna

hwy yn parotôi yn ddiaros at godi'r deml, gan gyflogi seiri maen a choed, a gwŷr o Tyrus a Sidon i ddwyn coed a defnyddiau. Ac yn yr ail flwyddyn, wele hwy oll yn gyttun yn sylfaenu teml yr Arglwydd gyda chaniadau a mawl a llef gorfoledd; ac er ymollwng, a chael eu rhwystro yn y gwaith dros dymmor, eto dacw eu hysbrydoedd yn cael eu cynhyrfu gan yr Arglwydd trwy Haggai y prophwyd i orphen y gwaith nes o'r diwedd ddwyn allan y maen penaf, yn ol gair Zechariah, gan waeddi, Rhad, rhad iddo! Ac wedi i'r rhai hyn wasanaethu eu cenedlaeth, a huno gyda'u tadau, codwyd Nehemiah ac Ezra i ddwyn y gwaith ymlaen: y naill yn adgyweirio mûr Jerusalem, a'r llall yn trefnu ac yn casglu ysgrythyrau yr Hen Destament, yn darllen ac egluro y gyfraith, a sefydlu dysgyblaeth a pherffeithio yr addoliad. Ac O mor ymroddgar yr oeddynt! Duw oedd wedi peri iddynt. "Y peth a roddasai fy Nuw yn fy nghalon ei wneuthur yn Jerusalem," medd Nehemiah. Yr oedd efe yn methu bod yn dawel yn mreninllys Susan gan feddwl am yr olwg anrheithiedig ar hen ddinas Duw; ac yr oedd yr un ysbryd yn syrthio ar y bobl, nes bod pawb yn codi ei ddarn o'r mûr, yn gwylio a gweithio nos a dydd heb ddyosg eu dillad, am fod ganddynt galon i weithio o dan olygiad y fath ddynion.

Trwy hyn oll, yr oedd cyfiawnder Sïon yn myned allan fel dysgleirdeb, a'i hiachawdwriaeth hi fel lamp yn llosgi. Gwelai Zechariah hi fel canwyllbren â'i lusernau yn goleuo, a'i gangenau yn y synagogau, lle darllenid y Bibl, yn estyn dros y tir. Rhaid fod llawer enaid duwiol wedi mwynhâu cymdeithas helaeth â Duw yr amseroedd hyn. Cawn hwy yn fynych wedi eu gorlenwi o lawenydd. "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion," meddynt, "am hyny yr ydym yn llawen (Psalm cxxvi.). Dyma ni wedi ein dwyn yn ol i'n gwlad, ein teml wedi ei hadeiladu, ein tywysogion a'n hoffeiriaid yn eu swydd, a'r cwbl yn garedigrwydd Duw ein tadau, ac yn wystlon pethau mwy, a ninnau wedi ein gweithio i ddarfod â'r hen eilunod, ac i lwyr roddi ein calon i nesâu at ein Duw.

Yn wir, pe byddai genym ninnau yn awr fwy o ffydd, ni a gnöem ein cil yn amlach ar hen waredigaethau eglwys Dduw. Fe allai y gwelwn amser eto ar ein personau, ac ar yr eglwys, âg y bydd yn dda genym gofio ei wyrthiau gynt. O fy enaid, myfyria

ar ei hen weithredoedd Ef. Mae y doethineb, y cariad, a'r gallu a'u cyflawnodd, yn eiddot ti. Gwêl beth all ef ei wneyd i ti yn yr hyn a wnaeth efe iddynt hwy, ei Israel gynt. Medr dy ddwyn dithau o'r Aipht ac o Babilon. O fel y mae'r Salmydd yn rhedeg dros hen wyrthiau a rhyfeddodau Duw mewn gorfoledd, ac yn y cwbl yn cofio ac yn canmawl fod ei drugaredd yn dragywydd (Psalm cxxxvi.). Mae cofio hyn yn peri fod *pickings* melus eto ar ben yr hen lefiathan a roes Duw yn fwyd i'r bobl yn yr anialwch, ac y ceir ail ganu am agor y môr, a chlodfori drachefn am dòri'r dôrau prês a dryllio'r bàrau heiyrn. Teimlo ein hunain yn yr un cymundeb â'r holl eglwys, ac â'i Duw, yr hwn sydd yr un iddi ymhob cenedlaeth ac oes, a bair i ninnau lawenychu yn ei holl orchwyliaethau.

Bellach, gan adael yr eglwys Iuddewig, ni a gawn edrych ar brophwydoliaeth y testun, fel y mae yn cael ei chyflawni i holl eglwys Dduw drwy yr oesoedd yn Nghrist, ac yn a thrwy yr eglwys yn ngwasanaeth ac addoliad yr efengyl.

I. Edrychwn ar brophwydoliaeth y testun FEL Y MAE YN GYFLAWNEDIG I NI YN NGHRIST.

Y mae yma, mae yn ddïau, gyfeiriad at y Messïah; oblegid byddai y prophwydi, ac felly Jeremiah, yn llithro oddiwrth bob gwaredigaeth at Grist a'r iachawdwriaeth drwyddo. Dyma goron holl ffafrau Duw i'w bobl; at hyn yr oedd holl oruchwyliaethau eglwys yr hen destament yn tynu; ac heb y waredigaeth drwyddo ef, nid oedd dim gwir ddaioni yn y gwaredigaethau eraill.

1af. *Dyma Lywiawdwr neu Frenin ei eglwys.*

Y mae i'r Duw mawr yn ei holl Bersonau lywodraeth hollol a thragywyddol ar bawb a phob peth. Ond pan dòrodd gwrthryfel allan yn llywodraeth naturiol Duw, a thrwy hyny gyfansoddi gallu a theyrnas wrthwyneb iddo dan lywodraeth Satan, pen a gwreiddyn y gwrthryfel, fe osododd Duw ei Fab fel Cyfryngwr yn Frenin, er mwyn dinystrio teyrnas Satan, ac adferu pechaduriaid o'i feddiant ef, a'u dwyn yn ol at Dduw. Ac am fod hyny yn anmhosibl heb i'r Cyfryngwr roddi iawn i Dduw, efe a gymerodd ein natur, ac a seiliodd ei deyrnas yn ei waed ei hun. Fel Hâd y wraig yr oedd efe i ysigo pen y sarph ar y groes. Hâd Abraham oedd i feddiannu porth ei elynion a bendithio y cenedloedd. Hâd Dafydd oedd i fod yn gynfab, goruwch breninoedd y ddaear, a'i orsedd-

fainc fel dyddiau y nefoedd—fel yr haul ger bron Duw. Yr oedd meddwl ei fod ef ar ei orsedd gyfryngol yn eu dyddiau hwy yn llawenydd i'r prophwydi sanctaidd. "Cenwch fawl i'n Brenin, cenwch! Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu; gorfoledded y ddaear; llawenyched ynysoedd lawer." Ond meddwl am ei ddyfodiad i'r cnawd oedd yn dryllio eu calon mewn awydd a gorfoledd (Esa. ix. 6, 7). Mor gyffredin oedd y dysgwyliad am dano yn y byd, fel, pan ymddangosodd y seren ryfedd hòno uwch ben Judea, fod doethion y dwyrain yn gwybod mai ei seren ef ydoedd.

O'r diwedd, daeth y Messïah; ac er ei eni mewn amgylchiadau isel, eto yr oedd ei enedigaeth yn ysgwyd y nefoedd a'r ddaear. Yr oedd yr angel Gabriel yn ei gyhoeddi yn Frenin. "Iddo y rhydd yr Arglwydd Dduw orseddfa ei dad Dafydd; ac efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd, ac ar ei freniniaeth ni bydd diwedd." Yr oedd y doethion yn ei addoli, nid yn gymaint fel Brenin yr Iuddewon, ond fel Etifedd y byd, pen yr holl genedloedd, ac iachawdwriaeth Duw hyd eithaf y ddaear. "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad," medd efe ei hun. "Y Tad a roddes bob barn i'r Mab. Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear." Er cerdded y ddaear, heb le i roddi ei ben i lawr, yr oedd yr holl grëadigaeth yn ymostwng ac yn talu gwarogaeth iddo. "Pa ryw un yw hwn," ebe y dysgyblion, "gan fod y gwyntoedd hefyd a'r môr yn ufuddhâu iddo!" "Beth yw hyn?" medd y bobl; "canys trwy awdurdod y mae efe yn gorchymyn, ïe, yr ysbrydion aflan, a hwy yn ufuddhâu iddo!" Hawdd y gallasai hebgor mawredd y byd hwn, pan yr oedd holl natur yn ei goroni, agoriadau uffern a marwolaeth wrth ei wregys, a phawb, ond Duw ei hun, wedi eu darostwng iddo. Ac wedi marw i wneyd ei hawl yn dda i'w arglwyddiaeth, efe "a fu byw drachefn, fel yr arglwyddiaethai ar y meirw a'r byw hefyd." Esgynodd yn y natur ddynol goruwch yr holl nefoedd, a'i Dad "a'i gosododd i eistedd ar ei ddeheulaw ei hun yn y nefolion leoedd, goruwch," ïe, ymhell goruwch, "pob tywysogaeth, ac awdurdod, a gallu, ac arglwyddiaeth, a phob enw a enwir, nid yn unig yn y byd hwn, ond hefyd yn yr hwn a ddaw."

"Pan fyddo yr annuwiol yn llywodraethu," medd y gŵr doeth, "y bobl a ocheneidia." Ond y mae dyrchafiad y Llywiawdwr hwn yn llawenydd i'r grëadigaeth. Yn ofn Duw y mae yn llywodr-

aethu; cyfiawnder yw gwregys ei lwynau, a ffyddlondeb yw gwregys ei arenau; teyrnwialen uniondeb yw teyrnwialen ei deyrnas ef. Gorseddfainc y gras yw ei orsedd, a thrysorau cyfammod Duw yw adnoddau ei freniniaeth. Bydd efe i'n hen fyd tywyll a gorthrymedig ni "fel y bore-oleuni, pan gyfodo haul foregwaith heb gymylau." "Efe a ddisgyn fel gwlaw ar gnu gwlân, fel cawodydd yn dyfrhâu y ddaear. Canys efe a wared yr anghenog pan waeddo; y truan hefyd, a'r hwn ni byddo cynnorthwywr iddo. Efe a arbed y tlawd a'r rheidus, ac a achub eneidiau y rhai anghenus; efe a wared eu henaid oddiwrth dwyll a thrawsder, a gwerthfawr fydd eu gwaed yn ei olwg ef." Y Llywiawdwr a ä rhagddo nes y byddo rhyfeloedd wedi peidio hyd eithaf y ddaear, ac na chlywir sôn mwy am drais mewn un wlad, ond barn yn trigo yn yr anialwch, a chyfiawnder yn aros yn y doldir, a gwaith cyfiawnder fydd heddwch, ïe, gweithred cyfiawnder fydd llonyddwch a dïogelwch hyd byth. Efe a adfera y ddaear nes y byddo ewyllys Duw yn cael ei wneuthur arni hi megys y mae yn y nefoedd. Cymer dy allu mawr a theyrnasa, O Frenin; yn dy harddwch marchoga yn llwyddiannus!

2il. *Y mae efe hefyd yn Offeiriad ar ei freninfainc.*

"Mi a baraf iddo nesâu, ac efe a ddaw ataf; canys pwy yw hwn a lwyr roddodd ei galon i nesâu ataf fi? medd yr Arglwydd." Nesâu at Dduw sydd ymadrodd yn dynodi gweinyddiad y swydd offeiriadol. Y sanctaidd, eiddo yr Arglwydd a'r hwn y mae yr Arglwydd yn ei nesâu ato ei hun, y gelwid yr offeiriad (Num. xvi. 5, 9). Un ydoedd efe wedi ei gysegru i gyflawni dyledswyddau neillduol ei swydd tuag at Dduw: aberthu i Dduw, arogldarthu iddo, gwneyd ei ffordd trwy waed i'w gysegr ef. Felly Crist hefyd; y mae efe i ni yn Offeiriad mawr, i nesâu drosom at Dduw. Fel Brenin a Phrophwyd, un dros Dduw at ddynion ydyw; ond fel Offeiriad, un ydyw dros ddynion at Dduw. "Canys pob archoffeiriad, wedi ei gymeryd o blith dynion, a osodir dros ddynion yn y pethau sydd tuag at Dduw." Offrymodd ei hunan i Dduw; ac y mae, fel Eiriolwr gyda'r Tad, yn ymddangos ger bron Duw drosom ni. Y mae efe yn nesâu yn lle a chydag achos rhai nas gallasent nesu eu hunain.

Nid oedd eisieu offeiriad yn ystâd natur. Cyn y cwymp, yr oedd dyn yn abl i gyflawni yn ei berson ei hun y pethau oedd

tuag at Dduw. Yr oedd ar dir i ymwneyd â Duw yn ddigyfrwng, a gwneuthur drosto ei hun yr oll yr oedd yr Arglwydd yn ei ofyn iddo er mwyn bod yn gymeradwy ganddo, dal cymundeb âg ef, a chael ei wobrwyo â bywyd tragywyddol. Yr hyn sydd yn waith pawb drostynt eu hunain, nis gall fod yn orchwyl swydd neb i'w gyflawni drostynt. Nis gall neb gael ei gymeryd o blith dynion, a'i osod dros ddynion, i garu Duw a gweithredu cyfiawnder yn eu lle hwy. Yr oedd hyny yn waith pawb; ac ar dir natur ddibechod, yr oedd pawb yn abl i'w wneyd; a dyna y cwbl oedd eisieu tuag at nesâu at Dduw. Pe buasai rhywun yn gofyn i ddyn y pryd hwnw, A oes dim a allaf fi wneuthur drosot gyda Duw? gallasai ateb, Na, na! nid oes arnaf eisieu neb drosof yn y pethau a berthyn i Dduw; yr wyf yn gallu myned ato fy hunan, ac y mae yntau yn dyfod ataf finnau, fel gŵr at ei gyfaill. Pan bechodd dyn, darfu y cymundeb rhyngddo â Duw; aeth i gyflwr o anmhosiblrwydd i nesâu ato yn ei berson ei hun; yr oedd melldith pechod fel gagendor mawr yn lluddias pob tramwy rhyngddo â Duw. Y mae yr achos mwyaf rhyngof â Duw, medd y truan euog; ond, "A pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd?" Mae y pethau sydd yn perthyn i Dduw heddyw yn rhy drymion i mi i'w dwyn. A pha beth "yr ymgrymaf ger bron yr uchel Dduw?" Y mae efe yn ofnadwy i mi yr awr hon, a phob amlygiad o hono yn llanw fy meddwl â dychryn. Nid oes genyf ddim i'w cynnyg iddo ond dyledswyddau deddf fy natur; ac y mae gofyn newydd arnaf yn awr; ni feddaf ddim i'w rhoddi ar ol pechu ond yr hyn oedd yn rhwymedig arnaf cyn pechu; ac ni wna hyny ddim iawn am bechod. Na wna, bechadur; pe gellit ufuddhâu yn berffaith heddyw, nis gwna hyny ddim iawn am dy anufudd-dod ddoe; y mae eisieu anrhydedd i ddeddf a gafodd sarhâd, ac iawn i gyfiawnder a anfoddlonwyd, cyn y bydd dy ddyledswyddau di yn dderbyniol mwyach. "A foddlonir yr Arglwydd â miloedd o fyheryn, neu â myrddiwn o ffrydiau olew?" Na! "ni chymeraf fustach o'th dŷ, na bychod o'th gorlanau; canys holl fwystfilod y coed ydynt eiddof fi, a'r anifeiliaid ar fil o fynyddoedd." Ar ol myned i fy nyled, a wyt ti yn meddwl talu i mi o'm llogell fy hun? "A roddaf fi fy nghyntafanedig dros fy anwiredd, ffrwyth fy nghroth dros bechod fy enaid?" Ni byddai hyny ond gwaeth nag ofer; "gan waredu ni wared neb ei frawd,

ac ni all efe roddi iawn drosto i Dduw; canys gwerthfawr yw pryniad eu henaid, a hyny a baid byth."

Ond pan yr oedd pob peth wedi darfod rhwng Duw â'r bobl, wele un dros y bobl ger bron Duw, yn dwyn eu hachosion at Dduw. Pwy yw hwn sydd a'r meitr têg ar ei ben, y ddalen aur ar ei dalcen, a'r gwisgoedd sanctaidd am dano, yn gwasanaethu yn y pethau tuag at Dduw? Pwy ond y gŵr oedd gyfaill â Duw, yr hwn oedd yn mynwes y Tad erioed! efe sydd yn awr yn natur a chydag achos pechadur, wedi dyfod i wneuthur cymmod dros bechodau y bobl. Y mae weithian yr un bàrau rhyngddo ef â phresennoldeb Duw âg sydd rhwng y troseddwr; y mae melldith ac angeu rhyngddo â'r cysegr. Ond efe a aeth ymlaen trwy gamrau blinion ufudd-dod—mewn gwarth, a chwys, a gwaed—trwy Gethsemane, y groes, a'r bedd—nes gwneyd ei ffordd at Dduw.

Ni a welwn yn y testun,

1. Ei *awdurdodiad* i'w waith. Y mae efe ynddo trwy osodiad Dwyfol a than gymeradwyad Dwyfol: "Mi a baraf iddo nesâu, ac efe a ddaw ataf." Pan y mae Duw yn peri unpeth, y mae hyny yn sicr o gael ei wneyd. Pa fodd yr ydym ar y ddaear yn cael ein goleuo mor hyfryd ac mor gyson? Duw sydd "yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da." A feiddia rhywun nesâu at Dduw dros yr euog? Fe feiddia un: "mi a baraf iddo nesâu," medd Duw.

Yma y mae ffynnon yr offeiriadaeth. Yr un yw ei gwrthddrych a'i gwreiddyn; swydd tuag at Dduw, ac o hono ef. Yr oedd yn rhyfyg i neb ymaflyd ynddi heb ei awdurdodi. Dacw Corah a'i gynnulleidfa yn cymeryd bob un ei thuser, gyda thân ac arogldarth; ond eu disgyn yn fyw i uffern oedd eu taledigaeth. Cynnygiodd y brenin Uzzïah arogldarthu ar allor yr arogldarth; ond taräwyd ef yn ei dalcen â gwahanglwyf; a gwahanglwyfus a fu hyd ddydd ei farwolaeth. Ni chymerodd Aaron mo'r anrhydedd heb ei alw; ac os oes Offeiriad arall yn codi, mae yn rhaid ei alw gan Dduw megys Aaron.

Yr oedd dyn, fel y nodasom eisoes, wedi ei grëu i weithredu drosto ei hun gyda Duw, i wneuthur cyfiawnder iddo ei hun, a thrwy hyny sicrhau bywyd tragywyddol yn ol cyfammod Duw; ac yn niffyg iddo wneuthur hyny, yr oedd pob peth i ddarfod rhyng-

ddo â Duw, ac yntau gan farw i farw. Yn awr, wedi i ddyn bechu, pwy a faidd newid y sefydliad hwn, ac ymyraeth rhwng Duw â'i grëadur, i gynnyg sefydlu goruchwyliaeth newydd na bu esiampl o ddim tebyg yn llywodraeth Duw erioed? Gosod Un dros y lliaws oedd yn haeddu eu damnio dros byth, cymeryd eu hanwiredd, cyflawni eu hufudd-dod, dyoddef eu cosb, gwneuthur cymmod ac iawn i Dduw, a dwyn rhyddhâd a bywyd tragywyddol iddynt hwythau,—ni buasai y fath *idea* yn dragywydd yn troi trwy un meddwl ond meddwl Duw. Ni buasai neb yn meiddio sefydlu y cyfryw drefn ond yr Un Gosodwr cyfraith anfeidrol, yr hwn a ddichon gadw a cholli. Efe a all dynu ymaith y cyntaf, a gosod yr ail. Ganddo ef y mae awdurdod i newid ei gyfammod, gollwng yr euog, a chymeryd Machnïydd yn ei le. Y mae y fath oruchwyliaeth wedi ei chael; ac yn yr awdurdod oruchaf y gwreiddiodd hi. "Mi a baraf iddo nesâu." "Crist nis gogoneddodd ei hun i fod yn Archoffeiriad; ond yr hwn a ddywedodd wrtho, Tydi yw fy Mab," a ddywedodd hefyd, "Offeiriad wyt ti." Yr hwn a'i cenedlodd erioed a'i gosododd yn ei swydd. Trefn wedi gwreiddio yn meddwl Duw yw hon. Ffrwyth y cynghor hedd oedd rhyngddynt ill dau ydyw fod y gŵr â'i enw Blaguryn yn Offeiriad ar ei freninfainc. Duw Dad a'i heneiniodd ef er tragywyddoldeb, ac a'i hanfonodd i'r byd. Gwaith ei Dad oedd ganddo wrth fyw a marw, wrth ufuddhâu a dyoddef. Yr wyf yn rhoddi fy einioes i lawr am fod fy Nhad yn peri, medd Crist. "Y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhad." Awdwr y grëadigaeth gyntaf yw Awdwr y newydd. Yr hwn a gylymodd ddyn wrtho ei hun yn ddigyfrwng i ddechre, wedi i'r cwlwm hwnw ymddattod, a'i rhwymodd wrtho ei hun drachefn â rhwymyn cyfryngdod ei Fab; ac ni ddattodir, ni ddryllir, ni thŷr, y rhwymiad hwnw byth. Yr hwn a sefydlodd ystâd gyntaf dyn, a'i newidiodd am ei gwell. Braidd na ddywedem fod yr hyn a draethir am ffrwythau cyfryngdod ein Hoffeiriad ni yn bethau rhy fawrion i'w credu; pethau ydynt na welodd llygad, na chlywodd clust, ac na ddaeth i galon dyn, nes eu hegluro gan Dduw. Ond pan y sicrhâ yr eglurhâd hwnw eu bod wedi eu gwreiddio yn y Duwdod ei hun, nis gallwn ond dywedyd, Digon ydyw! gobeithiwn, ac nid ofnwn. Y mae nerth bywyd annherfynol yn ngwaith yn gystal âg yn mherson ein Machnïydd. Duw a gyfododd iddo ei hun

Offeiriad ffyddlawn a wnaeth yn ol ei galon a'i feddwl, ac efe a adeiladodd iddo ef dŷ sicr. Credwn ynddo yn ddibetrus; canys diedifarus yw ei osodiad gan Dduw. "Tyngodd yr Arglwydd, ac ni bydd edifar ganddo, Ti wyt Offeiriad yn dragywydd."

2. Ei *ymroddiad* yn ei waith. "Pwy yw hwn a lwyr roddodd ei galon i nesâu ataf fi? medd yr Arglwydd."

Nid fod y Cyfryngwr wedi dyoddef, na bod cosb yn ei ddyoddefaint, oedd yr hyn yn benaf a'i gwnaeth yn iawn; ond enaid y cwbl oedd ei ymroddiad a'i ufudd-dod ei hun. Efe a ddaeth nid yn unig trwy anfoniad Duw, ond o'i wirfodd ei hunan. Y cariad ag oedd yn gweithio yn y Tad mewn ordeinio, a weithiodd ynddo yntau mewn cydsynio.

Efe a roddodd *ei galon.* Ei galon oedd mater ei aberth, ac efe ei hun oedd yn ei rhoddi. Aberthu anifeiliaid i'r Arglwydd a wnai yr offeiriaid dan y gyfraith; ond ei hun a aberthodd Mab Duw; nid tynu ymysgaroedd aberth arall i'w poethoffrymu, megys y gwnaent hwy, ond tynu ei enaid ei hun allan. Gosododd ei enaid yn aberth dros bechod; tywalltodd ei enaid i farwolaeth (Esa. liii.).

Efe a *lwyr* roddodd ei galon. Yr oedd yn ymroddgar bob moment—yn ymroddgar i bob peth; cuddiwyd edifeirwch o'i olwg. O'r foment yr ymgymerodd â'r gwaith yn nhragywyddoldeb, yr oedd yn gysegredig iddo yn wastad. Cymerodd ddynoliaeth o bwrpas i'w hoffrymu i Dduw. Cawn ef yn troi o gwmpas ei orchwyl yn ddeuddeng mlwydd oed. Ei fwyd a'i ddïod oedd gwneuthur ewyllys yr Hwn a'i hanfonodd. Yr oedd yn teimlo yn *rhaid* arno fyned ymlaen. "Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd—rhaid i mi ymdaith—rhaid i mi bregethu teyrnas Dduw—rhaid i mi gyrchu fy nefaid—rhaid i Grist ddyoddef—rhaid dyrchafu Mab y dyn." Ni chafodd esmwythyd, parch, na phleser, ddenu mymryn ar ei fryd oddiwrth ei orchwyl. Pan ddaeth awr arswydol ei ing, efe a'i hadnabu gyntaf. "Daeth yr awr." Arfogodd ei feddwl i gyfarfod â Duw wedi ymarfogi i ddïal. Y mae efe yn dadguddio penderfyniad ei galon yn y brophwydoliaeth: "Yr Arglwydd Dduw a agorodd fy nghlust;" rhoes i mi natur i ufuddhâu a dyoddef; "a minnau ni wrthwynebais, ac ni chiliais yn fy ol. Fy nghorff a roddais i'r curwyr, a'm cernau i'r rhai a dynai y blew; ni chuddiais fy wyneb oddiwrth

waradwydd a phoeredd. O herwydd yr Arglwydd Dduw a'm cymhorth, am hyny ni'm cywilyddir; am hyny gosodais fy wyneb fel callestr, a gwn na'm cywilyddir. Agos yw yr hwn a'm cyfiawnhâ; pwy a ymryson â mi? safwn ynghyd: pwy yw fy ngwrthwynebwr? nesäed ataf." Ar y groes mi a'i dysgwyliaf, ac a fyddaf barod iddo. "Wele, yr Arglwydd Dduw a'm cynnorthwya; pwy yw yr hwn a'm bwrw yn euog? wele hwynt oll a heneiddiant fel dilledyn; y gwyfyn a'u hysa hwynt" (Esa. l. 5—9). Mi a ddeuaf trwy fy achos nes y byddo Duw ei hun yn fy nghyfiawnhâu, a'r holl wrthwynebwyr cryfion wedi myned fel hen ddillad brau, wedi eu hysu gan wyfyn.

Hawdd y gallesid gofyn, Pwy yw hwn a lwyr roddodd ei galon i nesâu at Dduw? Meddwl di, fy enaid, pa fodd y byddai arnat pe deffröai dy gydwybod i deimlad o euogrwydd dy bechodau—y ddeddf yn argraffu chwerwder ei melldith ar bob un o'th feïau—a thithau yr un pryd mewn ymdrech âg angeu! Oni byddai dy ocheneidiau yn annhraethadwy, a'th ddïaledd yn drymach na'th ochenaid? Os gallai euogrwydd un dyn lethu y galon felly, beth am gyfyngdra enaid ein Brawd a'n Cyfaill goreu pan yr oedd twyll Jacob, aflendid a llofruddiaeth Dafydd, celwydd Pedr, erlid Paul, ïe, pechodau y byd, yn gorwedd rhyngddo â wyneb Duw? Os byddai angeu yn ofnadwy i ti o herwydd dy bechodau dy hun, ïe, er i ti wybod fod yr holl bechodau wedi eu maddeu, beth ydoedd iddo ef pan y dŷg bechodau llaweroedd, ac y dyoddefodd i'r eithaf drostynt oll? Yr oedd deddf doredig yn gofyn iawn am sarhad ei hanrhydedd; yr oedd cyfiawnder Duw yn sefyll am ei foddloni yn llwyr. Beth oedd yr Iesu yn ei deimlo pan yn ei gael ei hun megys yn nghanol cŵn a theirw lawer, yn safn y llew a phlith cyrn unicorniaid (Psalm xxii. 12, 16, 21)? Pa faint oedd ei ing meddwl pan yn dolefain, "Fy Nuw, fy Nuw! paham y'm gadewaist?" Y mae efe weithian yn edifarhâu am iddo ymgymeryd âg achos dyn colledig. O nac ydyw! "O herwydd hyn y daethum i'r awr hon. O Dad, nid fy ewyllys i, ond dy ewyllys di a wneler. Gogonedda dy enw." Efe a fu ufudd hyd angeu; a chyn rhoddi i fyny ei ysbryd, gallodd ddywedyd, "Gorphenwyd!"

3. *Llwyddiant* ei waith. Dyna y Nefoedd wedi ei awdurdodi; a dyna yntau wedi llwyr ymgymeryd â'r gwaith a roddwyd iddo. Ond hwyrach y metha efe yn ei anturiaeth. Na wna, medd Duw:

"efe a ddaw ataf fi." Daw! yr wyf yn ei adnabod; mae ynddo ddigon o werth i fod yn anfeidrol iawn. Yr hwn yw delw y Duw anweledig, cyntafanedig pob crëadur, trwy yr hwn y crëwyd pob dim a'r sydd yn y nefoedd, ac a'r sydd ar y ddaear, a'r hwn y rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef, efe sydd yn myned i wneuthur heddwch yn nghorff ei gnawd a gwaed ei groes. Nis gall fethu; efe a ddaw o'r pwll isaf, o'r dyfnderau; daw i fyny o Edom, yn goch ei ddillad o Bozrah, wedi gorchfygu y gelynion heb wanhâu, ond yn ymdaith yn amlder ei rym.

Yr oedd yr Iesu yn teimlo ac yn dangos cyn marw ei fod wedi dyfod trwy ei waith yn llwyddiannus. Pe buasai wedi marw yn yr ing a'r tristwch oedd wedi ei ddal, gallasem feddwl iddo gael ei lethu i angeu. Ond dyoddefodd nes llonyddu cyfiawnder, a gorchfygu pawb oedd yn ceisio cael ei ben i lawr. Dacw uffern wedi ffoi, a'r tywyllwch oedd ar y ddaear, ac ar feddwl y Diniwed, yn cilio yr un pryd. Yr oedd heddwch a llawenydd wedi dychwelyd i'w ysbryd athrist ar y groes, nes yr oedd yn gorfoleddu ar y tywysogaethau a'r awdurdodau arni hi. 'Pwy a'm barn yn euog? Nid oes neb y fynyd hon yn dwyn fy einioes oddiarnaf; o ran un gelyn, mi a allwn ddisgyn oddiar y groes.' Yna efe a roes ei einioes i lawr o hono ei hun. Heblaw ei fod yn dyoddef yn wirfoddol y pethau a ddyoddefodd cyn marw, ei act ef ei hun oedd marw. Gan wybod fod pob peth wedi ei orphen weithian, efe a roddes i fyny, a ddanfonodd ymaith, ei ysbryd. "Pan welodd y canwriad, yr hwn oedd yn sefyll ger llaw gyferbyn âg ef, ddarfod iddo yn llefain felly," ac nid o wendid, "ymado â'r ysbryd, efe a ddywedodd, Yn wir Mab Duw oedd y dyn hwn!"

"Pwy yw hwn?" Aeth efe fel Moses i'r tywyllwch lle yr ydoedd Duw, ac a ddygodd ei ogoniant ef i olwg pechadur heb ei ladd. Cafodd y gwersyll yn llewygu, ac efe a safodd rhyngddo â'r tân a'r dymhestl. Yr oedd pechadur argyhoeddedig yn methu canfod neb a allai lanw yr adwy ddychrynllyd nes gweled Hwn. Y cwestiynau oedd yn taro pawb â mudandod,—y maent yn cael eu hateb yn gadarnhäol ynddo ef. "Pwy ydyw efe a ddyry ei law yn fy llaw i?" Hwn. "Os creffi ar anwireddau, Arglwydd, O Arglwydd, pwy a saif?" Hwn. "Pwy o honom a drîg gyda'r tân ysol?" Hwn. "Os yn erbyn yr Arglwydd y pecha gŵr, pwy a eiriol drosto ef?" Hwn. "Pwy a ddyry iachawdwriaeth i

Israel o Sïon?" Hwn. "Pwy yw hwn?" Un â phob peth yn cydgyfarfod ynddo i wneyd ei offrwm yn ddifai i Dduw. Nid rhyfedd fod Duw yn ei groesawu ac yn ymhyfrydu ynddo. "Efe a ddaw ataf fi." Dywedodd ef ei hunan wrth ei Dad pan yn wynebu Gethsemane a Chalfaria, "Myfi sydd yn dyfod atat ti." A pha fodd y bu? Caiff Sïon ddyweyd yr hanes wedi i bethau basio: Efe a aeth "i mewn i'r cysegr, gan gael i ni dragywyddol ryddhâd." "Wedi puro ein pechodau ni trwyddo ef ei hun, a eisteddodd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd."

Aeth i'r nefoedd fel y deml lle y mae yn offeiriadu. Nid at arwyddion y Presennoldeb Dwyfol yr aeth efe, ond "i mewn i'r nef ei hun, i ymddangos ger bron Duw trosom ni." Yno y mae fel "Oen megys wedi ei ladd;" yn fyw, ond gan ddangos iddo unwaith farw, a marw yn fywyd i'r byd; canys, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Yno y mae efe fel Offeiriad, yn offrymu arogldarth lawer gyda gweddïau yr holl saint ar yr allor aur.

Aeth i'r nefoedd fel y breninllys ymha un y mae yn llywodraethu. Ennillodd hawl i deyrnasu, a seiliodd ei orsedd trwy waed. "Hwn, wedi offrymu un aberth dros bechodau, yn dragywydd a eisteddodd ar ddeheulaw Duw; o hyn allan yn dysgwyl hyd oni osoder ei elynion ef yn droedfainc i'w draed." "Esgynodd goruwch yr holl nefoedd, fel y cyflawnai bob peth." Er yr adferiad o Babilon, yr oedd llywiawdwyr yr Iuddewon islaw breninoedd y Caldeaid a'r Persiaid. Nid oedd Zorobabel yn cael adeiladu teml yr Arglwydd ond fel y gwelent hwy yn dda. Ond beth am Hwn? Y mae efe wedi ei osod "goruwch pob tywysogaeth, ac awdurdod, a gallu, ac arglwyddiaeth, a phob enw a enwir, nid yn unig yn y byd hwn, ond hefyd yn yr hwn a ddaw."

4. Cyflawnodd ei waith a derbyniodd ei ogoniant *yn ein natur ni.* "A'u pendefigion," neu, "A'u hardderchog un," fel y darllena rhai, "fydd o honynt eu hun, a'u llywiawdwr a ddaw allan o'u mysg eu hun."

Gŵr o'n mysg ni a wnaeth hyn oll. Yn ein natur y disgynodd i barthau isaf y ddaear, y dybenodd gamwedd, yr yspeiliodd y tywysogaethau, ac yr ymddengys yn y cysegr. Ië, yn ein natur ni y mae Iesu Grist "ar ddeheulaw Duw, wedi myned i'r nef, a'r angelion, a'r awdurdodau, a'r galluoedd, wedi eu darostwng iddo."

Arglwydd, pa beth yw dyn pan fawrhëit ef? Y naturiaeth a syrthiodd i bydew llygredigaeth sydd wedi ei dyrchafu i undeb â Duw yn Nghrist. Y mae cyflawnder y Duwdod yn preswylio ynddi, a'i pherthynas â Duw wedi ei ddïogelu byth. Nef a daear a ânt heibio; ond ni bydd ysgar rhwng ein natur ni â Duw. Wele yr hon a aeth i gaethwasanaeth, heddyw yn llywodraethu crëadigaeth Duw, ac nad oes heb ei ddarostwng iddi ond Efe yr hwn a ddarostyngodd iddi bob peth. Yr oedd gweithredoedd ystâd darostyngiad yr Iesu yn peri i ddynion synu pan gofient ei ddechreuad gyda hwynt. "Onid hwn yw mab y saer? onid Mair y gelwir ei fam ef, a Iago, a Joses, a Simon, a Judas, ei frodyr ef? ac onid yw ei chwïorydd ef oll gyda ni?" Ond beth am ei weled ef yn Ben uwchlaw pob peth? Beth! ai y gŵr o'n cyfathrach ni yw yr hwn sydd yn eistedd yn nghanol yr orseddfainc? Cysur mawr i Daniel, pan yn edrych ar y bwystfilod erchyll, a'r dannedd mawrion, a'r cyrn, a'r cwbl am ddifa saint y Goruchaf, oedd gweled hefyd un megys Mab y dyn, a'r Hen Ddihenydd yn rhoddi iddo lywodraeth, a gogoniant, a breniniaeth, fel y byddai i'r holl bobloedd, cenedloedd, ac ieithoedd, ei wasanaethu ef.

Pan y mae efe yn dyfod i geisio yr orsedd yn nghalonau pechaduriaid y ddaear, gall ddadleu, Cofiwch mai fy asgwrn a'm cnawd ydych chwi; paham gan hyny yr ydych yn olaf i blygu i mi? Mae angelion nef yn fy addoli, a chwithau, fy mrodyr, yn gadael i estroniaid deyrnasu yn ormesol arnoch! "Wele, dy asgwrn di a'th gnawd ydym ni," medd llwythau Israel wrth Dafydd yn Hebron, pan yn ei eneinio yn frenin. Pwy a fydd dynerach wrthym na'r hwn a fu gyda ni cyn hyn, yn arwain Israel allan, ac yn eu dwyn i mewn? Pwy a gydymdeimla â ni yn well na'r gŵr a fu yn ffoi ar hyd copa creigiau y geifr gwylltion, gan gael ei hela fel petris? Ystyria dithau, gristion, fod dy Frenin di, a Brenin yr holl ddaear, yn un o'th gnawd, fel yr elot ato yn hyderus am gysur ac ymwared ymhob blinfyd.

II. Edrychwn eto ar y geiriau FEL Y MAENT YN CAEL EU CYFLAWNI YN A THRWY YR EGLWYS YN ADDOLIAD YR EFENGYL.

Y mae Crist a'i bobl yn un â'u gilydd; y maent hwy wedi eu cyflawni ynddo ef; a llawer o bethau a ddywedir am dano ef, a gyflawnir mewn ystyr îs ynddynt hwy. Fel y mae efe yn Frenin ac Offeiriad, efe a'u gwnaeth hwythau yn freninoedd ac yn offeir-

iaid i Dduw a'i Dad ef. Gan i Grist nesâu at Dduw gydag achos pechadur, efe a agorodd ffordd i nesâu at Dduw. "Crist hefyd unwaith a ddyoddefodd dros bechodau, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw." "Yn yr hwn y mae i ni hyfdra, a dyfodfa mewn hyder, trwy ei ffydd ef." Gwaith calon yw nesâu at Dduw; ac nis gellir nesâu heb lwyr roddi y galon i wneyd hyny.

Pa fodd yr ennillir dyn, sydd wedi gadael Duw, i nesâu ato ef? Gwneir hyny trwy ras Duw: "A mi a baraf iddo nesâu, ac efe a ddaw ataf."

1. Mae Duw yn peri iddo nesâu *yn ngalwad yr efengyl.* "Nesewch at Dduw—chwi bechaduriaid." "Dychwelwch at yr Arglwydd." Mae Duw yn yr holl efengyl yn peri i ti, bechadur, nesu ymlaen. Beth yw peri i ti edifarhâu a chredu, beth yw peri i ti weddïo, cymuno, ac ymarfer â holl ddyledswyddau yr efengyl, ond peri i ti nesâu at yr hwn y llwyr giliaist oddiwrtho? Sefydlodd weinidogaeth i wasgu hyn at dy gydwybod yn feunyddiol. Na phetrusa ddyfod at ein Duw ni; "y mae efe yn dy alw di." Dy ddoethineb a'th ddedwyddwch fyddai ymddangos yn ostyngedig ger ei fron, a dywedyd, "Wele fi, canys gelwaist arnaf."

2. Mae Duw yn peri i enaid nesâu ato *trwy adnewyddu y galon.* Er i Cyrus gyhoeddi rhyddid i'r Israeliaid fyned adref o Babilon, nid aeth neb ond y rhai "y cyffrôdd Duw eu hysbryd." Er i Dafydd feddwl moddion i gael Absalom ato, ni ddaethant at eu gilydd, nes yr anesmwythwyd Absalom am weled wyneb ei dad. Mae calon pechadur yn euog, fel na feiddia efe droi at Dduw; ac y mae yr euogrwydd yn cynnyrchu ofn a gelyniaeth, fel na fyn efe ddyfod ato. Enaid, paham na buasit wedi dyfod at yr Arglwydd ymhell cyn hyn? Mae trefn i dy fath ddyfod ato: mae rheol wedi ei sefydlu, a galwad wedi ei rhoddi; ac nid oes berygl y gwrthodir di os deui. "A'r hwn a ddêl ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim." Pa beth sydd yn rhwystro? Cyndynrwydd y pechadur ei hun. "Ni fynwch chwi ddyfod ataf fi fel y caffoch fywyd." Y galon sydd yn cilio. "Dirmygus ganddynt air yr Arglwydd; nid oes ganddynt ewyllys iddo." Cymhellwyd yr enaid lawer gwaith; a mynych y bu y cymhelliadau yn gwasgu arno mor ddwys, nes yr oedd natur ddrwg yn codi i'w troi ymaith: "Ciliwch o'r ffordd, ciliwch o'r llwybr; perwch i Sanct Israel beidio â ni."

Ofer yw meddwl, ynte, y gwelir y fath yma byth yn nesâu at Dduw. Na! y mae Duw yn dywedyd am dano, "Efe a ddaw ataf." Parhëwch i weddïo drosto; glynwch yn yr ymarferiad â'r moddion i'w ddychwelyd: "mi a baraf iddo nesâu." Y mae Duw yn peri nes effeithio y peth a bair efe, pa mor annhebyg bynag. Pa beth oedd yn fwy annhebyg a dyeithr nag i gigfrain ddwyn bara a chîg fore a phrydnawn i Elias wrth afon Cerith? y *cîg*-frain yn dwyn i ddyn yr hyn yr oedd eu natur hwy mor awchus am dano iddynt eu hunain! Ond hyny a wnaethant; canys medd Duw wrtho ef, "Mi *a berais* i'r cigfrain dy borthi di yno." Gŵyr pobl dduwiol yn brofiadol y cynnyrchir argyhoeddiad ac adnewyddiad pan baro Duw; ac am hyny cawn hwynt yn gweddïo, "Pâr i mi wybod fy nghamwedd a'm pechod. Arglwydd, pâr i mi wybod fy niwedd. Pâr i mi glywed gorfoledd a llawenydd." Medr Duw beri nes y byddo'r galon yn adseinio yn ol. "Pan ddywedaist, Ceisiwch fy wyneb! fy nghalon a ddywedodd wrthyt, Dy wyneb a geisiaf, O Arglwydd." "Dywedaf wrth y rhai nid oedd bobl i mi, Fy mhobl wyt ti! a hwythau a ddywedant, O fy Nuw!" Os oedd y galon o'r blaen yn cilio oddiwrth yr Arglwydd, dyma ei hiaith dan ymgeledd gras Duw, "Af at allor Duw, at Dduw, hyfrydwch fy ngorfoledd. Gwỳn ei fyd yr hwn a ddewisech ac a nesäech atat, fel y trigo yn dy gynteddoedd; nyni a ddigonir â daioni dy dŷ. Agorais fy ngenau a dyhëais; oblegid awyddus oeddwn i'th orchymynion di." Nesu at Dduw y bydd yr enaid hwn bellach ymhob dyledswydd, dan bob amgylchiad, mewn mawl am bob trugaredd, mewn amynedd dan bob croes, mewn gweddi oddiar bob anghenrhaid; a chan fwynhâu ei fraint, y canmola: "Nesâu at Dduw sydd dda i mi."

3. *Trwy ddadguddio seiliau a chymhellion y nesâd.* Pa fodd y byddi yn teimlo, fy enaid, pan y byddi yn gweled Crist wedi gwneuthur cymmod dros anwiredd, ac wedi dwyn cyfiawnder tragywyddol—yn offeiriad mawr ar dŷ Dduw, a chan gyflwyno ei waed, yn ymddangos ger bron Duw drosom ni? Onid dywedyd y byddi ar ol dy hen frodyr ysbrydoledig, "Gan fod i ni Archoffeiriad mawr, yr hwn a aeth i'r nefoedd—awn yn hyderus at orseddfainc y gras: gan fod i ni ryddid i fyned i mewn i'r cysegr trwy waed Iesu—nesäwn â chalon gywir, mewn llawn hyder ffydd?" Oni bydd dy galon yn ymehangu mewn dymuniadau, dy enau yn

agor yn hyf, ysbryd dy feddwl yn ehedeg ar esgyll serchiadau nefol, nes ymgolli yn y Duw sydd oll yn oll? Neu os bydd y teimlad o bechod yn pwyso ar y gydwybod, y mae golwg ar Grist yn tywallt ei waed er maddeuant pechodau, ac yn myned i mewn i'r cysegr trwy ei waed ei hun, yn cynhyrfu yr enaid i lefain o'r dyfnder ar yr Arglwydd, ac i benderfynu dysgwyl am dano; "o herwydd y mae trugaredd gyda'r Arglwydd, ac aml ymwared gydag ef." Paham y'th ddarostyngir, fy enaid? a phaham y terfysgi ynof? Gwêl pa fodd y mae yn y cysegr: yno y mae dy natur mewn anrhydedd, a'th achos yn dderbyniol, yn dy Archoffeiriad, a rhyddid i tithau yn ei enw ef arllwys yno dy holl gŵynion.

4. *Trwy nerthu yr enaid yn ei ymarferiad â'i ddyledswyddau.* Os bydd dy galon, gristion, fel yn farw o'th fewn, dôs at y Bibl, neu dôs ar dy liniau, felly; medr gras dy Dduw uno dy fyfyrdodau, crëu ynot ocheneidiau annhraethadwy, a'th gryfhâu i lefain Abba, Dad. Gall mewn mynyd droi yr oerfelgarwch yn wresogrwydd, a'r marweidd-dra yn fywyd. "Heb wybod i mi y'm gwnaeth fy enaid megys cerbydau Amminadib."

Fel hyn y mae Duw yn cadw yr enaid edifeiriol a chrediniol o hyd ar ei ogwydd at ei orseddfainc. Prif orchwyl ei oes bellach a fydd nesâu at Dduw. Wedi marw i'r ddeddf, i bechod, i'r byd, ïe, i bethau cyfreithlawn daear o ran bryd y meddwl, y mae'r galon yn cael ei llwyr roddi i gyrhaedd yr amcan o adnabod Duw, a dal cymundeb âg ef. "Beth sydd i mi mwyach a wnelwyf âg eilunod? Yr hyn yr ydwyf yr awrhon yn ei fyw yn y cnawd, ei fyw yr ydwyf trwy ffydd Mab Duw. Y mae genyf chwant i'm dattod, ac i fod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw:" dyna ddyheuadau enaid llwyr ymroddgar i'r Arglwydd.

Yn yr ystyr yma eto, gweddus yw gofyn, "Pwy yw hwn?" Mae y gwir addolwr ar y ddaear yn un hynod. Dyna y gwrthgiliwr yn tynu yn ol i golledigaeth—y rhagrithiwr yn nesâu at yr Arglwydd â'i enau, a'i galon ymhell—y byd wedi darfod â Duw, heb ewyllysio gwybod ei ffyrdd. Ond y mae hwn yn hollol wahanol iddynt. Y mae ei wyneb ef lle y mae gwegil y lleill; mae yn dirnad, yn amcanu, yn sychedu, am bethau y mae'r byd mor farw â'r gàreg iddynt. Mae hwn fel archoffeiriad Duw yn nghanol defodwyr ffurfiol; mae efe yn eu gadael hwy yn y cyntedd allanol,

ac yn dïanc hwnt i'r wahanlen at Dduw ar y drugareddfa. Mae y nesâd hwn at Dduw yn newid ansawdd y galon i'w ddelw ef. Pan na byddo yr addoliad ond ffurf, mae y dyn, wedi myned trwy y cyflawniad, yn dyfod yn ol i'w hen agweddau; fel y plentyn, wedi ei alw i wneuthur rhywbeth gan ei fam, yn rhedeg ymaith, mor fuan âg y gallo, at ei deganau. Ond yn y ddyfodfa at Dduw yn Nghrist, y mae calon lân yn cael ei chrëu, y golchi yn llwyrddwys yn cymeryd lle, a'r llesgedd yn cael ei iachâu; y fath newydd-deb yn ac ar yr addolwr—ei wyneb yn dysgleirio, fel Moses wedi bod gyda Duw—nes y bydd y bobl yn ymholi yn synedig, "Pwy yw hwn?"

Nac anghofiwn mai yn nesâd Crist at Dduw drosom yr agorwyd y ffordd i ni nesâu ato. Trwyddo ef, cawn nesâu, nid yn unig yn ei gynnrychioliad ef, ond hefyd yn ein personau ein hunain. Dacw bob arwyddion o bresennoldeb grasol Duw yn y cysegr sancteiddiolaf: arch, cyfraith mewn bri yn yr arch, trugareddfa a gwaed ar wyneb yr arch, a Duw ar y drugareddfa rhwng y cerubiaid. Beth er hyny? nid oedd un ffordd agored i'r bobl fyned at Dduw. Yn unig yn yr Archoffeiriad fel eu cynnrychiolwr y caent hwy ddyfodfa ato. Ond y mae i ni Archoffeiriad sydd, nid yn unig wedi myned at Dduw, a gwneuthur cymmod trwy ei waed, ond yn ffordd i ninnau fyned at y Mawredd Dwyfol ar ei ôl a thrwyddo ef. A ydym yn gwybod y ffordd at Dduw? a chyda ei gwybod, a ydym yn ei cherdded? A ydym yn mwynhâu heddwch â Duw trwy ein Harglwydd Iesu Grist? Ei enw ef yn unig yw grym a hyder pechadur i nesâu. Wele ŵr â chanddo achos i fyned at bendefig o urddas a dylanwad mawr; ac y mae wedi cael llythyr cyflwyniad gan un sydd yn gyfaill i'r pendefig, ac yn gyfeillgar âg yntau. Wedi myned at y palas, mae llawer o rwystrau o gwmpas y pyrth. 'Nid yw 'meistr am weled neb heddyw,' medd y porthor. Ond mae'r gŵr yn estyn y llythyr a arwyddwyd gan un o gyfeillion penaf y pendefig; a phan ddarllenodd y pendefig y llythyr, rhoes orchymyn i ddwyn yr ymwelydd i'w wyddfod yn ddioed. Y mae'r ddeddf, a chydwybod, a Satan, yn gweithio yn gryf yn meddwl pechadur i'w gadw oddiwrth Dduw; ond gyda'r *pass* hwnw yn llaw ffydd, "Hwn a osododd Duw yn iawn!" caiff yr enaid y ddyfodfa rwyddaf at Dduw, a'r croesawiad mwyaf ganddo. Rhaid i'r ysbryd

fyned at Dduw yn angeu; myned ato fel ei Farnwr: mynwn yn awr fyned ato trwy Grist; myned ato fel ein Tad. Marwolaeth i enaid euog a fydd gweled Duw heb weled Crist yn ffordd i'w heddwch.

# PREGETH VIII.

## NODWEDDIAD A DEDWYDDWCH Y DYN DUWIOL.

PSALM cxii.: "Molwch yr Arglwydd. Gwŷn ei fyd y gŵr a ofna yr Arglwydd, ac sydd yn hoffi ei orchymynion ef yn ddirfawr. Ei hâd fydd cadarn ar y ddaear; cenedlaeth y rhai uniawn a fendithir. Golud a chyfoeth fydd yn ei dŷ ef, a'i gyfiawnder sydd yn parhâu byth. Cyfyd goleuni i'r rhai uniawn yn y tywyllwch; trugarog, a thosturiol, a chyfiawn, yw efe. Gŵr da sydd gymwynasgar ac yn rhoddi benthyg; wrth farn y llywodraetha efe ei achosion. Yn ddiau nid ysgogir ef byth; y cyfiawn fydd byth mewn coffadwriaeth. Nid ofna efe rhag chwedl ddrwg; ei galon sydd ddisigl, yn ymddiried yn yr Arglwydd. Attegwyd ei galon; nid ofna efe hyd oni welo ei ewyllys ar ei elynion. Gwasgarodd, rhoddodd i'r tlodion, a'i gyfiawnder sydd yn parhâu byth; ei gorn a ddyrchefir mewn gogoniant. Yr annuwiol a wêl hyn, ac a ddigia; efe a ysgyrnyga ei ddannedd, ac a dawdd ymaith; derfydd am ddymuniad y rhai annuwiol."

MAE y Salmydd yn dechreu, ni a glywn, gydag annogaeth i ganmawl Duw, ond yn troi yn ebrwydd i ganmawl ei bobl ef; oblegid pa beth bynag sydd ganmoladwy yn nghyflwr a a thymher y saint, beth bynag yw eu dedwyddwch mewn gobaith neu fwynhâd, mae y cyfan wedi deillio o Dduw, ac i ddychwelyd yn ol yn fawl iddo. Am hyny y mae y Salmydd yma yn defnyddio y naill yn gymhelliad i gyflawni y llall. Molwch yr Arglwydd, meddai; ac os gofynir, Paham? yr ateb ydyw, "Gwŷn ei fyd y gŵr a ofna yr Arglwydd, ac sydd yn hoffi ei orchymynion ef yn ddirfawr:" mae hapusrwydd tymmorol ac ysbrydol, mewn amser a thros byth, yn cylchynu y rhai a'i gwasanaethant ef. Yn nyddiau y prophwyd Malachi, yr oedd yr Iuddewon yn achwyn ac yn dyweyd mai oferedd oedd gwasanaethu Duw; bod ei ddirmygwyr ef yn fwy llwyddiannus a dedwydd na'i addolwyr. "Yr awr hon," meddynt, "yr ydym yn galw y beilchion yn

wỳnfydedig; ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw a waredwyd." Barnent gan hyny mai i'r cyfryw yr oedd yr Arglwydd yn foddlawn; o leiaf, nad oedd efe ddim yn barnu neu yn dangos i'r gwrthwyneb trwy eu cosbi hwy, na gwobrwyo ei wasanaethwyr, ac o ganlyniad nad oedd crefydd ddim yn werth ei dilyn (Mal. ii. 17, a iii. 14, 15). Ond nid felly mae y peth yn bod, fel y mae yr Arglwydd trwy y prophwyd yn dangos yno. Maë ei weision ffyddlawn mewn coffadwriaeth ger bron Duw, a'u gwobr ni phalla. Yn gynt neu yn ddiweddarach, ïe, yn y byd hwn, fe gaiff dynion weled bod "rhagor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn ni's gwasanaetho ef." "Er gwneuthur o bechadur ddrwg ganwaith," medd Solomon, "ac estyn ei ddyddiau ef, eto mi a wn yn ddïau y bydd daioni i'r rhai a ofnant Dduw, y rhai a arswydant ger ei fron ef." A'r unrhyw wirionedd a ddangosir ac a gadarnhëir yma gan y Salmydd.

Er mwyn cyffroi meddyliau ein gilydd i ogoneddu Duw yn ei saint, ac i awyddu am fod yn gyfranogion gyda hwy o ras, ni a gawn sylwi yn bresennol ar nodweddiad a dedwyddwch y dyn duwiol, fel y maent yn cael eu gosod allan yn y salm hon.

I. Nodweddiad y dyn duwiol.

"Gwỳn ei fyd y gŵr a ofna yr Arglwydd." Gŵr rhyfedd, rhaid i bawb gydnabod, yw y gŵr hwn. Mae yn decach na meibion dynion yn gyffredinol; ac yn wir, y mae lle i ofni, pe yr elid i chwilio am dano ef ymysg meibion Duw eu hunain, sef proffeswyr crefydd, na cheid ef ond megys un ymhlith mil. Mae yn rhaid i ni, dybygid, naill ai gobeithio y dichon fod gronyn o wir grefydd yn bod yn aml, ond heb flaguro a thòri allan yn ysbryd ac ymarweddiad ei pherchenogion i'r graddau y darlunir hi yn salm hon, neu ynte benderfynu fod llïaws o ddynion yn twyllo eu hunain, ac yn proffesu duwioldeb heb ei meddu. Ar yr un pryd pe gofynid i ni pwy a pha fath un ydyw y dyn duwiol, nis gallwn ateb yn well i gwestiwn felly na thrwy gyfeirio yr ymofynydd at y darluniad a gawn ni o hono yn y salm hon—ei ysbryd a'i egwyddorion. Nid oes neb yn dduwiol heb fod y pethau hyn ganddo, na phosibl i neb wybod ei fod yn dduwiol, heb fod yn ffrwythlawn ynddynt, neu fel y dywed yr apostol Pedr, eu bod ganddo, ac yn aml hwynt. Trwy eu meithrin yn yr enaid, llewyrchu arnynt a'u

dwyn allan i'w gweithrediadau prïodol ymhob amgylchiad tuag at Dduw a thuag at ddynion, mae yr Ysbryd Glân yn gwneuthur y credadyn yn ymwybodol o'u hanfodiad ynddo ei hun, ac felly yn cyd-dystiolaethu â'i ysbryd ef ei fod yn blentyn i Dduw. Ond i sylwi yn fwy neillduol ar elfenau cymeriad y dyn duwiol, ni a adawn drefn y geiriau yn y salm, i gadw yn fwy at drefn pethau; ac felly yr ydym yn nodi yn

1. *Ffydd y dyn duwiol yn Nuw.* Mae yn wir na cheir y gair ffydd yn y salm hon; eto y mae yn eglur ddangos fod ffydd gan y gŵr y mae yn ei ddarlunio. "Ei galon sydd ddisigl, yn ymddiried yn yr Arglwydd;" ac y mae ymddiried yn Nuw a chredu yn Nuw yn dyfod i'r un peth. Dywedir i ddechre mai gŵr gwŷnfydedig yw y gŵr hwn; mae yn rhaid gan hyny ei fod yn heddwch Duw; o herwydd "gwŷn ei fyd y dyn ni chyfrif yr Arglwydd iddo anwiredd." Dyna sydd yn cyfansoddi gwir hapusrwydd; ac i gael hyn, rhaid yw i ddyn fod wedi ei gyfiawnhâu trwy ffydd. Nid yw yr holl bethau eraill a ddywedir am dano yn y salm yn sail ei gymeradwyaeth. Ni chyfiawnhëir ef am ei ofn na'i gariad, ei gyfiawnder, na'i haelfrydedd; ond cyfiawnhëir ef trwy gyfiawnder Crist, yr hwn y mae yn ei dderbyn yn unig trwy ffydd. Heblaw hyny, ffrwythau ffydd yw y grasau eraill a nodir yma.

Gair anfynych yw ffydd, mae yn wir, yn yr Hen Destament; ond am y rhai hynod mewn duwioldeb yn amserau yr Hen Destament, mae y Testament Newydd yn dangos eu bod yn hynod mewn ffydd. "Trwyddi hi y cafodd yr henuriaid air da;" ffydd oedd gwreiddyn eu holl hynodrwydd. Y mae crefydd o'r dechreuad yn seiliedig ar ddadguddiad; ac nis gall ond ffydd dderbyn cynnwysiad y dadguddiad hwnw. Nid yn unig nid allasai rheswm ddychymygu am y fath drefn â threfn yr efengyl, eithr ar ol ei dadguddio, y mae ei holl ystyr, yn ei pherthynas â chariad Duw, cyfiawnder Crist, a thrugareddau a maddeuant trwyddynt, ymhell goruwch rheswm dyn. Y mae cydwybod pechod yn lleisio yn groes iddynt; a rhaid cael ffydd i'w derbyn yn galonog.

Y mae dyn dedwydd y salm hon yn ymddiried yn yr Arglwydd; y mae felly wedi ei adwaen ef fel Duw iachawdwriaeth; Duw yn maddeu anwiredd a chamwedd a phechod. "Dysgwylied Israel am yr Arglwydd;" gobeithied, ymddirieded ynddo; "o herwydd y mae trugaredd gyda yr Arglwydd, ac aml ymwared," neu

helaethder prynedigaeth, "gydag ef; ac efe a wared Israel oddiwrth ei holl anwireddau." Ymddiried yn yr Arglwydd, yn iaith yr Hen Destament, yw gobeithio yn ei air, pwyso arno (2 Cron. xiii. 18), bwrw'r baich arno, treiglo'r ffordd a'r gweithredoedd arno, ymaflyd yn ei nerth, a dystewi ynddo gan ddysgwyl wrtho; ac actau ffydd yw yr holl bethau hyn. Os ydym yn credu yn Nuw, yr ydym yn credu yn Nghrist hefyd; ïe, trwyddo ef yr ydym yn credu yn Nuw; o herwydd Duw allan o Gyfryngwr sydd Dduw y mae pechadur yn ffoi oddiwrtho mewn gelyniaeth ac arswyd. Fel y bydd calon y naill gyfaill yn ymddiried yn garuaidd yn y llall, ac fel y plentyn yn ymddiried yn ddibryder yn ei dad, felly yr ymddirieda credadyn yn y Duw byw, yr hwn a ddaeth mewn cyfammod yn Dduw iddo ef.

2. Y peth nesaf i'w nodi yn nghrefydd y dyn duwiol ydyw *ofni yr Arglwydd.* Mae y ffydd y buom yn cyfeirio ati yn gweithio trwy ofn yn y galon; credu a chrynu wrth y gair. Dyma y cyntaf o effeithiau ffydd i'r gwirionedd, ac y mae yn tymheru ac yn perffeithio pob teimlad arall a gynnyrchir ganddi. "Gwŷn ei fyd y gŵr a ofna yr Arglwydd."

Ond beth sydd yn gynnwysedig yn hyny? Mae ofn, fel y gwyddom, yn nwyd naturiol mewn dyn, ac yn gynnwysedig, dybygid, mewn teimlad pryderus, neu anesmwythyd meddwl, yr hwn sydd yn codi oddiar ddirnad am ryw ddrwg i ddyfod. Mae dynion yn ofni yr Arglwydd ddwy ffordd; yn slafaidd neu yn fabaidd: y naill yn effaith euogrwydd a llygredigaeth y nwyd grybwylledig, a'r llall yn ffrwyth ei hadnewyddiad gan yr Ysbryd Glân, ac i'w adnabod fel arswyd duwiol yn gynnwysedig âg edmygedd a pharch yn enaid y credadyn tuag at y Mawrhydi Dwyfol. Ond ni a ddylem sylwi fod yr Ysgrythyr yn rhoi ystyr ehangach na hyn i'r ymadrodd ofni yr Arglwydd. Yn yr Hen Destament yn neillduol mae yn golygu addoli neu wasanaethu yr Arglwydd; mewn gair, yr oll o grefydd. "Deuwch, blant," medd y Salmydd, "gwrandewch arnaf; dysgaf i chwi ofn yr Arglwydd;" hyny yw, dysgaf grefydd i chwi—pa fodd i gredu, i addoli, ac i fucheddu yn ol gair yr Arglwydd. Pan y byddo dynion yn gwasanaethu ac yn addoli Duw yn ol eu traddodiadau a'u mympwy eu hunain, mae y Bibl yn dyweyd yr amser hwnw bod "eu hofn hwy tuag ato ef wedi ei ddysgu allan o athrawiaeth dynion" (Esa. xxix.

13). "Os ydwyf fi Dad," medd yr Arglwydd trwy y prophwyd Malachi, "pa le y mae fy anrhydedd? ac os ydwyf fi Feistr, pa le y mae fy ofn?" Mae y ddau air yn sefyll yn agos am yr un peth: anrhydedd yn golygu Duw fel Tad, ac ofn yn ei olygu fel Meistr, a'r ddau ynghyd yn gosod allan yr holl wasanaeth a'r ufudd-dod hwnw ag sydd ddyledus i Dduw oddiwrth ei grëadur, ac yn ein dysgu hefyd am yr ysbryd hyderus, ac eto crynedig, yn yr hwn y dylem gyflwyno ein gwasanaeth iddo ef, yr hwn sydd ar unwaith yn Dad yn gystal âg yn Feistr, ac yn Feistr yn gystal ag yn Dad.

Pe gofynid i ni paham y mae crefydd yn cael ei galw mor fynych yn yr Ysgrythyrau yn ofn yr Arglwydd, yn gyntaf ni a ddywedem fod duwioldeb weithiau yn cael ei chrynhoi fel hyn i ryw un peth neillduol er mwyn rhoi arbenigrwydd ar y peth hwnw, ac i ddangos ei fod yn anhebgorol i dduwioldeb. Pan y mae yr apostol Iago, er esiampl, yn dyweyd mai "crefydd bur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad yw hyn: ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd," mae yn ein dysgu i feddwl, nid mai dyna i gyd yw crefydd, ond yn hytrach nad oes dim crefydd heb hyny; bod y cydymdeimlad a'r tueddfryd yma o anghenrheidrwydd ynddi, lle bynag y mae. Bod hebddo yw bod heb grefydd; oblegid ger bron Duw a'r Tad, hyn yw crefydd. Ac felly yr un modd am ofn yr Arglwydd; saif yn y Bibl am yr oll o grefydd. Mae yn hanfodol i grefydd, ac yn rhan mor arbenig o honi, fel ag y mae yn cynnwys y cyfan yn ei enw ei hun. Yn y gair, crefydd ac ofn yr Arglwydd ydynt yr un peth. Mae pawb gan hyny ag sydd heb ofn Duw ger bron eu llygaid yn ddynion halogedig eu meddyliau; beth bynag a broffesant, rhaid yw eu bod yn annuwiol, ac yn gwbl amddifad o deimladau crefyddol.

Ond heblaw hyny, gelwir crefydd yn ofn yr Arglwydd am fod y gras yma yn achos y cwbl ag sydd yn gynnwysedig ynddi. Y mae gwreiddyn duwioldeb yn y galon; ac fel y cyfryw, mae ei holl ymarferiadau hi yn cyfodi oddiwrtho, ac yn myned dan ei enw yn yr Ysgrythyrau. Dyma o bosibl yr oedd y Salmydd yn ei olygu pan yn dyweyd mai "dechreuad doethineb yw ofn yr Arglwydd," sef y ddoethineb, fel y mae y geiriau yn dangos, ag sydd yn gynnwysedig mewn gwneuthur gorchymynion Duw. Dechreuad y ddoethineb yma, medd y Salmydd, yw ofn yr Arglwydd.

Ac wrth ddywedyd hyn mae yn ein dysgu i ddeall, dybygid, nid yn unig fod gwir grefydd yn cael ei bôd yn ofn yr Arglwydd, a bod yr ofn yma yn rhan arbenig o honi, ond ei fod hefyd yn egwyddor ac achos pob peth arall sydd yn perthyn iddi. Mae y cwbl yn tarddu oddiwrtho, ac yn cael ei dechreuad ynddo. Yr ofn duwiol hwn sydd yn cychwyn yr enaid allan i holl ymarferiadau duwioldeb. Meithrina ynddo y purdeb, yr heddwch, y boneddigeiddrwydd, a'r holl ffrwythau da hyny, ag sydd yn perthynu i'r ddoethineb ag sydd oddiuchod. Yr ydym yn darllen am "ofni Duw a chilio oddiwrth ddrygioni;" "ofni Duw a chadw ei orchymynion." Mae y naill yn y llall. Ofni Duw yw cadw y gorchymynion yn yr egwyddor, a chadw y gorchymynion yw ofn Duw mewn ymarferiad. Mae y duwiol yn debyg i Nehemiah gynt yn gwneyd ac yn peidio gwneyd rhag ofn Duw. Mae yn wir y gelwir ufudd-dod yr efengyl yn ufudd-dod ffydd yn y Bibl; ond y mae credu yn peri ufudd-dod trwy ddwyn serchiadau grasol y galon i ymarferiad, ac y mae hyny yn ysgogi yr enaid duwiol, ac yn ei godi i weithredu yn brïodol i'r grêd hòno, ac i'r teimladau mae y grêd yn gynnyrchu yn ei fynwes. Felly yn neillduol gyda'r gras hwn. Ffydd yn gweithio trwy ofn a ysgogodd Noah, wedi ei rybuddio gan Dduw, i ddarparu arch i achub ei dŷ. A'r un modd am Abraham, pan offrymodd efe ei uniganedig fab; yr oedd yr enaint yma yn arogli hyd y nefoedd yn y weithred ryfedd hòno o ufudd-dod i Frenin y saint. "Gwn weithian," medd yr Arglwydd, "i ti ofni Duw, gan nad atteliaist dy fab, dy unig fab, oddiwrthyf fi." Yr amser a ballai i ni sôn am Hanania, Obadiah, ac eraill; ond y mae y Bibl, ar ol dangos i ni eu bod hwy yn ddynion o ysbryd mwy rhagorol na'r cyffredin, yn prïodoli y cwbl i hynyma: yr oeddynt yn ofni yr Arglwydd yn fawr, ïe, yn fwy na llawer, a rhai o honynt felly o'u mebyd. Ac yn awr, fy enaid, os yw yr ofn duwiol hwn wedi ei osod yn dy galon dithau, mae yn rhaid ei fod yn amlygu ei hunan mewn sancteiddrwydd ac ufudd-dod. Lle ffyna hwn yn ddyladwy, ni a allwn fod yn sicr y bydd yno gydwybod dyner, gwyliadwriaeth yn erbyn pechod, ynghyda phob ymdrech i gadw y galon yn berffaith gyda Duw yn ngorchymynion a dyledswyddau yr efengyl.

Ni a chwanegwn un ystyriaeth ymhellach ar y mater yma: mae gwasanaeth yr Arglwydd yn cael ei alw yn ofn yr Arglwydd oblegid

fod y gwasanaeth hwnw a phob peth a berthyn iddo i'w gyflawni gydag ofn. Mae hwn nid yn unig yn ddechreuad ymarferiadau crefyddol, ond i fod yn ysbryd a bywyd yr ymarferiadau hyny. Beth bynag a wneir i Dduw, mae i'w wneuthur yn y dymher yma. Ac ni wneir dim yn ddyladwy ond felly. Dirmyg ar Dduw, a pherygl annhraethol i eneidiau dynion ydyw dechreu ymgynefino â dyledswyddau crefyddol. Hir ymyryd â hwy heb wylder a pharchedig ofn, nid yw ddim gwell na llygru pethau cysegredig; ac ni ddylem grynu rhag y bydd Duw yn llygru y neb a'i gwnelo. Nid ysbryd ofn, mae yn wir, y mae Duw yn ei roddi i'r saint trwy yr efengyl. Ond i'r gwrthwyneb, y maent yn derbyn ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn y mae pob ofn caethwas yn cael ei symud o'u mynwesau yn ngwasanaeth eu Harglwydd. Eithr ni a ddylem gofio er hyny bod yr ofn duwiol ag yr ydym yn sôn am dano yn bresennol yn un elfen arbenig yn yr ysbryd hwnw, ac i fod bob amser mewn gweithrediad yn nghalonau plant Duw, yn eu holl ymwneyd âg ef fel eu Tad.

Os edrychwn ni arno fel ofn o ymdrech a gwyliadwriaeth, mynych yn yr Ysgrythyrau y mae proffeswyr crefydd yn cael eu cymhell i ymroddi iddo. "Ofnwn gan hyny rhag bod neb o honoch yn debyg i fod yn ol." "Os ydych yn galw ar y Tad, yr hwn sydd heb dderbyn wyneb yn barnu yn ol gweithred pob un, ymddygwch mewn ofn dros amser eich ymdeithiad." Dyma ysbryd yr ufudd-dod efengylaidd, a phob dyledswydd sydd yn perthyn iddo. Yn y gair fe gyfarwyddir y saint i berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw. Ac yn enw y Gwaredwr dyrchafedig, enw yr hwn sydd goruwch pob enw, fe'u gorchymynir i weithio allan eu iachawdwriaeth eu hunain trwy ofn a dychryn. "Gweithiwch allan eich iachawdwriaeth;" hyny yw, gweithiwch hyd y diwedd. Mae yr amcan yn ofnadwy o bwysig; bydded i ofn a dychryn eich codi a'ch cadw chwithau i weithio ato yn yr ymarferiad â phob moddion apwyntiedig hyd oni byddo eich iachawdwriaeth wedi ei pherffeithio. Ac os dylai y saint amddiffyn eu crefydd weithiau, a bod yn barod i ateb i'r neb a ofyno iddynt reswm am y gobaith sydd ynddynt, maent i wneuthur hyny yr un modd, nid yn ffrom a hyderus, ond "gydag addfwynder ac ofn," hyny yw, yn addfwyn tuag at ddynion, ac yn grynedig ger bron Duw.

Diammheu bod lle mawr i'r ysbryd yma yn addoliad yr efengyl,

lle mae a wnelom yn y modd mwyaf uniongyrchol â Duw. Yn Deuteronomium (xxviii. 58), mae yr Arglwydd yn apelio at Israel yn y mater yma: "Oni chedwi di ar wneuthur holl eiriau y gyfraith hon, y rhai sydd ysgrifenedig yn y llyfr hwn, gan ofni yr enw gogoneddus ac ofnadwy hwn, YR ARGLWYDD DY DDUW!" Mae gwir addoliad yn cael ei ddangos i ni yma. Ei wrthddrych ydyw, "Yr Arglwydd dy Dduw." Enw yr Arglwydd dy Dduw; hyny yw, y Jehofah bendigedig yn yr amlygiad o'i ogoneddus a'i ofnadwy fawrhydi. Dyma achos uniongyrchol addoli. Y ffordd y dylid arddangos a chyflawni yr addoliad yma ydyw, "yn ol holl eiriau y gyfraith hon," sef yn yr ymarferiad dyladwy â'r holl ordinhadau dwyfol. Ond yr addoliad ei hunan, chwi a graffwch, ydyw, "ofni yr enw gogoneddus ac ofnadwy hwn." Dyma enaid y peth—yr ysbryd yn yr hwn y mae yr holl wasanaeth i gael ei gyflawni. "Mi a ddeuaf i'th dŷ yn amlder dy drugaredd," medd y Salmydd; "ac a addolaf tua'th deml sanctaidd yn dy ofn di." Ac yn yr ail salm mae yn galw eraill i wneuthur yr un modd: "Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn ofn, ac ymlawenhewch mewn dychryn." Dyry bwys mawr ar hyn: gwasanaethu mewn ofn; ïe, hyd yn nôd pan byddo ein calonau yn cael eu gwneyd yn llawen yn y gwasanaeth, mae Gwrthddrych ein haddoliad yr un mor fawr, a'n teimladau puraf ninnau mor gymysglyd, fel y mae yn gweddu i ni ymlawenhâu mewn dychryn.

Yn ngoruchwyliaeth Crist Iesu, fel yr awgrymwyd eisoes, mae yr ofn gwasaidd hwnw ag oedd yn caethiwo hyd yn nôd y saint eu hunain o dan y ddeddf a'i gwasanaeth, wedi ei symud ymaith. Mae ysbryd hon yn rhyddid, a'i haddoliad yn orphwysfa i eneidiau yr addolwyr. Ond fe ellid meddwl oblegid hyn bod y perygl oddiwrth hyfdra cnawdol yn fwy. O leiaf mae yr apostol yn cymeryd achlysur oddiwrth sefydliad yr oruchwyliaeth efengylaidd i alw yn uwch am yr ofn duwiol hwn, ac yn dangos fod cymaint o le iddo yn awr mewn crefydd âg erioed. "O herwydd paham, gan ein bod ni yn derbyn teyrnas ddisigl, bydded genym ras, trwy yr hwn y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd, gyda gwylder a pharchedig ofn; oblegid ein Duw ni sydd dân ysol." Er mai ein Duw ni ydyw, a'n bod yn cael y fraint o'i wasanaethu ef megys ar fynydd Sïon, yn efengyl ei Fab ef, eto ein Duw ni sydd dân ysol. Yr ydym yn addoli Mawrhydi anamgyffredadwy, yr hwn sydd yn

ofnadwy mewn cyfiawnder a sancteiddrwydd, ac yn edrych gydag eiddigedd am gael ei sancteiddio yn mhawb a nesânt ato. Gofynwch i'r duwiol pa fath yw yr amlygiadau o Dduw yn ei ordinhadau, a beth yw yr effeithiau a gynnyrchant yn ysbryd y gwir addolwr, ac efe a ddywed wrthych yn debyg i'r Salmydd, "Duw sydd ofnadwy iawn yn nghynnulleidfa y saint, ac i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd." Ofn ydyw crefydd, ac a fydd hi byth. Mae cymaint o naws hwn i fod ar bob gras, ac ar bob gwasanaeth o eiddo y saint, fel y mae yn dynodi y cwbl. "Eu harswyd hwy," yw enw gwrthddrych eu haddoliad; "eu hofn hwy tuag ato ef" y gelwir yr addoliad ei hun. Ymhob dyledswydd grefyddol, yr ydych "yn dwyn anrheg i'r Ofnadwy;" a dylai gael ei chyflwyno gydag esgidiau diosgedig, wyneb a thraed wedi eu cuddio gan adenydd gostyngeiddrwydd a gwylder duwiol. Mae yr ofn hwn i nawseiddio pob gras, ac i hynodi pob ymddygiad. Os bydd yn ddwfn yn y galon, bydd y zêl yn dymherus, y geiriau yn anaml, tôn y llais a phob ystum gorfforol, yn arddangos parch i gysegr Duw. Ond pe yr elid i lawer addoldŷ, gellid dyweyd, "Nid oes ofn Duw yn y lle hwn!" cyflawniadau y pulpud, ac odditano, o'r canu i'r amen, yn arogli diffyg parchedig ofn. Cenadwri gymhwys yw hòno gan yr angel sydd yn ehedeg yn nghanol y nef, "Ofnwch Dduw, a rhoddwch iddo ogoniant!"

3. Llinell arall yn nghymeriad y duwiol yw *cariad at orchymynion Duw.* "Gwŷn ei fyd y gŵr a ofna yr Arglwydd, ac sydd yn hoffi ei orchymynion ef yn ddirfawr."

Mae cariad yn gystal âg ofn yn y galon a adnewyddwyd gan ras. Y mae ofn yn bod âg sydd yn llethu cariad; nid oes dim o'r ofn hwnw mewn cariad; ac y mae cariad, os bydd yn ffŷnu yn y galon, yn bwrw allan y fath ofn. Nid felly am yr ofn a fu dan ein sylw yma. Y mae'r ddau yma wedi tarddu o'r un ffynnon, yn rhedeg i'w gilydd, ac yn cyfansoddi un ansawdd fendigedig ar enaid cristion: ofni yr Arglwydd, a hoffi ei orchymynion ef yn ddirfawr. Yn wyneb y gorchymyn, mae yr enaid duwiol yn canfod mawredd awdurdod a phurdeb natur y Jehofah, a'r mawrhydi a'r purdeb hwnw yn llewyrchu mewn daioni a gras; yr hawddgar yn ofnadwy, a'r ofnadwy oll yn hawddgar, mewn Cyfryngwr. Ac y mae hyn yn cynnyrchu ofn a hoffder yn ysbryd y meddwl. "Trugarog fyddaf," medd Duw; ac wrth ei glywed, mae yr euog

yn llawenychu. Ond trugaredd mewn iawn ydyw; a chan hyny efe a lawenhâ mewn dychryn. Mae yr olwg ar brïodoliaethau Duw yn llewyrchu trwy eu gilydd mewn mawredd a mwyneidd-dra, fel bysedd y cerddor yn cyffroi holl dànau grasol ei galon. Y mae gweled ei berson yn ddïogel rhag melldith y gorchymynion, ei natur wedi ei hadnewyddu i gydymffurfiad â hwy, yr Ysbryd yn cynnorthwyo ei wendid i'w cadw, a'i wasanaeth ynddynt a'i ufudd-dod iddynt yn gymeradwy yn yr Anwylyd, ac yn dybenu mewn bywyd tragywyddol, yn peri iddo eu hoffi yn ddirfawr. Nid aeth natur lygredig allan erioed gyda mwy o awydd-fryd at wrth-ddrychau ei chwantau nag yr ä yr enaid grasol at air ac ordin-hadau yr efengyl. Os gofynwch paham y mae efe yn chwilio yr Ysgrythyrau beunydd, yr ateb yw, Am ei fod yn eu hoffi yn ddir-fawr. Dyma ei gynghorwyr mewn dyryswch, ei ddyddanwch mewn trallod, cyfrwng cymdeithas ei enaid â Duw, a gweithred-oedd ei etifeddiaeth dragywyddol. Felly mae'r gair yn felusach na'r mêl iddo; ac y mae yn llawenychu ynddo fel un yn cael ysglyfaeth lawer.

4. Y peth nesaf i gymeryd sylw arno yn nghrefydd y dyn duw-iol ydyw *cyfiawnder ac uniondeb*. Ymddengys fod y pethau hyn yn llinellau uchel yn ei gymeriad, a bod ei enw yn glodfawr a chymeradwy gyda Duw a dynion oblegid hyny. "Ei gyfiawnder," meddir yn y salm, "sydd yn parhâu byth—y cyfiawn fydd byth mewn coffadwriaeth—y rhai uniawn—cyfiawn yw efe."

Y mae ystyr yn bod yn yr hwn y mae y credadyn yn berffaith gyfiawn, â'i farnu yn ol manylaf ddeddf ei natur. Ond y mae felly nid ynddo ei hunan ond yn Nghrist, "yr hwn nid adnabu bechod, ond a wnaeth efe yn bechod drosom ni, fel ein gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Yma mae holl bechodau y credadyn yn cael eu maddeu, a'i wall-ufudd-dod yn cael ei gyf-lawni trwy ufudd-dod perffaith y Gwaredwr, yn yr hwn yn awr y mae y Barnwr tragywyddol yn ei olygu ef, ac felly y mae yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw. Ond nid y cyfiawnder sydd yn wreiddiol yn Nghrist, ac yn gyfrifol i'r pechadur sydd yn credu, a olygir yn gymaint yma, ond yn hytrach y cyfiawnder sydd yn wreiddiol yn y credadyn ei hunan, ac yn dynodi ei gymeriad ef. Yn awr pan y mae hwn yn sefyll wrtho ei hun yn yr Ysgrythyrau, dylid ei gymeryd ef yn yr ystyr ehangaf; mae yn golygu yr oll o

grefydd y dyn duwiol. Ond weithiau ni a'i cawn ef mewn cysylltiad â geiriau eraill, megys, "cyfiawn a duwiol," "cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd." Yn y cysylltiadau hyn, fel y mae duwinyddion yn sylwi, mae yn ildio rhan o'i ystyr iddynt hwy. Mae y geiriau *duwioldeb* a *sancteiddrwydd* y pryd hwnw yn gosod allan ansawdd a dyledswyddau yr enaid tuag at Dduw, tra y mae ystyr y gair cyfiawnder yn cael ei gyfyngu i ymddygiadau y dyn duwiol at ei gydgrëadur. Ond wrtho ei hunan mae yn sefyll am y cwbl. Cywirdeb cyffredinol ydyw mewn calon a bywyd, yn cynnwys nid yn unig uniondeb tuag at ddynion, ond crefydd tuag at Dduw hefyd; mewn gair, "holl ddyled dyn."

Dyma nodweddiad y pechadur sydd wedi ei grëu o newydd yn Nghrist Iesu. Dyn ydyw ag sydd wedi ei unioni tuag at Dduw a dynion. Mae yn 'talu i bawb yr eiddo' mewn dull pur wahanol i syniad plant y byd hwn. Nid yw eu *pawb* hwy yn golygu dim mwy na dynion, na'r *eiddo* yn golygu dim ond yr hyn a delir mewn arian. Ond am y dyn duwiol, mae efe nid yn unig yn y mater yma yn golygu "talu yr eiddo Cesar i Cesar," ond hefyd "yr eiddo Duw i Dduw." Duw sydd yn dyfod gyntaf i'r cyfrif gyda'r dyn duwiol. Ac yn yr olwg ar ei rwymedigaethau iddo ef, mae beunydd yn barod i ofyn, Beth a dalaf i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i mi? O ddyn! O gristion! mae hyd yn nôd dy enw yn adgoffa i ti dy rwymedigaeth i Dduw. Yr wyt yn ei ddyled ef nid am ei roddion yn unig, "ond am danat dy hun hefyd." Yr oedd ganddo anfeidrol hawl arnom bob amser fel ein Gwneuthurwr; ond trwy wyrth o gariad, fel y dywedai un, y mae wedi ychwanegu yr anfeidrol at yr anfeidrol. "Addunedwch a thelwch i'r Arglwydd eich Duw." A oes genym hawl gan hyny i ystyried ein hunain yn ddynion gonest a chyfiawn, ac anghofio ein rhwymedigaethau iddo ef, ffynnon ein bôd, a gwrthddrych ein gobaith a'n dedwyddwch? Hwyrach, fy enaid, dy fod yn talu rhyw gymaint o leiaf o'th ddyledion i'th gydgrëaduriaid, y mân ofynwyr sydd o'th amgylch; ond pa fodd, attolwg, y mae pethau yn sefyll rhyngot ti â'r prif echwynwr *(chief creditor)?* Onid oes i'r tragywyddol Dduw ei iawnderau? Onid yw ofn, cariad, addoliad, ac ufudd-dod, yn ddyledus oddiwrthyt iddo ef? Am y dyn yr ydym ni yn sôn am dano, pa fodd bynag, mae ei gyfiawnder a'i uniondeb ef yn dechreu yn ei grefydd: mae yn ofni yr Arglwydd, ac yn

hoffi ei orchymynion ef yn ddirfawr; cyfiawn ac uniawn yw efe. Yn ngolwg maint ei ddyled i'w Arglwydd a'i Waredwr, ni fynai deimlo fod dim ag sydd ganddo yn eiddo iddo ei hun. Mae yn gwerthu cymaint oll ag a fedda, ac yn cysegru ei holl feddwl, ei holl enaid, ei holl galon, a'i holl nerth, ac o hyd yn talu y ddyled hòno, ac yn teimlo mai dyledwr a fydd efe byth.

Drachefn, os ystyriwch y dyn duwiol yn ei gysylltiadau teuluaidd a chymdeithasol, cyfiawn ac uniawn yw efe. Mae ei gariad at Dduw yn cynnwys ynddo gariad hefyd at ei gymydog yn ol gorchymyn Duw; a chan ei fod yn ei garu fel ef ei hun, mae yn sicr o ymddwyn yn gyfiawn tuag ato; a chwi a ellwch fod yn sicr hefyd y bydd ei gyfiawnder ef yn yr ystyr yma yn llawer helaethach na chyfiawnder y dyn sydd yn gorphwys yn unig ar fod yn gyfiawn, a dim mwy na chyfiawn. Mae cyfiawnder ymarferol y dyn yr ydym ni yn sôn am dano yn llywodraethu ewyllysiau a thueddiadau ei galon yn gystal â'i ymddygiadau allanol; ni chaniatâ iddo ei hunan, nid yn unig gymeryd dim, ond chwennychu dim ag sydd yn eiddo ei gymydog. Pan aiff y dyn duwiol i dalu i bawb yr eiddo, mae yn talu mewn myrdd o bethau nas gellir eu talu mewn arian. Gan edrych ar ei gyd-ddyn fel crëadur tragywyddol, ac fel pechadur colledig, nid yn ddiobaith, y mae o leiaf i'r graddau y cymhellir ef gan gariad Crist yn rhoi ei hunan allan ymhob ffordd ag a duedda i'w leshâd tymmorol, ysbrydol, a thragywyddol ef. Meddyliwch, er esiampl, am Paul yn talu ei ddyled i'w gydgrëaduriaid. Fel dyn wedi marw bron i'w iawnderau personol ei hunan, mae yn wastad yn fyw i'w rwymedigaethau i eraill. "Dyledwr ydwyf i'r Groegiaid ac i'r barbariaid hefyd, i'r doethion ac i'r annoethion hefyd." Ac wrth dalu y ddyled yma i'r eglwysi a'i gyd-ddynion, ni a'i cawn ef yn treulio ac yn ymdreulio, a hyny yn ewyllysgar iawn yn eu gwasanaeth. Gan osod ei enaid ei hun megys yn lle eneidiau ei frodyr, mae yn cynnal y gweiniaid, yn cofio y tlodion, ac yn adgyweirio y tramgwyddedig, a chan ddyoddef llifogydd o flinderau drostynt, yn "ymwneyd yn bob peth i bawb fel y gallai yn hollol gadw rhai." Mae rhyw fesur o'r un ysbryd ymhob dyn duwiol. Mae cariad wedi ei wneyd ef yn was i bawb. Nid yw ateb i ryw ychydig ofynion penodol ond rhan fechan o'i gyfiawnder; mae yn gwneyd aberth o'i fywyd mewn trefn i wasanaethu eraill trwy gariad.

Ond O! fel y mae y cnawd yn gwingo yn erbyn hyn. Cyflawni, fel y sylwir gan un awdwr, ewyllys dyn yr hwn nad oes ganddo un hawl i'w orchymyn—cyd-ddwyn â thaerineb afresymol mewn ysbryd digyffro, yn gystal âg agwedd felly—ymostwng i gymeryd difrod ar ein hamser gan hanes diflas un arall—caniatâu i ni ein hunain gael ein tynu i faterion a allant fod yn fuddiol, o bosibl, ond a fyddant yn ddigon anhyfryd—boddloni i ymddangos yn anghall a thryblus er mwyn arall—ymostwng i wneyd aberth y gallasem beidio ei wneyd, yn unig fel na byddai i ryw deimlad tyner neu gilydd gael ei glwyfo—rhoi i fyny i arall yr anrhydedd neu y fantais a allasem yn dêg ei hòni i ni ein hunain—derbyn mewn dystawrwydd ddehongliad anffafriol ar ein hymddygiad neu ein syniadau ein hunain mewn trefn i ddïogelu anrhydedd rhywun arall rhag yr hyn a fuasai eto yn fwy niweidiol—O y fath deimlad, frodyr, y fath wasgu, y fath aberthu, sydd yn y pethau hyn a'u cyffelyb! Ar yr un pryd, er gwneuthur hyn oll, dywed y cristion, "Gwas anfuddiol ydwyf, canys yr hyn a ddylaswn ei wneuthur a wnaethum." Nid yw y cyfan ddim mwy na'r hyn a all ei gydgrëadur ofyn, neu, o leiaf, na'r hyn y mae Duw yn ei ofyn oddiar ei law i'w gydgrëadur.

Mae yn afreidiol ychwanegu, dybygid, y bydd dyn o'r ysbryd yma yn sicr o fod yn ddyn cydwybodol, didwyll, a chyfiawn, ac yn wir yn un anrhydeddus hefyd, yn ei holl ymdrafodaeth fasnachol—yn ddyn a dâl, ïe, yr hatling eithaf, o'i ddyled arianol i'w gyd-ddynion. Wrth brynu, yr hen egwyddor batrïarchaidd yw ei reol, "Rhodded hi i mi am ei llawn werth o arian." Yn wyneb ei ofynwyr, ei arwyddair ydyw, "Mi a dalaf y cwbl oll." Ewch i'w fasnachdŷ ef, chwi gewch gyfiawnder ar lathen, ar bwys, ac ar fesur; canys y mae y dyn duwiol yn ei ofni Ef, yr Hwn a ddywedodd fod y mesur prin a'r cèryg twyllodrus yn ffiaidd yn ei olwg.

5. Mae un nôd ymhellach i sylwi arno yn nghymeriad y dyn duwiol, a hyny yw, *ei haelfrydedd a'i ddaioni.* "Gŵr da" y gelwir ef yma; a'r gŵr da hwn "sydd gymwynasgar, ac yn rhoddi benthyg—trugarog a thosturiol yw efe—gwasgarodd, rhoddodd i'r tlodion."

Dilys yw fod y rhinweddau hyn, yn yr ymarferiad uchaf o honynt, yn gynnwysedig yn y cyfiawnder y buom yn sôn am dano

o'r blaen, âg i ni olygu cyfiawnder yn yr ystyr ëang a ddarluniwyd. Ac yn wir haelfrydedd y dyn duwiol a eilw y Salmydd yn adn. 9, "ei gyfiawnder ef;" fel y dengys yr apostol Paul wrth gyfeirio at y geiriau hyn: "Megys yr ysgrifenwyd, Efe a wasgarodd, rhoddodd i'r tlodion, ei gyfiawnder ef," hyny yw ei haelioni yn yr ymarferiad o hono, ynghyda'i ffrwythau, "sydd yn aros yn dragywydd" (2 Cor. ix. 9). Mae y tueddfryd yma, yn gystal a'r ymarferiad sydd yn codi oddiwrtho, yn bethau sydd yn cael eu gofyn yn neddf yr Arglwydd; ac felly y mae pob dyn annhrugarog wrth ei gydgrëaduriaid yn droseddwr o'r ddeddf hòno, ac yn ddyn anghyfiawn yn ngolwg Duw. Ar yr un pryd nid yw y geiriau yn gwbl gyfystyr. Ni a gawn y gair *da* weithiau yn sefyll mewn cyferbyniad â'r gair *cyfiawn* yn y Bibl, fel yn golygu rhywbeth pellach. "Braidd y bydd neb farw dros un cyfiawn," medd yr apostol; "dros y da, ysgatfydd, fe feiddiai un farw hefyd." Y cyfiawn yma, dybygid, yw y diddrwg yn unig; y dyn a wna i'r manylrwydd yr hyn sydd dêg ac uniawn â phawb, ond dim mwy na hyny. Ond pan y byddo dyn yn ymhelaethu mewn rhinwedd, ac yn myned dros ben yr hyn sydd gyfiawn, yn ystyr gyfyng y gair, y mae nodau eraill yn cael eu hychwanegu at ei gymeriad, megys yn y salm hon: "Gŵr da, a thrugarog, a thosturiol, a chyfiawn yw efe." Dan y naill enw y mae y dyn duwiol yn rhoi yr eiddo arall i'w berchenog, tra yn ol y llall ei fod yn rhoi o'r eiddo ei hunan i'r tlawd a'r anghenus. Fel cyfiawn mae yn gwneyd pa beth bynag a ellir ddysgwyl oddiwrtho; ond fel y da a'r cymwynasgar, mae yn gwneyd mwy nag a allasai eraill feiddio gofyn oddiar ei law. Gweithreda yn rhydd oddiar dueddiadau grasol ei galon ei hun, heb hawl na gorfodaeth o du dynion. Ar yr un pryd, mae y duwiol yn yr actau gwirfoddol yma yn ymdeimlo â'i rwymedigaethau i Dduw. Mae yn ymwybodol pe na bae yn cyflawni gweithredoedd o drugaredd a thosturi, y byddai yn ddyn anghyfiawn ger ei fron Ef; ac yn yr ymarferiad uchaf o'r pethau hyn hefyd, y mae yn dywedyd, "Gwas anfuddiol ydwyf; canys yr hyn a ddylaswn ei wneuthur a wnaethum."

Wedi ceisio egluro natur y rhinweddau hyn, caniatäer i ni rai geiriau ymhellach am hynodrwydd eu perchenog gyda golwg arnynt, rhag i ni ei gamgymeryd, a syrthio yn fyr o'i hapusrwydd.

1. Chwi a graffwch ar *wiredd* neu *gywirdeb ei gymeriad.* Mae

yr egwyddorion grasol hyn yn y dyn duwiol, ac yn cyfansoddi gwir ansawdd ei feddwl. Yn y Bibl fe'n gorchymynir, nid i *wneuthur* da yn unig, ond i *fod* yn dda. Ac felly y darlunir y duwiol yma: y mae efe yn "ŵr da; trugarog, a thosturiol, a chyfiawn yw efe." Mae yn gweithredu felly am ei fod ef felly.

Mewn trefn i'n gweithredoedd fod yn dda a chymeradwy, ni a ddylem gofio fod yn rhaid i ni fod felly ein hunain yn gyntaf: ein personau yn gymeradwy, ac egwyddorion grasol yn llywodraethu ein calonau, a'n holl weithrediadau yn codi oddiwrth yr egwyddorion hyny—y cyfan yn cael eu bywhâu gan gariad, a'u gwneuthur mewn ofn. Dylem edrych o barth i'n meddyliau a'n gweithrediadau crefyddol, a ydynt yn ffrwyth da, sydd yn profi fod y pren yn dda; hyny yw, a ydynt yn codi oddiar eu gwreiddyn prïodol yn y meddwl, ac yn amlygiad o wir ansawdd y galon. Mae yn bosibl i ddyn o'r naill dymher gyflawni ambell weithred sy'n perthyn i dymher arall ar dro. Gall y traws a'r drygionus ymddwyn weithiau megys pe byddai yn ddyn cyfiawn ac anrhydeddus. Dywedir weithiau, hyd yn nôd "am y cybydd, Hael yw." Mae hwnw yn ymddangos yn hael a chroesawus ar ryw achlysuron. "Efe a ddywed wrthyt, Bwyta ac yf; a'i galon heb fod gyda thi." Ond, meddai Solomon, "Fel y meddylia yn ei galon, felly y mae efe." Dyma ydyw y dyn mewn gwirionedd; a phan yn ymddwyn yn wahanol, mae yn gweithredu yn groes i'w egwyddorion a thueddfryd ei galon; mewn gair, yn groes iddo ei hun. Gallai y cyfryw ddywedyd am y da a gyflawnant yn debyg ag y dywedai Paul am yr hyn oedd ddrwg ynddo, "Canys yr hyn yr wyf yn ei wneuthur, nid yw foddlawn genyf; canys nid y peth yr wyf yn ei ewyllysio, hyny yr wyf yn ei wneuthur; eithr y peth sydd gâs genyf, hyn yr ydwyf yn ei wneuthur." Yn gyffelyb mae llawer gyda chrefydd. Beth bynag a bair eu bod yn cyflawni eu dyledswyddau, ac yn mwynhâu rhyw hyfrydwch yn yr ymdriniaeth â'i phethau, nid egwyddor dumewnol o ras, a chariad at Dduw, sydd yn peri hyny; ac o ganlyniad bydded ef y peth a fyddo, nid yw yn ddim a gyfansodda ddyn neu gymeriad sanctaidd a da.

Ië, ni a allwn ddyweyd ychwaneg na hyn. Fe ddichon dyn anianol nid yn unig gyflawni ambell ddyledswydd grefyddol yn awr ac yn y man mewn ufudd-dod i'w gydwybod, ac i ryw lesmeiriau trancedig, ond fe all fynychu y dyledswyddau hyny

gymaint hyd oni byddo wedi ffurfio cymeriad da, ac ymarferiadau crefyddol wedi myned megys yn ail natur iddo, ac eto bod o hyd yn ddim ond dyn anianol. Nid oes dim goruwchnaturiol yn ei grefydd. Ymarferiadau gwneuthur (*acquired habits*) yw ei holl ymarferiadau crefyddol ef: nid ydynt yn codi oddiar yr un gwreiddyn, nac yn cael eu bywhâu gan yr un ysbryd, âg ymarferiadau y dyn duwiol, yr hwn sydd yn gweithredu oddiar adnewyddiad y galon i garu Duw. Mae y ddau, hwyrach, yn addoli yn yr un lle; ond y mae y duwiol yn addoli mewn ysbryd a gwirionedd, ei enaid yn mawrhâu yr Arglwydd, a'r cwbl sydd ynddo ei enw sanctaidd ef. Mae y naill fel y llall yn deall trefn yr efengyl, ac yn teimlo parch i air ac ordinhadau Duw; ond y mae'r cristion ymhellach yn gweled gogoniant yn mhethau y gair, ac yn hoffi ei orchymynion ef yn ddirfawr; maent yn felusach iddo na'r mêl, ac na dyferiad y diliau mêl. Mae y ddau o bosibl yn haelfrydig; ond tra mae un yn gweithredu yn ol ei fympwy ei hunan, ac yn unig wrth alwad rhyw dynerwch naturiol sy'n deffro yn achlysurol yn ei fynwes, y mae cyfiawnder y llall yn hyn yn aros yn dragywydd; hyny yw, mae efe yn gweithredu yn barhäus oddiar deimlad o'i rwymedigaethau i Dduw, ac oddiar gariad ato ef, gan geisio y gogoniant sydd o Dduw yn unig. Edrychwn o ba ysbryd ac egwyddorion yr ydym gyda chrefydd; oblegid pe bae genym ei holl ddoniau, a'i holl wybodaeth hi, a chyrhaeddyd yn nghyflawniad ei dyledswyddau càn belled a phorthi y tlodion â'n holl dda, a rhoddi ein corff i'w losgi, ac heb genym gariad, nid ydym ddim—nid yw ddim lleshâd i ni.

Yn holl ddyledswyddau ufudd-dod, mae'r cristion yn gweithredu fel efe ei hunan. Gweithrediadau anian yw y cwbl, ac am hyny y maent yn naturiol ac yn hawdd. Os teimla wrthwynebrwydd iddynt, hyny sydd yn codi naill ai oddiwrth elynion allanol, neu oddiwrth ddrwg tufewnol y mae'r galon yn ei gasâu, ac yn dyheu am waredigaeth. Ei awyddfryd yw rhedeg yn ffordd y gorchymynion. Nid deffro ar fore dydd yr Arglwydd y mae i ofyn, Pa bryd yr ä y sabbath heibio? ond y mae yn "galw y sabbath yn hyfrydwch," ac yn llongyfarch y diwrnod, gan ddywedyd, "Dyma y dydd a wnaeth yr Arglwydd; gorfoleddwn a llawenychwn ynddo." Nid grwgnach y mae uwch ben dyledswyddau Duw, ond teimla a dywed, "Ei orchymynion ef nid ydynt drymion." Nid gwneyd

ambell elusen dan furmur, "I ba beth y bu y golled hon?" eithr y mae yn trugarhâu mewn llawenydd; y mae ynddo barodrwydd meddwl; parodrwydd i ewyllysio, a pharodrwydd i gwblhâu; ïe, gwelwyd yn fynych mewn dyn duwiol helaethrwydd llawenydd mewn dwfn dlodi yn ymhelaethu i gyfoeth ei haelioni (2 Cor. viii. 2, 11, 12). Dywed efe am holl ddyledswyddau duwioldeb, "Parod yw fy nghalon, O Dduw; parod yw fy nghalon." Gwyliwn ymorphwys ar ddyledswyddau allanol ufudd-dod heb anian sanctaidd oddifewn. Pa mor dda bynag y byddont ynddynt eu hunain, a pha mor lïosog bynag eu nifer, os heb dduwiol anian yn waelod iddynt, ceir ni a hwythau gan Dduw sanctaidd yn anghymeradwy.

2. Chwi a sylwch ar *berffeithrwydd cymeriad* y dyn duwiol. Gosodir ef allan yn y salm hon fel dyn yn yr hwn y mae yr holl rinweddau a grybwyllir yma wedi cydgyfarfod. Efe a ddesgrifir yn y cyfan; mae y cwbl megys wedi eu cyd-doddi i'w ysbryd, ac fel gwahanol elfenau yn myned i mewn i gyfansoddiad ei gymeriad moesol.

Nid rhyw bethau âg y mae y saint yn eu meddu rhyngddynt â'u gilydd ydyw y grasau hyn: un yn ofni yr Arglwydd, ac arall yn hoffi ei orchymynion—y naill yn gyfiawn, a'r llall yn drugarog; na! nid felly, ond y mae yr oll o'r pethau hyn ymhob un o'r saint. Maent yn naturiol felly i ddechre. Ac megys y mae yr oll o honynt yn egwyddorion cynhenid sydd yn perthyn i natur y saint fel dynion, deiliaid y grëadigaeth gyntaf, felly yr un modd yn y grëadigaeth newydd, drachefn, y maent oll yn cael eu hadnewyddu. Parhânt yr un ag oeddynt o ran eu hanfod a'u sylwedd; ond y maent o ran eu hansawdd yn wahanol—yn serchiadau grasol, ac am hyny yn cael eu galw yn "ffrwythau yr Ysbryd." Mae yn wir nad oes yr un o alluoedd y saint yn cael eu sancteiddio yn gwbl yn y fuchedd hon; ond nid oes yr un o honynt ychwaith yn cael eu gadael heb eu sancteiddio mewn rhan, a'u sancteiddio fwyfwy. Mae pechod, chwi a wyddoch, yn cael ei alw yn "hen ddyn;" mae megys dyn yn y dyn, am ei fod wedi llygru y dyn i gyd; felly gras yr un modd: mae yntau yn ddyn yn y dyn, oblegid y mae yn treiddio trwy holl alluoedd a serchiadau yr enaid, ac yn gwneyd y cyfan yn "ddyn newydd." Crëadigaeth ydyw gwaith yr Ysbryd. Yr ydych yn dysgwyl cael

ymhob crëadur y cyfansoddiad, y tueddiadau, mewn gair, y cwbl ag sydd yn perthyn iddo fel crëadur. Neu os yw yr anafus i'w gael ar dir natur weithiau, nid yw byth felly mewn gras. Am y crëadur newydd yn Nghrist Iesu, chwi a gewch ynddo yr oll sydd hanfodol iddo. "Pa bethau bynag sydd wir, pa bethau bynag sydd onest, pa bethau bynag sydd gyfiawn, pa bethau bynag sydd bur, pa bethau bynag sydd hawddgar, pa bethau bynag sydd ganmoladwy, od oes un rhinwedd, ac od oes dim clod," y maent i'w gweled ynddo, ac i'w dysgu yn ei esiamplau.

Mae pob egwyddor arall o ufudd-dod yn ddiffygiol. Yn y tymmor mwyaf crefyddol ar y dyn diadgenedledig, mae yn byw mewn rhyw fai adnabyddus, yn esgeuluso rhyw ddyledswydd, neu yn gwbl ddiffrwyth mewn rhyw ras. Weithiau tra mae y dyn yn lled foesol, y mae efe yn ddigrefydd; ac weithiau i'r gwrthwyneb, tra y mae efe yn zelog dros grefydd, ac yn addolwr Duw yn ordinhadau y gair, mae ar yr un amser "ar weithredoedd yn ei wadu ef, gan fod yn ffiaidd, ac yn anufudd, ac at bob gweithred dda yn anghymeradwy." Hwyrach y ceir y tafod sydd yn bendithio Duw yn y cysegr yn melldithio dynion a wnaed ar ei lun ef. Ond y mae "dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Yr un egwyddor ag sydd yn gwneyd ei aelodau yn weision i gyfiawnder trwy yr wythnos, sydd yn eu troi yn weision i dduwioldeb a sancteiddrwydd ar ddydd Duw. Mae ei anian dduwiol yn gweithio mewn actau prïodol tuag at bob gwrthddrych, ac ymhob perthynas ac amgylchiad. Mae yn casâu pechod fel pechod, ac o ganlyniad yn casâu pob pechod. Mae yn caru sancteiddrwydd ynddo ei hun, ac felly yn amcanu am fod yn berffaith mewn sancteiddrwydd. Ac os oes rhai o ddyledswyddau crefydd yn fwy croes nag eraill i'w dymherau naturiol, ac i'w hen arferion, fe ddichon nad oes ganddo un dystiolaeth gröewach o gywirdeb ei galon mewn crefydd nag ydyw ei alar oblegid hyny, a'i ymdrech gwastadol i orchfygu ei hunan a'i annhueddrwydd at y cyfryw ddyledswyddau. Fel hyn, "wrth ein drysau mae pob rhyw odidog ffrwythau" (Can. vii. 13).

3. Mae y pethau hyn yn y dyn duwiol, nid yn unig yn rhinweddau naturiol a moesol, ond *yn rasau ysbrydol ac efengylaidd.*

"Gwir sancteiddrwydd," neu fel y gellir darllen, "sancteiddwydd y gwirionedd," sef yr efengyl, yw y rhinweddau hyn ynddo

ef. Nid nad yw crefydd y credadyn yn cynnwys pob peth da yn naturiol a moesol, ond y mae y pob peth yma ynddo ef wedi eu gwneyd o newydd. Y mae mwy ynddynt nag a berthyn iddynt fel rhinweddau moesol yn unig; canys y maent yn cael eu hymarfer o gariad at Dduw; ïe, ni a allem ac a ddylem ddyweyd mwy na hyny: nid oddiar gariad at Dduw yn unig y maent yn cael eu hymarfer, ond oddiar ffydd a chariad at Dduw trwy Iesu Grist. Yn awr y mae hyn, nid yn unig yn rhinwedd, ond yn troi pob rhinwedd arall sydd yn gwreiddio yn yr enaid yn rhinwedd efengylaidd.

Mae y credadyn yn sefyll mewn amgylchiadau neillduol: pechadur euog ac annheilwng ydyw, ond pechadur wedi ei adferu i heddwch a chymundeb â Duw drachefn; ac fe ddygwyd yr amcan gogoneddus hwn oddiamgylch mewn ffordd newydd a rhyfeddol, trwy gnawdoliaeth a marwolaeth uniganedig a thragywyddol Fab Duw. Mae hyn o anghenrheidrwydd yn delwi holl grefydd y dyn duwiol, yn gosod ei eiliw tyner ei hunan ar bob rhinwedd, gras, a dyledswydd, ag sydd yn perthyn iddi. A oes ffydd gan y credadyn? "Ffydd yn ei waed ef" ydyw. Os dywed yr Hen Destament fod ei galon yn ddisigl yn ymddiried yn yr Arglwydd, fe ddywed y Testament Newydd pa fodd y codwyd ef i hyny: "Y rhai trwyddo ef ydych yn credu yn Nuw, yr hwn a'i cyfododd ef oddiwrth y meirw, ac a roddodd iddo ef ogoniant, fel y byddai eich ffydd chwi a'ch gobaith yn Nuw." A ydyw y dyn duwiol yn ofni yr Arglwydd? Ei ofni ef a'i ddaioni yn yr iachawdwriaeth y mae. A'r un modd os yw yn ei garu ef, mae yn ei garu nid yn unig ar gyfrif tegwch a gogoniant cyffredinol ei natur, ond "am iddo ef yn gyntaf ein caru ni, ac anfon ei Fab i fod yn iawn dros ein pechodau ni." Ac os yw yn hawdd ganddo roddi a chyfranu, dyma sydd yn ei weithio i'r dymher hòno: mae yn "adwaen gras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, âg yntau yn gyfoethog fyned er ein mwyn ni yn dlawd, fel y cyfoethogid ni trwy ei dlodi ef." Y dadguddiad o Dduw yn Nghrist o'r dechreuad yw sail a bywyd crefydd pechadur; mae yn gosod ei arddull ei hunan ar bob gras, amcan, a chymhelliad, o eiddo y credadyn; mae efe wedi ei grëu, nid yn ol Duw yn unig, ond yn ol Duw yn Nghrist. Gall dyn ar dir natur fod â llawer o bethau hoffus yn ei gymeriad; ond y mae un peth yn ol iddo,—ffydd yn Nghrist;

ac heb hyny nid yw y cwbl ond ffrwythau y cnawd. Ond y mae credadyn wedi ei impio i Grist, a Christ wedi ei ffurfio ynddo yntau; ac felly y mae naws efengylaidd ar ei holl grefydd a'i ddyledswyddau. Ffydd yn Nghrist yw gwreiddyn y cwbl; gogoniant Duw yn Nghrist sydd yn ddyben gan yr enaid, a'i ddaioni yn Nghrist sydd yn ei gymhell.

4. Hynodir dyn duwiol y salm hon gan *addfedrwydd ei ysbryd yn y grasau a'r gweithredoedd da a nodir.* Nid dyn duwiol yn unig a ddangosir yma, ond dyn duwiol iawn. Heblaw meddu egwyddorion duwioldeb, y mae yr egwyddorion hyny yn ffŷnadwy ynddo, wedi lefeinio ei holl gymeriad ef, ac yn gweithio allan ar bob achlysur gyda y fath gysondeb, ac i'r fath helaethrwydd, fel ag y mae efe yn gyfoethog mewn sancteiddrwydd a gweithredoedd da. Yn ngeiriau yr apostol Pedr, y mae "y pethau hyn ganddo, ac yn aml hwynt," yr hyn sydd yn "peri nad yw na segur na diffrwyth yn ngwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist."

Felly y mae y salm hon yn ei osod ef allan. Os edrychwn ni arno o ran ansawdd ei enaid tuag at Dduw a dyledswyddau crefydd, mae yn amlwg ei fod yn esiampl i'r rhai ag sydd yn credu: dyn ydyw yn ofni yr Arglwydd, a'i ofni yn fwy na llawer, ac yn hoffi ei orchymynion yn ddirfawr. Yr un modd y mae yn gyfoethog mewn ffydd. Dywedir wrthym fod ei galon nid yn unig yn ymddiried yn yr Arglwydd, ond "yn ddisigl yn ymddiried yn yr Arglwydd." Er fod cyfnewidiadau a rhyfel gydag ef, eto y mae yn ddiysgog yn nghanol temtasiynau, ac yn ddiofn yn nghanol peryglon; "attegwyd ei galon" trwy nerth gras a sancteiddrwydd, fel y mae yn myned rhagddo yn dawel a diwyd, er pob "chwedl ddrwg," i wneuthur daioni i'w gydgrëaduriaid; yn "rhoddi" i rai, ac yn "benthyca" i eraill, ac yn "gymwynasgar" i bawb; a hyny mor helaeth a chyson, fel y dywedir ei fod yn "gwasgaru ac yn rhoddi i'r tlodion, a bod ei gyfiawnder yn parhâu byth." Mae y dyn hwn yn profi gwirionedd yr hyn y mae Paul yn ei ddyweyd wrth y Corinthiaid, fod "Duw yn abl i beri i bob gras"—y gallu a'r tueddfryd—"fod yn helaeth tuag ato ef, fel y mae efe ymhob peth bob amser â chanddo bob digonoldeb, yn helaeth i bob gweithred dda." Nid cynhyrfiadau anwadal yw ei reol. Ei dueddfryd a'i rwymedigaeth yw ffynnonau ei weithrediadau; ac am eu bod yn deillio o'r ffynnonau hyn, y maent yn gyflawn, yn

gyson, a pharhäus. "Wrth farn y llywodraetha efe ei achosion." Megys y mae yn casglu y byd mewn ffordd dêg, y mae yn ei ddefnyddio mewn doethineb. Gofala am fod yn gyfiawn cyn bod yn hael. Ni rydd ef ddim fel anrheg lle y byddo yn well rhoddi benthyg; ac ni chaiff y tlodion mo gynnwysiad y blwch sydd i'w dywallt ar ben y Gwaredwr. Mae y dyn hwn yn dduwiol tuag at Dduw, yn gymwynasgar i'w gymydog, yn dosturiol wrth y tlawd, ac yn gyfiawn tuag at bob dyn; ac yn y cyfan, mae "yn llawn daioni," yn "awyddus i bob gweithred dda," wedi "ei gyflawni o ffrwythau cyfiawnder, y rhai sydd trwy Iesu Grist, er gogoniant a moliant i Dduw." Dan foddlonrwydd y nef, mae ei galon a'i fuchedd yn debyg i wlad yr Aipht yn mlynyddoedd yr amldra, yn cnydio yn ddyrneidiau. Pan fyddo crefydd y rhagrithiwr wedi crino o'r gwraidd, bydd gwraidd y cyfiawn hwn yn dwyn ffrwyth; mae "ei gyfiawnder," yn egwyddorol ac ymarferol, "yn parhâu byth;" ac efe a syrth i'r bedd fel ffrwyth addfed yn cwympo oddiar y pren.

Y mae hyn yn myned â ni i mewn i'r mater nesaf,—

II. Dedwyddwch y duwiol hwn. "Gwỳn ei fyd y gŵr" a ddarlunir yn y salm; y mae yma addewidion neillduol yn cael eu gwneuthur iddo: "Ei hâd fydd cadarn ar y ddaear; cenedlaeth y rhai uniawn a fendithir. Golud a chyfoeth fydd yn ei dŷ ef; yn ddïau nid ysgogir ef byth; gwêl ei ewyllys ar ei elynion; ei gorn a ddyrchefir mewn gogoniant."

Hwyrach i chwi weled llawer o broffeswyr crefydd, ïe, a dynion nad oedd ammheuaeth am eu duwioldeb, heb fod ond ychydig o'r llwyddiant a'r dedwyddwch ag sydd yn addawedig yma yn dyfod arnynt hwy na'u hiliogaeth. Ond a chaniatâu fod hyny yn bod, mae yn gwestiwn wedi y cwbl, a welsoch chwi yn aml ddynion duwiol cyffelyb i'r dyn duwiol hwn felly. Mae rhywbeth o natur ammodol, dybygid, yn yr addewidion penodol hyn; ac ni a ddylem gofio mai nid i dduwioldeb yn unig, ond yn hytrach i'r dduwioldeb a ddarlunir yn y salm, y mae addewidion neillduol y salm wedi eu gwneuthur.

Edrychwn i natur ei ddedwyddwch ef, ac i'r addewidion a wnaed iddo.

1. *Mae yn wynfydedig o ran cyflwr ei berson ger bron Duw.* "Dyn yn Nghrist" ydyw y dyn y buom ni yn sôn am dano; ac y

mae perffeithiad ei ffydd trwy y fath weithredoedd ag a ddarlunir yn y salm hon yn ddigon i brofi hyny. Ac os yn Nghrist, nid oes dim damnedigaeth iddo. Mae wedi ei gyfiawnhâu trwy ffydd, ac am hyny mae ganddo heddwch tuag at Dduw trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Yn yr ystâd wynfydedig hon, y mae yn sefyll ac yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw.

2. *Mae yn wynfydedig o ran ansawdd ei feddwl a'i galon.* Nis gall na byddo felly. Meddyliwch am yr egwyddorion grasol a nodir yma: mae'r dymher a effeithir gan y rhai hyn ar ysbryd y dyn duwiol yn ddedwyddwch ynddi ei hun, ac yn ei gymhwyso i ddedwyddwch. Mae yn anmhosibl i ddyn o'r fath dueddfryd lai na bod yn ddyn dedwydd ymha gyflwr bynag y byddo yn allanol; y mae iddo orfoledd ynddo ei hun, ac nid mewn dim arall. Duwioldeb yn gweithio mewn mawl a diolchgarwch ydyw melusder mwyaf hawddfyd iddo ef; a'r un modd y mae duwioldeb yn gweithio trwy amynedd ac ymostyngiad o dan alluog law Duw yn melysu adfyd a thrallod iddo. O y dedwyddwch y mae yr enaid duwiol yn ei brofi pan yn dyheu am sancteiddrwydd, ac yn y teimlad a'r ymwybodolrwydd fod y gogoniant bendigedig hwnw yn dychwelyd eilwaith i'w le, ac yn cynnyddu o fewn yr enaid! Pe bae bosibl i ddyn gael ei adferu mewn mynydyn o boenau a methiantwch henaint, a dychwelyd yn ol mewn iechyd a hoenusrwydd at ddyddiau ei ieuenctyd, ni byddai hyfrydwch dyn felly ddim i'w gymharu, o ran ei sylweddolrwydd a'i ddwysder, i hyfrydwch y dyn duwiol pan yn profi ei hun yn cael ei ryddhâu, a hyny yn fwyfwy, o gaethiwed llygredigaeth, a'i adnewyddu i sancteiddrwydd a delw Duw.

A ydyw calon y dyn duwiol yn ymddiried yn yr Arglwydd? Y fath hyfrydwch sydd yn y gweithrediad hwnw! yr enaid yn myned allan o hono ei hunan, ac yn byw yn Nuw, yr hwn sydd oll yn oll iddo. Mae addoli mewn ymddibynu, ac felly rhaid fod ynddo ddedwyddwch. "Efe a fu lawen," medd y gair, "gan gredu i Dduw, efe a'i holl deulu."

Eilwaith: a ydyw y dyn duwiol yn ofni yr Arglwydd? Wel, mae yr ofn yma drachefn yn iechyd i'w fogail, ac yn fêr i'w esgyrn. Gan ei fod yn ansawdd brïodol ar y meddwl tuag at Dduw, rhaid yw ei fod yn ddedwyddwch ynddo ei hun. Ac heblaw hyny, fel y mae yn sancteiddio y galon, ac yn ei thyneru i wyliadwriaeth

yn erbyn pechod, ac i wrthwynebu pob temtasiwn i bechod, mae yn tueddu i gadw cymdeithas yr enaid â Duw yn ddirwystr, ac fel hyn i warchod a chryfhâu ei dangnefedd a'i holl gysuron.

Yr un modd am garu yr Arglwydd, a hoffi ei orchymynion ef yn ddirfawr: mae yn anmhosibl i'r cristion wneuthur hyny heb fod yn ddedwydd yn ei weithred. Mae y teimlad o gariad yn wastad yn deimlad hyfryd. Ac wrth garu Duw, yr ydym yn mwynhâu Duw, yn aros yn Nuw a Duw ynom ninnau. Meddyliwch am y dyn duwiol yn y mynydau hyny pan y mae ei galon yn llosgi ynddo, tra mae Iesu Grist yn ymddyddan âg ef trwy ei Ysbryd yn ei air, ac yn agoryd iddo yr Ysgrythyrau. Nis gall lai na bod yn wŷnfydedig pan y mae yn profi, yn debyg i'r Salmydd, fod tystiolaethau yr Arglwydd yn felusach iddo na'r mêl, ac na dyferiad y diliau mêl; mae eu daioni trwy nerth a goleuni yr Ysbryd yn cael ei drosglwyddo i'w enaid, ac yn ei adnewyddu i sancteiddrwydd a heddwch, tra mae ei holl galon yn y mwynhâd hyfryd yma yn cael ei hennill i gymeryd y tystiolaethau yn etifeddiaeth dros byth, ac i lawenychu ynddynt fel un yn cael ysglyfaeth lawer.

Drachefn, os yw y dyn duwiol yn profi ei fod yn gyfiawn tuag at bawb, hyny yw, os yw ei enaid yn uniawn ynddo, ac yn amcanu at y gwirionedd ymhob peth, y mae tangnefedd mawr yn gynnwysedig yn yr ymwybodolrwydd hwnw. "Gweddïwch trosom ni," medd yr apostol; chwi a ellwch anturio gwneyd; "canys yr ydym yn credu fod genym gydwybod dda, gan ewyllysio byw yn onest ymhob peth." Ac o herwydd yr un rheswm, y mae yn gofyn am weddïau y Corinthiaid trosto: "Canys ein gorfoledd ni yw hyn, sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symlrwydd a phurdeb duwiol, nid mewn doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw, yr ymddygasom yn y byd, ond yn hytrach tuag atoch chwi." Pwy a all draethu gwerth a melusder y gorfoledd hwn? calon y dyn duwiol, hwyrach yn nghanol enllib a drwgdybiaeth y byd, yn tystiolaethu i'w gywirdeb a'i onestrwydd tuag at Dduw a dynion, ac yn ei alluogi, o dan bob cabledd a difenwad, i apelio, nid yn unig at wybodaeth ei gyfeillion o hono, ond at yr Hollwybodol ei hunan, gan adael arno ef yr hwn sydd yn barnu yn gyfiawn. 'Ti a wyddost fy mod i yn dy garu di—ti a wyddost y dymunwn i garu fy nghymydog fel mi fy hun, a gwneuthur iddo ef fel yr ewyllysiwn iddo ef wneuthur i minnau.' Gwŷn ei fyd pan, yn

debyg i'r apostol Paul, neu i Samuel y prophwyd gynt, y gall ddywedyd gyda chydwybod dawel, ac o bosibl, yn ymyl marw fel hwythau, "Arian neu aur neu wisg neb ni chwennychais: wele fi, tystiolaethwch i'm herbyn ger bron yr Arglwydd: pwy a dwyllais? neu pwy a orthrymais i? neu o law pwy y cymerais wobr i ddallu fy llygaid âg ef? Tystion ydych chwi, a Duw hefyd, mor sanctaidd ac mor gyfiawn a diargyhoedd yr ymddygais yn eich mysg chwi." Dedwydd yw y gŵr hwn; mae iddo orfoledd ynddo ei hun ac nid mewn arall. Er nad dyma yw sail gobaith y credadyn, eto rhaid yw fod y fath dystiolaeth yn cynnyrchu tangnefedd mawr yn ei fynwes. Cyfiawn yw efe; "a gwaith cyfiawnder fydd heddwch; ïe, gweithred cyfiawnder fydd llonyddwch a dïogelwch."

3. Mae y dyn duwiol *yn wynfydedig yn ei deulu ac yn ei amgylchiadau bydol.* "Ei hâd fydd cadarn ar y ddaear; cenedlaeth y rhai uniawn a fendithir. Golud a chyfoeth fydd yn ei dŷ ef; a'i gyfiawnder sydd yn parhâu byth." A'r un modd y dywed Solomon: "Gwobr gostyngeiddrwydd ac ofn yr Arglwydd yw cyfoeth, anrhydedd, a bywyd."

Dyma ydyw y peth mawr yn yr addewid, chwi a sylwch. Nid cael cyfoeth ydyw y fraint yn gymaint, ond ei gael fel hyn gyda boddlonrwydd yr Hollgyfoethog, ac fel gwobr sancteiddrwydd a duwioldeb. Felly mae y pethau hyn yn cael eu haddaw i'r dyn duwiol yma; ac ond eu cael felly, diammheu eu bod yn elfen werthfawr yn hapusrwydd y saint yn y fuchedd hon. Mae yn bosibl o dan yr hen oruchwyliaeth fod bendithion tymmorol yn wystlon mwy sicr o bethau ysbrydol nag ydynt yn awr o dan yr efengyl. Ond ar yr un pryd, mae gan dduwioldeb eto "addewid o'r bywyd sydd yr awr hon," yn gystal ag "o'r hwn a fydd." A'r un modd, y mae ganddi addewid am hâd duwiol a llwyddiannus eto. "Wele plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd," medd y Salmydd; "ei wobr ef yw ffrwyth y groth;" hyny yw, y ffrwyth fel yn fendigedig a llwyddiannus, mae yn un o wobrwyon yr Arglwydd i rïeni duwiol. Ac yn sicr, un o'r gwobrwyon mwyaf dewisol ydyw. Os bydd plentyn yn wobr, mae yn wobr fawr; ac os cerydd, mae yn gerydd trwm. Nid oes dim yn molestu rhïeni duwiol yn fwy nag annuwioldeb ac aflwydd eu plant, na dim o'r ochr arall yn peri i'w harenau grychneidio yn fwy gan lawenydd na gweled eu plant

yn cael eu coroni â charedigrwydd y Duw bendigedig yn ei ras ac yn ei ragluniaeth. Yr oedd y Salmydd â'i lygaid ar y dedwyddwch yma pan yn gweddïo am nawdd Duw dros ei bobl: "Fel y byddo ein meibion fel planwydd yn tyfu yn eu hieuenctyd, a'n merched fel conglfaen nâdd wrth gyffelybrwydd palas." Mae hyn yn cynnwys eu bod ymhob ystyr yn gysur ac yn anrhydedd a choron i'w rhïeni: eu cyrff yn iach a phrydweddol, a'u meddyliau yn ddoeth ac amaethedig, wedi eu haddurno â grasau yr Ysbryd, fel conglfaen nâdd, neu golofnau caboledig, yn mhalas neu deml y Duw byw. "Gwŷn eu byd y bobl y mae felly iddynt; gwŷn eu byd y bobl y mae yr Arglwydd yn Dduw iddynt!" "Weithian," medd yr Arglwydd, "ni chywilyddir Jacob, ac ni lasa ei wyneb ef; eithr pan welo efe ei feibion, gwaith fy nwylaw, o'i fewn, hwy," sef rhïeni a phlant ynghyd, "a sancteiddiant fy enw, ïe sancteiddiant Sanct Jacob, ac a ofnant Dduw Israel" (Esa. xxix. 22, 23).

Wel, y mae hyn oll mewn addewid, ac ni a ddylem gofio fod yr Arglwydd yn dwyn daioni fel hyn ar yr hâd mewn ffordd o garedigrwydd a rhïeni. Iddynt hwy y mae anrhydedd a llwyddiant eu plant yn cael ei addaw, oblegid fod hyny yn rhan arbenig o'u hapusrwydd hwy eu hunain. Mae y Duw mawr, yr hwn sydd yn Dad ei hunan, yn adnabod calon rhïeni duwiol tuag at eu plant, ac yn gwybod fod eu hoedl hwy megys ynglŷn wrth eu hoedl hwythau; ac mewn tynerwch tuag at eu hawyddfryd pryderus am leshâd eu hiliogaeth, yr hwn a blànodd efe ei hunan yn eu natur, a'r hwn sydd yn awr wedi ei sancteiddio trwy ras, mae efe yn addaw yn dirion fendithio eu plant er eu mwyn. Hen egwyddor yw hon ar ba un y mae Duw yn gweithredu arni tuag at ei bobl. Mae yn eu caru hwy, ac yn addaw eu bendithio megys drosodd a throsodd drachefn, nid yn unig yn eu personau eu hunain, ond yn eu hiliogaeth hefyd, a thrwy hyny yn ychwanegu at eu cysuron yn ddirfawr. Felly am Abraham a Dafydd: os oedd yr Arglwydd yn addaw bendithio eu hâd, er eu mwyn hwy, ac o'i garedigrwydd iddynt yr addawai hyny; ac fel caredigrwydd mawr yr oedd y dynion sanctaidd hyny yn ei gymeryd. Yr oedd Dafydd yn synu ac yn addoli yn yr olwg ar ddaioni yr Arglwydd iddo yn hyn: "Pwy ydwyf fi, O Arglwydd Dduw, a pheth yw fy nhŷ pan ddygit fi hyd yma?" o'r gorlan i'r orsedd! "Ac eto bychan oedd hyn yn dy olwg di, O Arglwydd Dduw; ond ti a

leferaist am dŷ dy was dros hir amser! A pha beth mwyach a ddywed Dafydd yn ychwaneg wrthyt? ti a adwaenost dy was, O Arglwydd Dduw." Mae fy nghalon yn llawn llawenydd; nis gallaf ddymuno mwy.

Yr un modd y mae'r salm hon yn darlunio dedwyddwch y dyn duwiol: "Golud a chyfoeth fydd yn ei dŷ ef." Nid yn ei feddiant yn gymaint o bosibl; oblegid efe yw sylfaenydd y teulu, a chychwyn y mae'r llwyddiant ynddo ef; ond bydd y golud yn ei dŷ. Pan y bydd ei enaid ef yn hapus yn y nefoedd, gellwch ddysgwyl y bydd ei blant yn llwyddiannus ar y ddaear. Ni chafodd Abraham ddim etifeddiaeth yn weithredol iddo ei hun, na ddo, led troed, yn Nghanaan; ond yr oedd yr etifeddiaeth yn y teulu er hyny; Canaan a'i holl ogoniant yn aros i'w meddiannu ganddo yn ei hiliogaeth; yr hen foncyff yn *sproutio* yn ganghenau aneirif. Os yw dynion yn cadw at reolau cyfeillgarwch, pa faint mwy y Duw mawr? Naturiol yw gwneyd sylw o blant cyfeillion. Yr oedd Saul trwy y cwbl yn para yn elyn byth i Dafydd; ond cyfeillion calon oedd Dafydd a Jonathan; ac ar ol ei farw ef, ymofynai Dafydd am rai o dŷ Saul i wneyd trugaredd Duw â hwy er mwyn Jonathan. Felly arfer Duw yw myned i gyfammod â'r tadau, a gwneuthur trugaredd â'u hâd yn ol hyny. Byddwch ffyddlawn, rïeni, i gyfammod eich Duw; ac fe allai mai pan y byddwch chwi yn y bedd, y bydd efe yn ymofyn am eich hâd, ac y codir hwy i fwrdd y Brenin. Os oes melldith yn dirgel orwedd yn llwybrau henafiaid annuwiol a dŷr allan yn y drydedd a'r bedwaredd genedlaeth, y mae bendith yn llwybr henafiaid duwiol a ddilyn eu hâd hyd fil o genedlaethau. Y mae yn hyn yn fynych fel y gwelwyd ambell i ŵr yn casglu miloedd o bunnoedd, ac yn marw heb eu gadael i'w berthynasau; ond mae yr eiddo yn ddïogel yn llŷs y *chancery;* a dyna hyny o'r diwedd, wedi ychwanegiad dyblyg, yn disgyn i'r etifeddion.

4. *Mae yn wynfydedig yn ei brofedigaethau.* "Cyfyd goleuni i'r rhai uniawn yn y tywyllwch." Os bydd y ddaear yn cau, ceir y nef yn agored. Os bydd y dyn oddiallan yn cael ei lygru, y dyn oddi mewn a adnewyddir o ddydd i ddydd. Os bydd cystuddiau Crist yn amlhâu i'r duwiol, trwy Grist bydd ei ddyddanwch yn amlhâu hefyd. Dacw Esau yn bygwth Jacob; ond y mae ymysgaroedd y brawd llidiog yn toddi yn serchogrwydd pan gyfarfu

efe â'i frawd. Wele Pharaoh yn erlid Israel Duw hyd at y Môr Coch; ond mae'r môr yn cilio i gadw yr Israeliaid, ac yn dychwelyd i foddi yr Aiphtiaid. Y mae Haman waedlyd yn cynllunio yn erbyn Mordecai a'r Iuddewon; ond mae ei gynlluniau yn troi i'w ddinystr ei hun. Beth yw hyn oll? Goleuni yn codi i bobl Dduw yn y tywyllwch, a'u tywyllwch yn myned fel hanner dydd. Ië, fe gadwyd yr uniawn hyd yn hyn; ond pa fodd y bydd arno mewn amser i ddyfod? "Nid ofna efe rhag chwedl ddrwg." Y mae chwedlau drwg lawer gwaith wedi llwfrhâu calonau y dewrion, a blino breninoedd; ond ni wna adroddiadau na llythyrau neb ddigaloni y cristion ffyddiog yn ei Dduw. "Ei galon sydd ddisigl yn ymddiried yn yr Arglwydd." Mae efe yn abl i ganu yn nghanol daeargrynfäau: "Duw sydd noddfa a nerth i ni, cymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder; am hyny nid ofnwn pe symudai y ddaear, a phe treiglid y mynyddoedd i ganol y môr, er rhuo a therfysgu o'i ddyfroedd, er crynu o'r mynyddoedd gan ei ymchwydd ef."

5. *Bydd yn ddedwydd yn awr angeu.* Llònodd efe lawer un ar ei wely, ac wele Dduw yn cymeryd ei ofal yntau heddyw ar ei wely angeu. "Gwỳn ei fyd a ystyrio wrth y tlawd; yr Arglwydd â'i gwared ef yn amser adfyd. Yr Arglwydd a'i ceidw ac a'i bywhâ; yr Arglwydd a'i nertha ef ar ei glaf wely; cyweiri ei holl wely ef yn ei glefyd." Ceidw ef mewn tangnefedd heddychol, yr hyn a wna wely cystudd a marw yn esmwyth iawn iddo. Mae bendith yr hwn oedd ar ddarfod am dano yn dyfod arno ef; a thra y mae saint tlodion y ddaear yn ei hebrwng gyda gweddïau a dagrau a bendithion o'r byd hwn, bydd y saint anghenog, oedd wedi ei flaenu draw i'r wlad well, yn ei dderbyn yn groesawus i'r tragywyddol bebyll. Llawenychant yn ddirfawr wrth ei weled ef a wylodd gyda hwynt yn eu gofidiau, a dòrodd ei fara iddynt, a'u cysgododd pan oeddynt heb gartref, neu a fu fel tad i'w plant amddifaid, wedi dyfod adref i dŷ ei Dad nefol, ac yn cael ei osod gan Fab Duw i eistedd gydag ef ar ei orseddfainc. A phan y bydd ei ysbryd fel hyn yn hapus yn y nef, bydd ei goffadwriaeth yn perarogli ar y ddaear. "Y cyfiawn fydd byth mewn coffadwriaeth;" coffadwriaeth beraidd, sanctaidd, fywiol. "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig; ond enw y drygionus a bydra." Y mae enw hwnw naill ai yn colli yn llwyr mewn anghof, neu y

mae sawyr ddrwg a ffiaidd arno os yw yn aros. Dedwydd yw y wlad y byddo ganddi lawer o rai cyfiawn i fendigo eu coffadwriaeth!

Wele dyma bortrëad y duwiol, a'r duwiol iawn. Os nad ydym yn ei adnabod ynom ein hunain, a ydym yn ei hoffi fel âg i'w ddymuno *i* ni ein hunain? A ydym yn dymuno nid yn gymaint farw o'i farwolaeth ef, fel yr oedd Balaam yn chwennych, ond byw o honom ei fywyd ef? Mae diwedd y testun yn cyfeirio at y cymeriad sydd yn hollol wahanol iddo,—yr annuwiol! Y mae hwnw yn cenfigenu yn ddigofus wrth y duwiol, ac yn fynych yn ei oes, ond yn sicr yn ei angeu, yn cael ei siomi am ei obaith a'i holl ddymuniad. Ynglŷn â phethau a dderfydd yr oedd ei ddymuniad ef; a phan y cyll efe hwy, derfydd am ei ddymuniad yntau. "Gobaith y cyfiawn fydd llawenydd; ond gobaith y drygionus a dderfydd am dano." Cofied yr Arglwydd ni yn ol ei raslonrwydd i'w bobl, fel y gorfoleddom gyda'i etifeddiaeth.

# PREGETH IX.

## IACHAWDWRIAETH TRWY FADDEUANT.

LUC i. 76, 77: "A thithau, fachgenyn, a elwir yn brophwyd i'r Goruchaf; canys ti a äi o flaen wyneb yr Arglwydd, i barotôi ei ffyrdd ef; i roddi gwybodaeth iachawdwriaeth i'w bobl trwy faddeuant o'u pechodau."

MAE y geiriau yn rhan o brophwydoliaeth Zacharïas ar enedigaeth ei fab, Ioan Fedyddiwr. Mae yn rhaid fod genedigaeth mab yn destun llawenydd i rïeni oedranus ac anmhlantadwy, ac yn enwedig genedigaeth y fath fab âg Ioan, yr hwn oedd rodd gan Dduw mewn atebiad i weddi, ac am yr hwn y rhagfynegid y byddai yn gyflawn o'r Ysbryd Glân o groth ei fam, ac yn ddiwygiwr mawr yn ei oes. Ac felly y dywedai yr angel wrth ei dad, y byddai iddo ef lawenydd a gorfoledd, ac y byddai llawer, yn gystal âg yntau, yn llawenychu am ei enedigaeth ef. Ac eto pan yr agorwyd genau Zacharïas ar enwaediad y bachgen, nid am dano ef yn unig nac yn gymaint y mae efe yn bendithio Duw. Yr oedd rhyw un mwy nag Ioan yn ei olwg. Mae efe yn edrych at y Messïah, trwy gnawdoliaeth ac angeu yr hwn yr oedd Duw i gyflawni ymwared, neu brynedigaeth ysbrydol a thragywyddol, ei bobl, ac yn hyny i gwblhâu ei drugaredd â'r tadau, a chofio ei gyfammod a'i lw, a chyflawni yr hyn a addawodd efe trwy enau ei sanctaidd brophwydi, y rhai oedd er dechreuad y byd. Nid Ioan oedd y bywyd, yr hwn oedd oleuni dynion; ond efe oedd y rhagredegwr a'r dystiolaeth am dano ef; ac am hyny y mae Zacharïas, os oedd efe yn dechreu gyda bendithio am ei

fab Ioan, yn ei golli ef yn fuan yn ei olynwr; y mae efe yn diflanu fel y seren foreu ar godiad yr haul o'r uchelder.

Eto tra y mae yn bendithio Duw yn benaf am Grist, wele efe ar ddiwedd ei gân yn troi ei lygaid at ei blentyn, a'r weinidogaeth a gyflawnai: "A thithau, fachgenyn, a elwir yn brophwyd i'r Goruchaf." Yma y cawn ei swydd ef: prophwyd wedi ei alw gan Dduw i ddysgu dynion. Felly y galwai Duw ef. "Wele, mi a anfonaf i chwi Elias y prophwyd." Ac yr oedd arwyddion prophwyd mor amlwg ynddo nes oedd pawb oll yn cymeryd Ioan fel prophwyd. Achubodd hyn ei fywyd ef unwaith, a buasai yn berygl bywyd i neb ei wadu.

Ac wele drefn ei weinidogaeth: "Ti a äi o flaen wyneb yr Arglwydd." Felly y mae y prophwydi yn rhagfynegu am dano, a'r angel Gabriel yn dyweyd wrth ei dad: "Efe a ä o'i flaen ef;" a'r un peth a ddywed ei dad yma wrtho yntau. Yr oedd yr holl brophwydi o flaen y Messïah, ac yn rhagfynegu ei ddyfodiad; ond yr oedd Ioan wedi ei anfon o flaen ei *wyneb* ef. Ymddangosodd cyn ei ddyfodiad ebrwydd, ac nid oedd yr un prophwyd i godi ar ei ol ond y Messïah; a rhan arbenig o'i weinidogaeth oedd cyhoeddi ei ddyfodiad, a pharotôi y bobl i'w groesawu.

Y mae natur ac amcan ei weinidogaeth yn cyfateb i'w hamser a'i threfn hi: "I barotôi ei ffyrdd ef; i roddi gwybodaeth iachawdwriaeth i'w bobl." Mae yn cael y bobl yn dra llygredig a ffurfiol; ac y mae yn dyfod yn ysbryd a nerth Elias i edfryd pob peth. Yr oedd yn cyhoeddi barnau Duw yn agosâu ar y dryg-ionus, yn dyweyd fod teyrnas nefoedd ar gael ei sefydlu, ac yn galw ar y genedl i edifarhâu ac i "gredu yn yr Hwn oedd yn dyfod ar ei ol ef, sef yn Nghrist Iesu," mewn trefn i fyned i'r deyrnas, gan fedyddio yr edifeiriol er maddeuant. Yn y man, ar ol dyweyd ei fod yn dyfod ar ei ol ef, ac yn sefyll ymysg y bobl, mae yn dyweyd pwy yw, yn ei nodi allan: "Wele Oen Duw. Hwn yw Efe am yr Hwn y dywedais, Ar fy ol i y mae gŵr yn dyfod—Hwn yw Mab Duw;" Mab Duw o ran ei Berson, yr hwn a ragordeiniwyd ganddo cyn seiliad y byd, i dynu ymaith bechod trwy ei aberthu ei hun. Fel hyn rhoddai Ioan wybodaeth iachawdwriaeth i bobl Dduw trwy faddeuant eu pechodau.

Dyma yr hyn a ddaw bellach yn destun ein sylw: iachawdwr-iaeth trwy faddeuant pechodau.

Mae y gair *maddeuant* yn arwyddo rhyddhâd, gollyngdod, neu roddi i fyny. Defnyddir ef am ollwng cynnulleidfa ymaith, neu ollwng carcharorion mewn rhydd-deb, neu ollwng yr ysbryd o'r corff. Felly lle dywedir i Grist roi i fyny yr ysbryd, darllena William Salesbury, "A faddeuodd yr ysbryd." Pan ei cymhwysir at achos pechadur, ac y darllenwn am faddeuant pechodau, meddylir fod Duw yn iawn Crist yn gollwng, yn rhoi i fyny, y cwyn oedd ganddo yn erbyn yr euog, ac yn ei ryddhâu dros byth oddiwrth y gosbedigaeth ddyledus iddo am bechod.

Hwyrach fod iachawdwriaeth yn y testun yn golygu Crist yr Iachawdwr, yr hwn a elwir yn iachawdwriaeth Duw. Felly "gwybodaeth iachawdwriaeth" ydyw gwybodaeth am Grist ei Hawdwr, a hyny er maddeuant; dysgu dynion am ei Berson a'i gyfryngdod ef, nes eu dwyn i'w adnabod a chredu ynddo, a hyny mewn trefn i gael maddeuant. Dyna a wnaeth Ioan wrth alw i edifeirwch am ei fod ef wedi nesâu, ac wrth fedyddio yn ei enw er maddeuant pechodadau, gan gyfeirio ato fel Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd. A hyn y cyttuna commisiwn Paul: "At y Cenedloedd yr ydwyf yn dy anfon di yr awr hon, i agoryd eu llygaid, ac i'w troi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw, fel y derbyniont faddeuant pechodau."

Neu hwyrach fod y gair maddeuant yma yn eglurhâd ar y gair iachawdwriaeth, ac yn dangos pa fath iachawdwriaeth y mae yr efengyl yn rhoddi gwybodaeth am dani. Felly mae y gair i'w olygu fel pe dywedasai Zacharias, "I roddi i'w bobl ef wybodaeth ynghylch neu am faddeuant eu pechodau." Iachawdwriaeth trwy neu yn gynnwysedig mewn maddeuant y mae yr efengyl yn ei ddadguddio. Felly y dywedir fod "i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau yn ol cyfoeth ei ras ef," a bod yr efengyl yn "allu Duw er iachawdwriaeth." A phaham? ond oblegid mai ynddi hi y dadguddir cyfiawnder Duw, neu faddeuant pechodau. Ymha ddull bynag y cymerwn ni y geiriau, dangosant fod yr iachawdwriaeth trwy Grist yn iachawdwriaeth ysbrydol a thragywyddol. Yr oedd yr Iuddewon yn dysgwyl iachawdwriaeth trwy allu y Messïah; ond gwaredigaethau tymmorol a gwladol oedd yr hyn a ddysgwylient hwy oddiar ei law. Ond y mae efe yn awdwr iachawdwriaeth dragywyddol; iachawdwriaeth nid i'r corff yn unig,

ond i'r holl ddyn, a hyny dros byth; iachawdwriaeth nid o gaethiwed Cesar, ond o gaethiwed Satan a llygredigaeth; iachawdwriaeth trwy yspeilio tywysogaethau ac awdurdodau, cymeryd oddiarnynt eu carcharorion, a chymmodi y rhai hyny pan yn elynion trwy faddeuant o'u pechodau.

Ni a gymerwn iachawdwriaeth yma am ddedwyddwch ysbrydol a thragywyddol, ac a geisiwn wneyd rhai sylwadau a gynnyrchir wrth syllu arni yn y goleu neillduol y mae yn cael ei harddangos yn y testun hwn: iachawdwriaeth trwy faddeuant.

I. *Iachawdwriaeth pechadur ydyw iachawdwriaeth trwy faddeuant.*

Nid oes ar neb arall eisieu y pethau hyn. Y mae ar angel eisieu dedwyddwch, ond nid oes arno eisieu maddeuant mewn trefn i'w gael. Ond am danat ti, bechadur, ni chei di byth ddedwyddwch oni ddaw mewn ffordd o iachawdwriaeth trwy faddeuant pechodau. Ond dyma yw hynodrwydd y Bibl, dyma swm gweinidogaeth fawr yr efengyl: gosod dedwyddwch tragywyddol yn nghyrhaedd pechadur trwy faddeuant o'i bechodau! O ddyn, yr wyt yn bechadur. O bechadur, yr wyt yn druenus a cholledig. Ond O y colledig euog, gwrando! nid wyt ti yn ddiobaith; y mae iachawdwriaeth yn dy gyrhaedd trwy faddeuant. Er dy fod yn blentyn digofaint wrth naturiaeth, barn o gondemniad arnat trwy gamwedd un, wedi dy lunio mewn anwiredd; ac er fod y llygredigaeth hwnw wedi tòri allan yn ebrwydd, fel yr wyt ar gyfeiliorn o'r bru, ac yn ddrwg o'th ieuenctyd, holl fwriad meddylfryd dy galon yn unig yn ddrygionus bob amser, a thithau o'r trysor drwg yma wedi llygru dy ffyrdd, a gwneyd yr hyn oedd ddrwg hyd y gellit,—eto y mae Duw yn galw ar dy ol, dedwyddwch tragywyddol yn cael ei osod o'th flaen, a bywyd yn dy gyrhaedd. Mae Duw yn Nghrist yn cymmodi pechaduriaid ág ef ei hun heb gyfrif iddynt eu pechodau. Y mae wedi cyhoeddi ei enw, "JEHOFAH, JEHOFAH, y Duw trugarog a graslawn, hwyrfrydig i ddîg, ac aml o drugaredd a gwirionedd, yr hwn sydd yn cadw trugaredd i filoedd, gan faddeu anwiredd, a chamwedd, a phechod." Ac y mae wedi rhoddi ein hanwiredd ni i gyd ar Grist, a thrwy ei waed ef yn gweithredu yn ol ei enw at yr euog: "Trugarog fyddaf wrth eu hanghyfiawnderau hwynt, a'u pechodau a'u hanwireddau hwynt ni chofiaf ddim o honynt mwyach." Beth a fydd bellach? Ded-

wyddwch; oblegid, "Dedwydd yw y rhai y maddeuwyd eu hanwireddau.

Ni bu dedwyddwch erioed yn fwy gwirioneddol o flaen Adda yn Mharadwys, nac mor sicr iddo, âg ydyw i bechadur yn Nghrist. Duw mewn cyfammod oedd yn cyflwyno bywyd i Adda; ac y mae yr un Duw yn gwneyd hyny i'r enaid edifeiriol a chrediniol mewn cyfammod newydd. Nid oedd gan Adda ond un addewid, a hòno yn gorwedd mewn bygythiad; ond y mae genyt ti, fy enaid, lïaws o addewidion pendant ac eglur wedi eu rhoddi trwy lw. Gan wybod dy ddrwg-dybiaeth a'th ofnau, y mae Duw yn dyweyd drachefn a thrachefn, "Myfi, myfi a ddilëaf dy bechodau;" coeliwch fi, "Trugarog fyddaf;" ïe coeliwch, "Ni chofiaf ddim o honynt mwyach." Ac os rhy fychan hyn, mi a dyngaf: "Fel mai byw fi, nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol, ond troi o'r annuwiol a byw." Yn y cyfammod cyntaf nid oedd dim wedi ei wneyd tuag at ddïogelu dedwyddwch ond ei addaw, a gosod crëadur perffaith ar ffordd hawdd i'w sicrhâu iddo ei hun. Ond am yr iachawdwriaeth trwy faddeuant, mae y pethau mwyaf a wnaeth Duw erioed wedi eu cyflawni eisoes mewn trefn i ddwyn pechadur i'w mwynhâu. Y mae Mab Duw wedi ymgnawdoli, wedi cyflawni ammod y cyfammod trwy farw, a sicrhâu ei gyfoeth i gredadyn. Ni welwyd Adda erioed wedi cyrhaedd ei ddedwyddwch yn ffordd ei gyfammod; ond y mae gan bechadur Ragflaenor a aeth i'r nef gyda'i achos, gan gymeryd meddiant o honi yn ei enw. Ië, y mae pechaduriaid fel nyni wedi cyrhaeddyd yno trwy faddeuant. Pwy oeddynt hwy oedd yn tystiolaethau am danynt eu hunain, "Am hyny gan ein bod wedi ein cyfiawnhâu trwy ffydd, y mae genym heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist; trwy yr hwn hefyd y cawsom ddyfodfa trwy ffydd i'r gras hwn, yn yr hwn yr ydym yn sefyll, ac yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw?" Pwy oeddynt hwy oedd yn moliannu, "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn o'i fawr drugaredd â'n hadgenedlodd ni i obaith bywiol, trwy adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw, i etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig, ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi?" A phwy oeddynt hwy oedd yn ymorfoleddu ar angeu, gan ddywedyd, "Ni a wyddom, os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd?"

Pechaduriaid oedd y rhai hyn i gyd, heb fod dim un o honynt wedi cyflawni un ddyledswydd na chadw un gorchymyn yn berffaith erioed. Ië, pwy ydynt hwy sydd yn dyrfa fawr na ddichon neb eu rhifo, yn sefyll ger bron yr orseddfainc a cher bron yr Oen—wedi eu gwisgo mewn gŷnau gwŷnion, a phalmwydd yn eu dwylaw, wedi eu cyflwyno yn ddifai ger bron gorseddfainc Duw mewn gorfoledd? Pwy ond hen deulu y codwm! rhai a fuont unwaith yn annuwiol, a thros eu hoes yn anmherffaith. Pa fodd yr aethant acw? Trwy faddeuant. Bydd sŵn iachawdwriaeth trwy faddeuant yn eu cân byth: "Iddo Ef yr hwn â'n carodd ni, ac a'n golchodd oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun! Ti â'n prynaist ni i Dduw trwy dy waed."

Ac os dywedi di, fy enaid, fod rhyw neillduolrwydd yn dy bechodau di sydd yn peri i ti ddigaloni am dy gadwedigaeth, gwybydd fod rhai yn y nefoedd heddyw âg a fu yn euog o bob math o bechodau ond y pechod anfaddeuol. A yw dy bechodau yn aml? Felly finnau, medd Dafydd: "Canys drygau annifeiriol a'm cylchynasant o amgylch; fy mhechodau â'm daliasant, fel nad allwn edrych i fyny; amlach ydynt na gwallt fy mhen" (Psalm xl. 12). A oeddit ti yn hynod mewn drwg cyn cael crefydd? Felly finnau, medd Saul o Tarsis: "Yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, ac yn erlidiwr, ac yn drahäus; eithr mi a gefais drugaredd, fel y dangosai Iesu Grist ynof fi yn gyntaf bob hir-oddef, er siampl i'r rhai a gredant rhagllaw ynddo ef i fywyd tragywyddol." Felly ninnau, medd y Corinthiaid: "Godinebwyr, eilunaddolwyr, tòrwyr prïodas, masweddwyr, gwrywgydwyr, lladron, cybyddion, meddwon, difenwyr, cribddeilwyr—hyn fu rhai o honom ni; eithr ni a olchwyd, a sancteiddiwyd, a gyfiawnhäwyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni." A gefaist ti gwympiadau mewn proffes? Felly ninnau, medd Dafydd, Solomon, a Pedr. A oes ystyfnigrwydd yn dy fai yn dal pob gorchwyliaeth? Felly buom ninnau, medd lliaws o hen Iuddewon cildynus yn ffordd eu calon. Ond y mae iachawdwriaeth drwy faddeuant wedi eu cwbl iachâu, a'u hadferu i gysur a heddwch tragywyddol. Mae Zaccheus wedi cyrhaedd yno yn lân oddiwrth ei gybydd-dod trwy faddeuant. Mae hen lofruddion a bradwyr y Gwaredwr yno wedi cael maddeuant trwy y gwaed a dywalltasant. Mae pechaduriaid bryntion Corinth wedi etifeddu teyrnas Dduw trwy faddeuant a

glanhâd. Wele y rhai hyn oll yn barod i'th annog ymlaen. Na ddigalona, meddynt; ni a fuom yn yr un cyflwr, dan yr un ofnau, ac arnom yr un anghen; eithr heddyw ni a geir yn ddiangol trwy faddeuant. Fel hyn, cofia mai nid bod yn bechadur a'th rwystra i fod yn gadwedig: y mae pechaduriaid wedi eu cadw. Ac nid dim hynod yn dy bechodau a'th luddias, oblegid y mae pob pechod a chabledd yn cael ei faddeu i ddynion. Nid un peth a dy ddyfetha, ond esgeuluso yr iachawdwriaeth trwy faddeuant.

I'th gymhell ymhellach i geisio iachawdwriaeth, cofia mai yr *unig* ffordd i droseddwr gael iachawdwriaeth ydyw trwy faddeuant. Mae dyn wedi pechu, a'i brofi yn euog, y mae dan farn o gondemniad; ac nid oes dim gobaith ei ryddhâu ond trwy faddeuant. Am gael bywyd trwy gadw y gyfraith, mae yn rhy ddiweddar ceisio, oblegid mae y gyfraith wedi ei throseddu: "Mi a bechais; beth a wnaf?" Mae gwneyd iawn allan o'r cwestiwn: nis gall pechadur ateb i Dduw am un peth o fil. "Os creffi, pwy a saif?" Mae sôn am ddïanc yn ynfydrwydd: "I ba le y ffôaf o'th wydd?" a phe y cawn i le, ni byddai hyny ddim ond ffoi oddiwrth ffynnon fy hapusrwydd. A oes dim gobaith, Dafydd? Oes y mae un ffordd eto. "Ond y mae gyda thi faddeuant." Nid oes dim ond pechod a thrueni ynof fi; ond "y mae trugaredd gyda yr Arglwydd, ac aml ymwared gydag ef." A dyma *spring* ei holl grefydd: "Maddeuant fel y'th ofner."

Ac os dyma yr unig ffordd i bechadur, felly i bechadur yn unig y mae'r iachawdwriaeth. Am iachawdwriaeth trwy allu, gall angelion fod yn wrthddrychau o honi: bu rhyw ddydd ar Fab Duw yr oedd yn dda iddo ef ei chael hi. Ond am iachawdwriaeth trwy faddeuant, ymwnewch am dani, bechaduriaid; nid yw hòno yn perthyn i neb arall. "Eich iachawdwriaeth chwi," y geilw Duw hi. "Fy iachawdwriaeth," medd y pechadur crediniol. I ba le dybygwch chwi y daw gras ond at yr annheilwng? I ba le yr ä cymmod ond i elynion, iechyd ond i'r cleifion, a glanhâd ond lle mae aflendid? Ië, pwy bïau y nefoedd hòno lle mae ei phethau wedi eu puro âg aberthau, lle mae Duw ar orseddfainc y gras, a lle y mae Archoffeiriad, gwaed, ac eiriolaeth? Nef pechadur yw hon, a gelli anturio rhodio y ffordd iddi. Pa faint bynag o rai na phechasant erioed fydd gyda thi yno, pechadur a fydd yr achlysur o roddi ffurf arbenig arni, at ei anghen ef y mae hi

wedi ei gwneyd, ïe, gelwir hi wrth ei enw: "Mynwes Abraham." Meddianned angelion ynte yr hyn a gaffont yn ffordd natur, a chymered yr hunan-gyfiawn yr hyn a roddo Chemos ei dduw iddo; ond yr holl iachawdwriaeth trwy faddeuant, yr oll a oresgynodd Crist ein Gwaredwr, a feddiannwn ninnau, bechaduriaid.

II. *Y mae iachawdwriaeth trwy faddeuant yn iachawdwriaeth o ras:* iachawdwriaeth nid trwy gofio gweithredoedd da, ond trwy beidio cofio gweithredoedd drwg.

Mae maddeuant ei hunan yn hollol o ras, ac y mae y cyfan sy'n dilyn yn tarddu o'r un ffynnon. Mae Duw yn maddeu o drugaredd, ac yn gwneyd y gweddill am ei fod yn rasol yn maddeu. Penarglwyddiaeth a rydd ras mewn maddeuant pechodau ydyw gwreiddyn yr holl iachawdwriaeth. Mae maddeuant weithiau yn cael ei weini ar gyfrif fod rhywbeth yn galw am dano yn y troseddwr; anaml mae awdurdodau gwladol yn maddeu heb hyny. Ni fynai Solomon ladd Abiathar, er ei fod yn ŵr yn haeddu marwolaeth; o herwydd yr oedd efe wedi bod yn dwyn arch yr Arglwydd o flaen ei dad, ac wedi ei gystuddio yn yr hyn oll y cystuddiwyd yntau. Yr oedd yno rywbeth ffafriol yn yr achos; ond yr holl ffafr a wnaeth Solomon oedd newid marwolaeth am alltudiaeth. Ond wele bechadur wrth orsedd Duw yn cael hawl i fywyd tragywyddol trwy faddeuant, ac nid trwy ddim ynddo ef yn cymhell i'r fath beth. Nid oes dim da yn trigo ynddo, na dim gwir dda wedi ei wneyd ganddo. Darllenwch ei fywgraffiad hyd y fynydyn y cafodd ei fywyd; ac nid oes yno ddim cymaint â chwpanaid o ddwfr oer wedi ei roddi oddiar gariad; nid oes dim dyrnaid wedi ei hau o'r hwn y gallai fedi dim ond llygredigaeth. Os na chaiff faddeuant, derfydd am dano; ac ni fedr waeddi, Trugaredd! mae ei enau yn nghau. Am ei edifeirwch a'i ffydd, y maent o'r un ffynnon â'r holl iachawdwriaeth a'r maddeuant; yn foddion i dderbyn iachawdwriaeth, ond nid yn haeddu, ac heb fod yn yr enaid o ran amser yn gynt na'r maddeuant. Na, nid oes yma ddim teilyngdod. Nid yn unig nid oes dim yn y pechadur yn galw am ei arbed, ond y mae ynddo feïau afrifed yn galw am ei ddamnio. Wele bechodau yn gwaeddi hyd y nef, ac wedi darostwng y pechadur hyd uffern; nid oes ond Duw a ŵyr pa faint sydd o honynt, na'r drwg sydd ymhob un. O druan an-

obeithiol!Ië, oni bae mai Duw yw ei Farnwr ac nid dyn.Ië, oni bae fod meddyliau Duw yn uwch na meddyliau crëadur, fel y mae'r nefoedd yn uwch na'r ddaear. O ba le y daw dedwyddwch i'r fath yma? Ni ddaw o weithredoedd, oblegid wele efe yn bechadur. Ni ddaw trwy iawn ganddo, o herwydd nis gall efe ei roddi. Ond fe ddaw trwy faddeuant, a maddeuant a ddaw trwy ras.

Fel hyn y mae Paul yn profi cyfiawnhâd y pechadur heb ei weithredoedd. "Dedwydd yw y gŵr nid yw yr Arglwydd yn cyfrif pechod iddo." A oes yma ddyn yn cael dedwyddwch? Oes am byth. Pa fath ddyn? ai dyn na phechodd erioed? dyn wedi cyflawni pob cyfiawnder? Nage, nage! dyn nad oedd ganddo ar y pryd ond anwireddau a throseddau. Pa fodd y cafodd y fath un ddedwyddwch yn lle ei ddamnio? Trwy faddeuant. Mae'r pechadur yn euog o'r hyn y mae'r ddeddf yn ei wahardd; ond ni chyfrif yr Arglwydd bechod iddo, a dyna efe yn ddiniwed. Y mae efe heb wneyd yr hyn yr oedd y ddeddf yn ei ofyn oddiwrtho; ond nid yw ei anufudd-dod yn cael ei gyfrif yn ei erbyn; ac felly dyna efe yn gyfiawn ac mewn hawl bywyd. Gras trwy gyfiawnder sydd yn teyrnasu yn holl orchwyliaeth maddeuant. Felly y dengys Paul fod pechadur yn cael ei godi o dan gondemniad marwolaeth "i deyrnasu mewn bywyd trwy un, Iesu Grist." Cyfiawnder Un! yn hwnw y mae'r pechodau yn cael eu maddeu a'u cuddio; ynddo ef y mae'r person wedi ei godi i heddwch Duw, a'r bywyd yn ddïogel. A'r modd y daeth yr annheilwng i feddiant o'r cyfiawnder hwn ydoedd ei fod yn ddawn trwy ras. Gras Duw oedd ffynnon y cyfan; gras yn amlhâu—llïosogrwydd o ras, a hwnw yn llïosogrwydd Duwdod.

Ac nid wrth gychwyn yn unig, pan y ceir y gwrthddrych yn annuwiol, y mae'r iachawdwriaeth yn dyfod trwy faddeuol ras. Ar faddeuant y mae'r saint yn byw. Mae iachawdwriaeth pobl Dduw bob dydd hyd y diwedd trwy faddeuant: cynnal trwy faddeuant —adnewyddu trwy faddeuant—nerth yn ol y dydd, dïangfa mewn temtasiwn, cysur mewn cystudd: y cyfan trwy faddeuant. Penarglwyddiaethol ras mewn maddeuant ydyw ffynnon eu holl fendithion. Dyma fel maent hwythau yn gweddïo: 'Maddeu a rho dy wyneb'—'Maddeu a dyddana;' ac yn y man ar wely angeu, y deisyfiad a fydd, 'Gollwng, a maddeu wrth ollwng.' Y

mae yn hyn yn debyg i daith plant Israel trwy yr anialwch. Maddeuant Duw oedd yn gallu cyd-ddwyn â hwy, eu harwain, eu cadw, a'u dwyn i wlad dda yr addewid. Yn lle eu lladd yn ol eu haeddiant yn y diffeithwch, "maddeu, attolwg, anwiredd y bobl yma," medd Moses, "yn ol dy fawr drugaredd, ac megys y maddeuaist i'r bobl hyn o'r Aipht hyd yma. A dywedodd yr Arglwydd, Maddeuais yn ol dy air" (Num. xiv. 19, 20).

Graslonrwydd ei natur yw yr hyn y mae'r Arglwydd yn wastad yn ei ddangos fel gwreiddyn maddeuant pechod. Mae "trugareddau a maddeuant" gyda eu gilydd, a'r naill yn achos o'r llall. "Da ydwyt a maddeugar." Maddeuant ydyw "yn ol cyfoeth ei ras ef," ac yn ol ei fawr drugaredd. "Graslawn fuost, O Arglwydd, i'th dîr." Beth oedd y ffrwyth a'r prawf o hyny? "Maddeuaist anwiredd dy bobl; cuddiaist eu holl bechod; tynaist ymaith dy holl lid; tröaist oddiwrth lidiogrwydd dy ddigter." Yn lle dal dig byth, maddeu anwiredd y mae Duw; myned heibio i anwiredd; taflu yr holl bechodau i ddyfnderoedd y môr, a hyn "am fod yn hoff ganddo drugaredd" (Micah vii. 18, 19). Nid wn i ddim beth a allai fod yn achos iachawdwriaeth trwy faddeuant ond gras. Mae y dyn yn droseddwr, ac onide ni byddai eisieu maddeuant. Beth a all efe wneyd i haeddu maddeuant? Pe gallai wneuthur iawn drosto ei hun, nid maddeuant mor brïodol fyddai y gollyngdod. Ond pan y mae yr euog heb ddim ganddo yn cael gollyngdod wrth orsedd Duw trwy iawn un arall, dyma faddeuant o drugaredd a gras. Chwychwi oll, gan hyny, sydd yn euog o flaen gorseddfainc cyfiawnder, deuwch gyda eich gilydd at orseddfainc y gras; cewch yno faddeuant heb arian ac heb werth.

III. *Y mae iachawdwriaeth trwy faddeuant yn iachawdwriaeth trwy aberth a gwaed.*

Dangosid hyn mor eglur o dan yr hen destament yn y lle mawr oedd i waed rhwng Duw a deiliaid yr oruchwyliaeth hòno, fel mae Paul yn dyfod i'r penderfyniad âg sydd yn wir o dan bob goruchwyliaeth: "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant." Ac am nad oedd yn yr aberthau hyny ond adgoffa pechodau, yr oedd Mab Duw yn dyfod i dynu ymaith bechodau trwy ei aberthu ei hun. "Yn yr hwn," medd Paul, "y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef." Dyna y

waredigaeth oddiwrth gosbedigaeth pechod yn dyfod ar unwaith trwy ras a thrwy waed. Am mai gwaredigaeth oddiwrth bechod ydyw, gelwir hi yn faddeuant yn ol cyfoeth gras; ac am fod y waredigaeth hon trwy waed, y mae yn cael ei galw yn brynedigaeth. Prynedigaeth yw y maddeuant yn ei achos, a maddeuant yw'r prynedigaeth yn ei heffaith; ac y mae yr effaith a'r achos yn myned dan yr un ymadroddion yn y Bibl. Beth mae Duw yn ei wneuthur pan yn cyfiawnhâu ac yn maddeu i'r troseddwr yn yr iawn? Glanhâu, puro ei bechodau. A pha beth wnaeth Crist ond yr un peth? Os gwyddom fod Duw yn addaw dilëu ein camweddau er ei fwyn ei hun, a'i fod yn galw i edifeirwch fel y dilëer hwy, ni a wyddom hefyd ymddangos o Grist fel y dilëai ein pechodau ni. Os gwyddom fod Duw yn y cyfiawnhâd a'r maddeuant yn puro y gydwybod, ac yn tynu ymaith bechod, ni a wyddom pwy yw yr Hwn a burodd ein pechodau ni trwyddo ef ei hun, ac a'u tynodd ymaith trwy ei aberthu ei hun. Os gwyddom fod Duw yn y maddeuant yn gollwng yr euog yn rhydd mewn iawn, ni a wyddom hefyd i'r Arglwydd Iesu fyned unwaith i'r cysegr drwy ei waed ei hun, gan gael i ni dragywyddol ryddhâd. Os wyt yn profi, fy enaid, fod Duw yn yr iachawdwriaeth trwy faddeuant yn taflu dy bechodau i ddyfnderoedd y môr, a thu ol i'w gefn, edrych dipyn yn ol, a chei weled achos hyny: y cymmod yn cael ei wneuthur, a'r anwireddau eu rhoddi ar ben y bwch diangol i'w dwyn i dir neillduaeth: "Efe," y Messïah, "a ddŵg eu hanwireddau hwynt."

Felly y dengys Elïhu iachawdwriaeth drwy faddeuant yn dyfod o drugaredd mewn iawn. Yr oedd yr euog ar ddarfod am dano; ei enaid yn nesâu i'r bedd, a'i fywyd yn nesâu i'r dinystrwyr; ond yn y fath gyfwng, "os bydd gydag ef genad o ladmerydd, un o fil, i ddangos i ddyn ei uniondeb," yr uniondeb a gyflwynwyd drosto gan un arall fel ei Fachnïydd, ac a ddaw yn eiddo ef trwy ffydd, "yna efe a drugarhâ wrtho, ac a ddywed, Gollwng ef rhag disgyn o hono i'r clawdd; myfi a gefais iawn!" A'r un â duwinyddiaeth Elihu yw athrawiaeth Paul: "A hwy wedi eu cyfiawnhâu yn rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu, yr hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed ef i ddangos ei gyfiawnder ef trwy faddeuant pechodau." Dyma yr holl orchwyliaeth yn gwreiddio mewn gras, yn cael ei dwyn

oddiamgylch mewn iawn a gwaed i anrhydeddu cyfiawnder, ac yn dybenu mewn iachawdwriaeth i'r pechadur trwy faddeuant.

Yr iawn a agorodd y ffordd i eigionau tragywyddol maddeuant yn natur Duw redeg at fyd colledig. Am grëu, nid oedd dim rhwystr i ddaioni trwy allu o dan arweiniad doethineb i ddwyn y cwbl i fôd, a'u gwneyd yn ddedwydd fel crëaduriaid Duw. Ond am drugaredd a gras mewn maddeuant i bechaduriaid, yr oedd eisieu trefn neillduol i'w hymarfer yn deilwng i Dduw. Y gwrthddrych yr oedd trugaredd am faddeu iddo, yr oedd cyfiawnder yn gofyn ei ddamnio; a chan gyfiawnder yr oedd y ddadl gryfaf. Ni buasai cosbi yr euog yn cymylu trugaredd; ond ei achub a maddeu iddo yn uniongyrchol fel yr oedd a ddygasai gyfiawnder dan gwmwl. Ond wele ddoethineb yn rhoi yr achos yn llaw Tywysog iachawdwriaeth, a hwnw yn cael ei berffeithio trwy ddyoddefiadau, a thrwyddo ef wele ffordd i ddwyn meibion lawer i ogoniant yn weddus i'r Duwdod. "Am hyn y mae y Tad yn fy ngharu i," medd yr Iesu, "am fy mod yn dodi fy einioes, fel y cymerwyf hi drachefn." Fy anwyl Fab! dyma di wedi gosod fy nghariad i yn rhydd; yr oedd yn gyflawn o fwriadau grasol at yr euog er tragywyddoldeb, a châf bellach gyhoeddi fy hun i'r byd euog fel Duw trugarog a graslawn; câf weithian gyfiawnhâu yr annuwiol; câf faddeu wrth ddymuniad fy nghalon, a chyflawni boddlonrwydd fy ewyllys a'm daioni mewn iachawdwriaeth trwy faddeuant. Ac megys y mae trugaredd yn rhydd yn y drefn hon, felly y mae ffyddlondeb a chyfiawnder Duw yn ei rwymo i faddeu yn ol ei addewid. Dyma fel y dengys Paul berffeithrwydd un aberth y Gwaredwr: y mae wedi cadarnhâu y cyfammod yn yr hwn y mae maddeuant (Heb. x. 14). Pa fodd? Wel, y mae yr Ysbryd yn tystiolaethu i ni fod gras a maddeuant y cyfammod yn sicr. "Canys wedi iddo ddywedyd o'r blaen, Dyma y cyfammod: Mi a osodaf fy nghyfreithiau yn eu calonau, ac a'i hysgrifenaf yn eu meddyliau;" efe a ddywedodd hefyd, "A'u pechodau a'u hanwireddau ni chofiaf mwyach. A lle mae maddeuant am y rhai hyn, nid oes mwyach offrwm dros bechod." Nid oes dim anghen am dano, o herwydd y mae maddeuant wedi ei sicrhâu i'r eglwys, ynghyda'r oll sydd yn ei ddilyn. Mae "holl addewidion Duw yn Nghrist yn ïe ac amen." Ië, trwy y prynedigaeth y mae holl eiddo y Tad mewn trugaredd a gras yn eiddo y Gwaredwr, a holl oruch-

wyliaeth maddeuant yn ei law ef. "Hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw, yn Dywysog ac yn Iachawdwr i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau." Nac anobeithied yr euocaf, gan hyny; deued at Grist, a cheiff y llaw a hoeliwyd ar y groes yn agored i estyn pardwn iddo.

IV. *Y mae yr iachawdwriaeth sydd drwy faddeuant yn iachawdwriaeth berffaith a thragywyddol.*

Gelwir gwaredigaethau tymmorol yn iachawdwriaeth yn y Bibl; eithr am y rhai hyny, nid yn unig nid ydynt yn cyrhaedd yr ysbryd, ac yn ymestyn i'r byd a ddaw, ond nid ydynt yn gwaredu y corff ond oddiwrth ryw berygl neu drueni neillduol, ac yn ei adael ymhob ystyr arall fel cynt, ac yn agored i syrthio i'r cyffelyb beryglon drachefn. Yr oedd Paul wedi ei waredu oddiwrth amryw ddirfawr angeu; ond cystuddiol ydoedd ymhob peth dros ei oes, a bu farw yn ferthyr yn y diwedd. Yr oedd yr Arglwydd wedi gwneyd iachawdwriaeth i Saul a'i deyrnas trwy law Dafydd; ond drwg a thruenus a fu Saul wedi hyny yn ei fywyd a'i angeu. Yr oedd gwaredigaeth Israel o'r Aipht yn iachawdwriaeth fawr a gogoneddus, yr hon y mae Duw a'i eglwys yn ymuno i'w mawrhâu am oesoedd. Beth er hyny? y mae Duw yn dinystrio eilwaith y rhai ni chredasent. Yr oedd yr iachawdwriaeth hòno yn gadael eu hysbryd hwy dan lywodraeth anghrediniaeth a gwrthryfel, a'u cyrff i syrthio dan farn Duw. Ond am iachawdwriaeth pechadur trwy faddeuant, y mae hon cyfled â holl natur dyn, a chyhyd â'i hanfod; mae yn ymgeleddu ei holl alluoedd, yn diwallu ei holl anghenion, yn ei ddwyn o afael pob drwg, ac i fwynhâd o bob daioni, a hyny dros byth.

Y mae dawn Duw mewn maddeuant yn ddiedifarus, ac felly yn ddigyfnewid. Tywalltodd Crist ei waed er maddeuant pechodau; ac nid oes eisieu iddo bellach ond dadleu ei waed tuag at ddwyn y neb y maddeuwyd ei drosedd i lawn fwynhâu addewid yr etifeddiaeth dragywyddol. "Canys os pan oeddym yn elynion ein heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab ef, mwy o lawer, wedi ein heddychu, ein hachubir trwy ei fywyd ef." Mae yn dra thebyg y daw achosion i alw am eu ceryddu hwynt a dderbyniasant faddeuant pechodau; ond nis demnir mo honynt. "Mi a ymwelaf â'u camwedd â gwialen, ac â'u hanwiredd â ffrewyllau; ond ni thòraf fy nhrugaredd oddiwrtho, ac ni phallaf o'm gwirion-

edd." Beth bynag a ddygwydd iddynt, ni chyfrgollant byth. Yn yr iachawdwriaeth trwy faddeuant, mae yr enaid mewn undeb â'r Iachawdwr; gan hyny y mae bywyd y naill yn gyfrodeddog â bywyd y llall. Rhaid gorchfygu y Gwaredwr cyn y dyfethir y gwaredigion. "Byw wyf fi," medd efe, "a byw fyddwch chwithau hefyd." Y mae meddwl fod tragywyddoldeb yn ein haros yn feddwl ofnadwy. Ni a fyddwn yn bôd ymhen miliwn o flynyddoedd; a pha wêdd a fydd arnom y pryd hwnw? Ond y mae maddeuant ac iachawdwriaeth yn rhoddi sirioldeb a phrydferthwch ar wyneb tragywyddoldeb, gan y sicrhëir yr oes ddiddiwedd ar ei hŷd yn fywyd a digrifwch i bobl Dduw. Wele, ynte, "lle yr amlhäodd pechod, y rhagor-amlhäodd gras; fel megys y teyrnasodd pechod i farwolaeth, felly hefyd y teyrnasai gras trwy gyfiawnder i fywyd tragywyddol trwy Iesu Grist ein Harglwydd."

Dyma yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist, ac a gyhoeddir yn yr efengyl; a "pha fodd y diangwn ni os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint?" Os wyt hebddi, fy enaid, mae yr holl fygythion yn ngair Duw fel magnelau dinystriol yn cyfeirio eu ffroenau atat, a melldith yr Arglwydd yn dy ddilyn ymhob man, ac yn aros ar bob peth a feddi, yn y ddinas neu yn y maes. Ië, heb yr iachawdwriaeth trwy faddeuant, yr wyt yn y carchar eisoes, wedi dy gondemnio, a phob mynyd yn agored i'r dienyddiad; yr holl wahaniaeth ydyw dy fod yn awr yn cysgu yn y carchar, ac y byddi yn deffroi yn y man. Dacw ddyn condemniedig yn *cell* y grogfa; y mae wedi syrthio i gwsg, ac yn ei gwsg yn breuddwydio yn hyfryd: yn ei weled ei hun mewn palas gwych, a chanddo bob rhyddid, moethau, a mawredd. Ond och! y mae yn deffro, ac yn ei gael ei hun yn nghell y condemniad. Wedi agor ei lygaid, ni wêl ond yr hen barwydydd duon o'i gwmpas, a'r hen byrth heiyrn yn gauedig arno. Enaid, pan ddeffroi dithau i iawn ddirnad dy gyflwr, cei dy hun wedi dy amgylchu gan Hollwybodaeth, Hollbresennoldeb, a Hollalluogrwydd Duw, heb un lle i ti ffoi o'i ŵydd. Ond os wyt wedi dy gau dan bechod, ac agoriadau dy gell dywell yn llaw cyfiawnder nef, apelia yn edifeiriol at iawn y groes; a thrwy yr iawn daw yr agoriadau i law trugaredd; a thrugaredd, wrth dy ollwng yn rhydd, a'th esyd yn ngofal maddeuant ac iachawdwriaeth.

## PREGETH X.

### YR ACHOS A'R YSBRYD CENADOL.

2 CORINTHIAID x. 13—16: "Eithr ni fostiwn ni hyd at bethau allan o'n mesur, ond yn ol mesur y rheol a ranodd Duw i ni, mesur i gyrhaeddyd hyd atoch chwi hefyd; canys nid ydym megys rhai heb gyrhaeddyd hyd atoch chwi, yn ymestyn allan tu hwnt i'n mesur; canys hyd atoch chwi hefyd y daethom âg efengyl Crist: nid gan fostio hyd at bethau allan o'n mesur yn llafur rhai eraill, eithr gan obeithio, pan gynnyddo eich ffydd chwi, gael ynoch chwi ein mawrygu yn ol ein rheol yn ehelaeth, i bregethu yr efengyl tu hwnt i chwi, ac nid i fostio yn rheol un arall am bethau parod eisoes."

YR oedd yr apostolion wedi derbyn gorchymyn i fyned i'r holl fyd, a phregethu yr efengyl i bob crëadur. Darfu i'r Pentywysog mawr, yr hwn unwaith a'u cyfyngodd hwynt i wlad Judea, fel hyn eu gwneuthur yn dywysogion ymhob gwlad. Felly yr oedd gan bob un o'r apostolion hawl ac awdurdod i deithio drwy yr holl ddaear, i ddysgu yr holl genedloedd, plànu eglwysi i Grist ymhob gwlad, a phregethu yr efengyl i bob crëadur dan y nef, fel y meddiannent yr holl ddaear yn enw Mab Duw. I'r dyben o gyrhaeddyd yr amcan yn fwy effeithiol, yr ordeiniodd yr Arglwydd Iesu ddeuddeg o honynt; a thebyg yw i'r rhai hyny drachefn, yn ol cyfarwyddyd doethineb a rhagluniaeth Duw, ddosbarthu y ddaear rhyngddynt, yn ol fel yr oedd yn hysbys ac agored iddynt y dyddiau hyny, rhan i hwn a rhan i'r llall, i'r dyben o'i llenwi âg efengyl Crist. Dyma gyfran un wedi ei fesur allan iddo yma, a chyfran y llall draw. Yr oedd rheol neu linyn Pedr yn rhedeg at yr enwaediad, a llinyn Barnabas a Paul at y cenedloedd; ac felly rhyngddynt hwy, yr holl apostolion, yr oedd eu llinyn yn rhedeg trwy yr holl ddaear, a'u geiriau

hyd eithafoedd y byd. Ac y mae yn ddigon tebyg fod pob un, yn angerdd cariad at Grist ac eneidiau dynion, yn barod i ddywedyd, "Y llinynau a syrthiodd i mi mewn lleoedd hyfryd; ïe, y mae i mi etifeddiaeth dêg."

Amcan yr apostol Paul yma, dybygid, yw dangos iddo ef gadw o fewn y terfynau yr oedd Duw wedi eu mesur allan iddo yn ei lafur gweinidogaethol, ac nad ydoedd wedi ymestyn hwnt i'w fesur ar draws, nac yn afreidiol, i faes neb o'i frodyr, nac yn bostio pethau allan o'i fesur yn eu rheol neu yn eu llafur hwynt, ond iddo lafurio yn ffyddlawn yn y gwledydd a syrthiasant i'w ran ef, ac yn ol rheol y mesur yr oedd Duw wedi ei ranu iddo; "mesur yn cyrhaeddyd hyd atoch chwi," medd efe wrth y Corinthiaid. 'Nid fel *intruder* y daethum i Corinth: y mesur oedd yn cyrhaedd yno, ac am hyny cyrhaeddais innau. Ac megys nad aethum allan tu hwnt i'm mesur i lafurio i faes rhai eraill, felly nid áf allan tu hwnt i'm mesur i fostio yn llafur rhai eraill. "Ni feiddiaf fi ddywedyd dim o'r pethau ni weithredodd Crist trwof fi, i wneuthur y cenedloedd yn ufudd ar air a gweithred;" ond os bostiaf hefyd, mi a fostiaf yn y pethau y bûm yn offeryn i'w cyflawni. Yr eglwysi a blènais yw sêl fy apostoliaeth a'm llythyrau canmoliaeth i; y rhai hyn yw fy ngogoniant a'm gorfoledd, ac a fyddant felly yn nydd Crist. Ac wedi i mi lenwi y gwledydd a fesurwyd allan i mi ág efengyl Crist, fel nad oes le mwyach i mi ddechreu achosion newyddion ynddynt, nid wyf am fostio yn rheol un arall am bethau parod eisoes; am bechaduriaid wedi eu galw, ac eglwysi wedi eu plànu; ond tu hwnt i chwi, i berfedd yr anialwch, y mynwn i fyned.' Dyma yn Paul ysbryd *missionary* yn ddiledryw. Ymorchestu yr oedd i bregethu yr efengyl lle nid enwid Crist, ac nid adeiladu ar sail un arall (Rhuf. xv. 20, 21).

Dichon fod yr apostol yn dywedyd hyn i'w amddiffyn ei hun. Nid annhebyg ydyw ei fod yn cael ei gyhuddo weithiau, yn ei zêl gyda yr efengyl, o ymestyn tu hwnt i'w fesur, ac nad oedd yn sefyll ar ei randir yn dêg. Tybygid ei fod yn golygu hyn yn nechreu ei lythyr at y Rhufeiniaid. Paham y mae efe yn ymyraeth á'n hachos ni? ebe rhywun neu rai o'r Rhufeiniaid cristionogol; ni bu efe erioed yma; ni bu, ac nid yw efe yn apostol i ni. Mi a'ch atebaf, medd Paul; nid wyf yn myned tu hwnt i'm mesur; yr ydym ni wedi "derbyn gras ac apostoliaeth i ufudd-dod ffydd

ymysg yr holl genedloedd." Mae ein hawdurdodiad yn cyrhaedd i'r holl fyd, ac felly yn cynnwys eich eglwys chwithau. Nid wyf yn gwneuthur dim ond yr hyn a fynai pob gŵr gonest ei wneyd: talu fy nyled i'r Arglwydd Iesu. "Dyledwr ydwyf." Nid anfynych y gwelwyd gweinidogion, oedd â gair Duw wedi ei gau o fewn eu hesgyrn nes yr oeddynt yn methu aros o fewn terfynau dynol, yn cael eu cyhuddo o weithredu yn afreolaidd. Felly y bu gyda Whitefield, Rowland Hill, a hen dadau Methodistiaeth Cymru.

Neu, fe allai fod Paul yn llefaru geiriau y testun er mwyn argyhoeddi eraill. Yr oedd gau-apostolion wedi dyfod i Corinth, y rhai oedd yn heidio o'r naill fan i'r llall wrth eu mympwy ac i'w dybenion cnawdol eu hunain. Nid oeddynt hwy mor hoff o lafurio yr anialwch, ond ymlusgo i mewn a wnaent i fesur rhai eraill—i'r maes âg y byddai yr apostolion wedi ei drîn. Ac yna byddent yn bostio am bethau parod eisoes yn llafur rhai eraill, fel pe buasai y cwbl wedi ei wneuthur ganddynt hwy.

Mae Paul yma yn cymharu ei hun yn ei ymdrech gweinidogaethol i'r rhedegwyr yn y campau Groegaidd, yr hyn bethau oedd yn dra adnabyddus i'r Corinthiaid. Mae "mesur y rheol" yn cyfeirio at y tir a'r llwybr ag yr oedd yr ymdrechwr i redeg ynddo —y llinell wèn ag oedd yn gwahanu ei lwybr ef oddiwrth lwybrau ei gydymdrechwyr. Mae "bostio" ac "ymestyn allan tu hwnt i'r mesur," a "bostio yn rheol un arall," yn cyfeirio at yr hyn oedd yn waharddedig yno, sef i'r rhedegwr dòri dros ei linell ei hun i reol neu *line* rhedegwr arall. A'r "cyrhaeddyd hyd atoch," a gyfeiria at y rhedegwr yn cyrhaedd y nôd o flaen eraill. Cymhara Paul ei hun i redegwr, a maes ei lafur i'r *course* a linellwyd allan iddo gan Dduw. O fewn hwnw, cyrhaeddodd efe yn orchestol hyd Corinth o flaen neb arall; a gwnaeth hyny "gan obeithio pan gynnyddai eu ffydd hwynt, gael ei fawrygu," ei helpio ganddynt i ehangu ei linell "yn ehelaeth;" nid i fyned "i reol un arall, ond tu hwnt iddynt hwy," i wledydd lle nas enwid Crist. Fel hyn yr oedd efe yn rhedeg yr yrfa a osodwyd o'i flaen, heb wneuthur cyfrif o ddim os gallai orphen ei yrfa trwy lawenydd. Mawr oedd ei bryderwch rhag iddo redeg yn ofer—cymeryd poen yn ofer. Yr oedd ei faes yn helaeth, a'i feddwl a'i awydd yn helaethach.

Fel hyn y mae yma ddarluniad o'r llafur a'r ysfa a ddylai fod

arnom ninnau eto i helaethu terfynau efengyl Crist. Bod yn gyfryw un â Paul yw bod yn gristion da a chenadwr ffyddlawn.

Heb ymyraeth mwy âg anhawsderau y geiriau, ceisiwn loffa oddiar eu hwyneb rai addysgiadau er ein rhwymo, ein cymhell, a'n calonogi yn y ddyledswydd fawr a ddylai fod yn brif orchwyl yr eglwys yn ein dyddiau ni: anfon cenadon heddwch i fysg yr holl genedloedd.

I. Gwelwch y trysor y mae y gwir genadwr yn ei ddwyn: efengyl Crist. "Hyd atoch chwi hefyd y daethom âg efengyl Crist."

Nid celfyddydau a doethineb ddynol—nid philosophi a gwâg dwyll—nid dychymygion dynion a chwedlau gwrachïaidd, yw pethau cenadon dros Grist; nage! nid dim ond efengyl. Y mae Satan wedi myned allan i dwyllo y byd; mae y dyn pechod â'i ddyfodiad gyda ei amryfusedd cadarn i ddal y byd yn ei golledigaeth; mae y llyffaint, ysbrydion cythreuliaid, yn myned allan at freninoedd y ddaear, a'r holl fyd, i'w casglu hwy ynghyd i ryfel. Ond "mor brydferth yw traed y rhai sydd yn efengylu tangnefedd, y rhai sydd yn efengylu pethau daionus!" Piser yn cario lamp i oleuo'r byd, llestr pridd yn dwyn trysor i gyfoethogi tlodion, gwas y meddyg yn dadgloi o flaen yr afiach y coffr lle mae cyffyriau y nef i'w feddyginiaethu,—dyna pa fath un yw y cenadwr efengylaidd.

1. *Ystyriwch anghen y byd am yr efengyl.* Dyma yr anghen llymaf; llymach nag anghen Ismael yn yr anialwch am ddwfr, neu y babanod yn Jerusalem am fwyd. Cesglwch yn eich meddwl yr holl drueni tymmorol sydd drwy grëadigaeth Duw ar yr un dyn, ac ni bydd i'w gymharu â thrueni dyn heb efengyl. Cymerwch oddiar ddyn ei holl synwyrau—amddifadwch ef o'i holl gysuron; ei fwyd, ei ddillad, ei gyfeillion, ei berthynasau—bwriwch arno holl boenau'r byd; newyn, syched, gwäew, cnofëydd, carcharau, y cleddyf, a'r heintiau: beth yw hyn oll wrth drueni enaid wedi colli y cwbl trwy golli Duw! Enaid heb yr efengyl, ac felly heb ei gobaith hi, dyna enaid heb heddwch, heb fywyd, heb sancteiddrwydd, heb ddedwyddwch. Gwelwch ef yn ei ddiwedd, a melldith ac anfoddlonrwydd Duw yn ymdòri arno; y felldith yn dywyllwch eithaf yn ei ddirgeloedd, yn bryf anfarwol yn ei gydwybod, yn dàn anniffoddadwy yn ei deimladau; crëadur anfarwol

mewn marwolaeth byth; yn marw er byw, ac yn byw i farw yn dragywydd! Y mae llon'd gwledydd a chyfandiroedd i'w cael heddyw o rai fel hyn; pobloedd heb Grist, heb obaith, heb Dduw yn y byd. Beth bynag a gefaist ti yn y Bibl, gristion, y maent hwy heb hwnw. Beth bynag sydd yn Nghrist, y maent hwy hebddo. Beth bynag sydd mewn cymundeb â Duw, y maent hwy heb wybod am dano. Beth bynag a gefaist mewn sabbath a'i ordinhadau, y maent hwy heb hyny. Beth bynag sydd yn ngwaed y groes, ni feddant hwy mo hono. Pa beth! meddi; onid dyna lle cefais i y cwbl? Wel, y maent hwy heb ddim, ynte. Dyna lle y cefais i fywyd. Wel, y mae'r byd yn farw, ynte. O na soniwch yr awr hon am y rhai sydd heb fwyd na dillad; y byd heb Grist, dyna anghen yr anghenion—trueni pob trueni!

2. *Ystyriwch gyfaddasrwydd bendithion yr efengyl at eisieu y byd.* Parodd Duw ar y cyntaf i'r holl grëaduriaid basio ger bron Adda; ond ni chafwyd ymgeledd gymhwys iddo ynddynt oll. Dowch â holl grëadigaeth Duw o flaen cydwybod wedi deffro, ac ni cheir dim yn ateb i'r anghen. Ymagored natur yn ei holl ryfeddodau; traethed philosophi ei holl gyfrinion, dangosed y celfyddydau eu holl gyfoeth, aed seryddiaeth i'r uchder, a daeareg i'r dyfnder: 'Ymwared i bechadur, nid yw gyda myfi,' medd y cwbl. Beth a ddywed natur o fewn y pechadur? Dim ond ei fod yn rhwym i farw. "Pwy a drig gyda'r tân ysol?" Beth a ddwg rhagluniaeth iddo? Dim ond gwlaw a thymmorau ffrwythlawn, i chwanegu ymborth i'w chwant. Beth yw amynedd Duw iddo? Oediad ar y gosb; goddef trwy hirymaros lestri digofaint; arbed hyd ddydd dial i ddwyn allan yn nydd cynddaredd. Beth a wna ei grefydd a'i gyfiawnder ei hunan? Dim ond gwatwor y truan yn ei drueni. "Byrach yw y gwely nag y galler ymestyn ynddo." Cyrs ydynt yn tyllu cledr llaw un wrth bwyso arnynt. Gorfoleddu yn llewyrch ei dân bỳr a bach y mae'r pagan, a gorwedd mewn tywyllwch. Ond fe dry yr efengyl lygaid pechadur tywyll ac euog at Fab Duw yn ei drymgwsg ar y groes, pan y cenfydd ymgeledd gymhwys yn cael ei thynu iddo o'i ystlys waedlyd ef. O darllenwch chwi yr Adda cyntaf, a minnau ddarllenaf Adda yr ail! Os yw anufudd-dod un wedi gwneuthur llawer yn bechaduriaid, wele eto ufudd-dod un i wneuthur llawer yn gyfiawn. Megys y daeth barn ar bob dyn i gondemniad trwy gamwedd un, felly hefyd trwy

gyfiawnder un y daeth y dawn ar bob dyn i gyfiawnhâd bywyd. Taflu gorchudd dros drueni y byd y mae pawb a phobpeth arall; ceisio ei wneyd ef yn well nag ydyw, ac heb feddu dim ar ei gyfer i'w wellâu. Ond y mae yr efengyl yn ei ddyosg yn noeth, a'i ddangos fel y mae: yr holl fyd yn gorwedd mewn drygioni, a than farn Duw; marwolaeth ar bob dyn; pob cnawd yn llygredig. Ac wedi hyny, hi a ddengys ddigon iddo: "Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid—Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau—ffynnon wedi ei hagoryd." Rheded, ynte, genadon heddwch, hyd bellafoedd byd; wele ganddynt genadwriaeth addas; geiriau i iachâu yr afiach, bara i'r newynog, dwfr i'r sychedig, a bywyd i'r marw!

3. *Ei chyflawnder gogyfer â'r holl anghen.* "I efengylu ymysg y cenedloedd, anchwiliadwy olud Crist. Pan yn edrych ar lïaws trigolion Llundain, yr ydych yn barod i ofyn, Pa le y cânt hwy byth ddigon o fwyd? Ond wrth edrych wedi hyny ar ddarpariaethau y marchnadfäoedd a'r gwerthfëydd yno, yr ydych am ofyn eto, Pa le y ceir digon i fwyta hyn oll? Wele dorf ddirif o bechaduriaid, anghenion pob un mor ddirif â'i bechodau, a'i bechodau mor ddirif â'r dorf. Pa le y ceir digon i ddiwallu tyrfa gymaint? Yn holl gyflawnder Duw; yn ngolud Crist. Rhowch chwi oll Crist i fod yn oll pechadur, a bydd efe yn ddiwall byth. Wele ymwrolwn gyda y gwaith cenadol; fe dal efengyl Crist i'w hanfon. Na foed arnom gywilydd o honi gartref neu oddicartref; "gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth i bob un sydd yn credu," gan nad pa un ai Groegwr ai Iuddew, ai Affricaniad ai Ewropëad a fyddo.

II. Gwelwch y rheol wrth ba un y mae yr efengyl yn cerdded yn y byd: "mesur y rheol a ranodd Duw."

Mae yr efengyl yn ei holl amgylchiadau, yn holl amrywiaethau ei chysylltiadau, yn troi wrth gynghor a rhagluniaeth neillduol Duw. Darllenwch ei holl hanes; mae ei mynediad i wledydd, a'i hattaliad o wledydd—ei chadwraeth yn y naill, a'i symudiad o'r llall—yn dibynu, yn y dechre a'r diwedd, ar drefniad neu oddefiad y Nefoedd; mae y cwmwl mawr sydd yn dwyn y gwlaw graslawn yn ymdroi oddiamgylch wrth ei lywodraeth Ef. Paham y gwarafunir pregethu y gair yn Asia, ac nas goddefir myned i Bithynia,

pryd y gelwir am ddyfod drosodd i Macedonia? "Felly y rhyngodd bodd i Ti!" Paham mae'r cenadwr goreu a mwyaf oll yn pregethu i Corazin a Bethsaida, y rhai nad edifarhäent, ac yn gadael Tyrus a Sidon, y rhai a fuasent yn edifarhâu mewn sachlïan a lludw? A phaham yr anfonwyd Ezeciel at y rhai tàlgryfion a chaledgalon, na fynent wrando arno, pan yr attelid ef oddiwrth y rhai hyny a wrandawsent arno pe ei hanfonasid atynt? Nid oes genym ond troi yn ymostyngar at farnau anchwiliadwy ewyllys Duw am atebiad.

Nid oes wybod pa faint o dywydd a welir eto cyn y bydd yr efengyl yn fuddugol ar y byd. Gall y bydd gauaf mawr a hir cyn y cynauaf toreithiog. Dichon y bydd ei chenadon yn cael eu bwrw allan fel drwg-ddynion, a'u carthu o'r gwledydd fel sorod, ei phroffeswyr yn cael eu lladd a'i sefydliadau eu dadymchwel. Nis gwyddom ni ddim. Ond ni a wyddom, O Arglwydd Dduw, na wneir dim yn erbyn dy Sanct Fab Iesu ond a ragluniodd dy law a'th gynghor di eu gwneuthur. Er nad dieuog gan yr Arglwydd y rhai a wrthodant ac a wrthwynebant ei efengyl ef, rhaid cofio nad yw ei haflwydd mwy a'i llwydd yn anwybyddus iddo. Mae bywyd ac angeu ei chyfeillion wrth reolaeth Doethineb Ddwyfol. Beth a ŵyr y cenadwr sydd yn myned i wlad dramor pa un ai tirio yno i fyw ai i farw a wna. Ac nis gŵyr ef yno mwy na ninnau yma, pa un a gaiff ai gweled llwyddiant ai ynte poeni am flynyddoedd heb ddal dim. Ond mae y rheol wedi ei sefydlu, a mesur wedi ei wneuthur, a'r yrfa wedi ei gosod; a rhedeg bellach yw ein pwnc ni. Awn ymlaen yn ngwaith ein Duw, gan adael y canlyniadau yn ei law ef ei hun.

III. Gwelwch fod yr holl ddaear wedi ei mesur allan i'r efengyl. Dengys Paul yn y testun mai i fyned rhagddi y mae hi. Mi gefais fesur eisoes yn "cyrhaeddyd hyd atoch chwi," Gorinthiaid; nid oes lawer o amser er pan yr oedd hi o fewn terfynau Judea, a ffordd y cenedloedd, a dinas y Samariaid, heb eu llinellu allan iddi; ond yn awr yr wyf yn dysgwyl cael ehangu fy mesur eto i'r gwledydd "tu hwnt i chwi." Bydd Italy a'r Hispaen yn cael eu *lotio* allan bellach.

Y maes yw'r byd; ac y mae Duw yn ei ranu i lafurwyr: rhai yma a rhai draw; rhai i'r oes hon, a rhai i'r oes arall, nes llenwi wyneb y byd â chnŵd. Bu amser pryd yr oedd Duw yn cyfyngu

yr efengyl. Cafodd y byd gynnyg arni yn ddïau yn Adda. Cafodd yr addewid a wnaed iddo ef ei throsglwyddo i'w hâd, ac felly y bu eilwaith yn Noah. Ond pechod, wedi alltudio cariad Duw o galonau dynion, a dagai'r gair yn eu meddyliau. Yn y man galwodd Duw air ei ras yn ol o'r byd mawr, gan ei gyfyngu i deulu Abraham. Hwy yn unig oedd Gosen oleu, pryd yr oedd tywyllwch ar yr holl ddaear. Dyma y cnu gwlyb, pan yr oedd sychder ar yr holl ddaear. O fawredd eu rhagoriaeth! "Y mae efe yn mynegu ei eiriau i Jacob, ei ddeddfau a'i farnedigaethau i Israel; ni wnaeth efe felly âg un genedl." Eiddynt hwy oedd "y mabwysiad, a'r gogoniant, a'r cyfammodau, a dodiad y ddeddf, a'r gwasanaeth, a'r addewidion." Pan y daeth Crist, ac y cyflawnodd ei waith, aeth llinyn yr efengyl drwy yr holl ddaear, a'i geiriau hyd eithafoedd y byd. Cydnabyddwn Dduw, yr hwn a fesurodd y ddaear yn y dechre, a osododd linyn arni wrth ei gwneuthur; a'i rhoes hi allan yn breswylfod i'w thrigolion, a ranodd etifeddiaeth y cenedloedd, a neillduodd feibion Adda, ac sydd wedi bod yn ei mesur hi allan i'w drugareddau a'i farnau. Mae y llinynau wedi syrthio arni i Fab Duw, ac yntau yn ei mesur allan i'w genadau i'w llenwi â'r efengyl. Yr oedd gan Dafydd ddau linyn yn mesur Moab; llinyn i ladd, a llinyn llawn i gadw yn fyw. Bu Duw yn mesur y ddaear i'w farnedigaethau; ac i hyny yr oedd yn penu terfynau llai na'r byd hwn. Pan yr oedd diwedd pob cnawd wedi dyfod ger bron Duw, Noah a gafodd ffafr yn ei olwg. Pan yn ysu gweddill Sodom, yr oedd yn gwaredu Lot. Yn y dinystr mawr ar Jerusalem, yr oedd yno weddill yn cael eu hachub. Ond dyma gan ein Harglwydd linyn llawn i gadw yn fyw: "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob crëadur."

Pa ffordd yr ä teyrnas Dduw y flwyddyn hon, nis gwn; ond hi a ä y ffordd y mae'r mesur yn myned. Os yw yr hen Iuddewon wedi eu *lotio* allan, byddant yn eu holewydden ar fyrder bellach; "yn y man lle y dywedwyd wrthynt, Nid pobl i mi ydych chwi, y dywedir yno wrthynt, Meibion y Duw byw ydych." Os China sydd wedi ei mesur allan, ysgydwir ei nefoedd a'i daear, arloesir yr hen garneddau, a symudir pob llanastr; ac wedi i'r prophwydo ddwyn yr esgyrn sychion at eu gilydd, a pheri gïau a chîg arnynt a chroen am danynt, yr anadl o'r nef a'u cyfyd ar eu traed yn llu mawr iawn. Y gàreg a dòrwyd nid â llaw, a faluria bob delw a

fyddo ar ei ffordd i redeg ei gyrfa. Hyd yn nôd pan fyddo Duw yn mesur allan le i'r bwystfilod, maent hwy yn sicr o'i gael. Rhanodd wlad Edom wrth linyn i'r draenog, y dylluan, yr wyll, y cathod, a'r ellyllod; a pha beth a ddaeth o honi? Y pethau gwylltion ac erchyll hyny a'i "meddiannant hi byth, preswyliant ynddi o genedlaeth i genedlaeth" (Esa. xxxiv. 11—17). Pa le yr oedd duciaid Edom? Yr oeddynt heb ddim grym i wrthsefyll mesuriad Duw. Ni a wyddom pan y ceir act seneddol i fesur allan y *railroad*, y cyfodir y pantiau, ac y gostyngir y bryniau; ac ni phetrusir myned trwy barc y pendefig os bydd y llinell fesur wedi ei nodi. Pan yr oedd y Goruchaf wedi mesur allan Palestina i'r deuddeg llwyth, "safodd a mesurodd y ddaear; edrychodd a gwasgarodd y cenedloedd." Ni chânt hwy fyned oddiyma, medd Pharaoh. Ni chânt hwy ddyfod yma, medd y Canaanëaid. Wele, pa fodd y bu? Er mwyn gweithio allan ei fesuriad, aeth Arglwydd y lluoedd i drîn ei fwa. "Llwyr noethwyd dy fwa yn ol llwon y llwythau, sef dy air di. Pa beth! medd Duw, os ceisir rhwystro i'r tir yr wyf fi wedi ei fesur allan i'm pobl yn nghynghor fy ewyllys, ac wedi ei roddi trwy lw i'w tadau, mi noethaf fi fy mwa i'r eithaf. A pha beth yw y canlyniad? Dacw yr Aipht fel un lladdedig, y Môr Coch yn ddau, yr Iorddonen yn troi yn ol, y mynyddoedd tragywyddol yn cael eu dryllio, y bryniau oesol yn crynu, y cenedloedd yn cael eu gwasgaru, gwersyllau Cuwsan dan gystudd, llèni tir Midian yn crynu, a'r haul a'r lleuad yn sefyll yn eu preswylfa. O ba herwydd y mae hyn oll? Y Duw byw sydd yn dwyn pethau oddiamgylch yn ol ei lwybrau tragywyddol; cyflawni ei lw y mae, gan fyned âg Israel i'r wlad oedd wedi ei mesur iddynt (Hab. iii. 6—12).

O y *grant* a wnaeth Duw Dad i'w Fab! "Gwnaf ef yn gynfab, goruwch breninoedd y ddaear; rhoddaf derfynau y ddaear i'w feddiant; bydd yn iachawdwriaeth i mi hyd eithaf y ddaear." Dacw yntau wedi derbyn awdurdod ar bob cnawd, yn dyweyd wrth ei weinidogion, Ewch i'r holl fyd, yr wyf fi gyda chwi; mae'r teitl yn dda. Ewch! mae pob barn yn fy llaw i; gan y rhagwelai awdurdodau Paganaidd a Phabaidd yn codi yn erbyn. Mae Satan, wedi cylymu ei achos wrthynt, yn eu galw hwynt i ryfela â'r Oen! ond "yr Oen a'u gorchfyga hwynt." Efe a'u maluria fel mân ûs yn dyfod o'r lloriau-dyrnu hâf. Beth yw'r cynhwrf

sydd yn y byd yn awr? Rhagluniaeth Duw sydd yn cyflawni ei arfaeth ef; y gàreg sydd yn malurio y ddelw; ysgwyd sydd o'r nef a daear i barotôi dyfodiad Dymuniant yr holl genedloedd. Jehofah y lluoedd sydd yn cyhoeddi, "Dymchwelaf, dymchwelaf, dymchwelaf hi, hyd oni ddelo yr Hwn y mae yn gyfiawn iddo, ac iddo ef y rhoddaf hi." Adeiladydd yr eglwys sydd yn myned i fyny i goedwig y byd i arloesi, a gwneyd ei derfyn eithaf yn eiddo iddo ei hun. Ydyw, y mae'r byd sydd yn meddiant Satan wedi ei fesur mewn arfaeth foreu gan Dduw i'w Grist ef. Yr Arglwydd Dduw Hollalluog sydd yn dywedyd uwch ben byd ac uffern, "Fy nghynghor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf." Yr oedd Paul wedi mesur Bithynia iddo ei hun, ond ni oddefodd yr Ysbryd iddo. Arfaethodd yn fynych fyned i Rufain, ond fe'i lluddiwyd. Ewyllysiodd unwaith a dwywaith ymweled â Thessalonica, eithr yr oedd Satan yn rhwystro. Ond os dyrysai Satan arfaeth Paul, nid oes a ddyrysa arfaeth Duw. "Fy nghynghor a saif." Wele, meddianned Mahomet a'r Pab yr hyn a roes Cemos eu duw iddynt; yr hyn oll a oresgyno yr Arglwydd ein Duw o'n blaen ni a feddiannwn ninnau.

IV. Gwelwch yr awgrym sydd yma mai dyledswydd y rhai a gawsant yr efengyl eu hunain yw ymdrechu i'w hanfon i eraill. Cefais i fesur yn cyrhaeddyd hyd atoch chwi, y Corinthiaid, medd Paul; ac yr wyf yn gobeithio am gynnorthwy genych i bregethu yr efengyl tu hwnt i chwi.

Dwy ragorfraint annhraethol werthfawr, yw, derbyn yr efengyl, a rhoddi yr efengyl. Wele ni wedi cael yr efengyl; a phaham y cawsom ni hi? Paham y mae Cymru yn Gosen oleu pryd y mae'r Iwerddon yn Aipht dywell? Pa fodd y mae Prydain fel cnu gwlân gwlyb, pan y mae sychder ar yr holl ddaear? Dyna wledydd eraill yn mro a chysgod angeu, a goleuni Duw yn codi arnom ni. Danfonwyd cyhoeddiad rhyddhâd i ni, pryd y gadäwyd miloedd oedd yn yr un sêl dan y condemniad. Pe brasder a gwychder daearol a deilyngai efengyl Crist, yn Twrci y buasai, ac nid yn Nghymru. Pe ehangder daear a'i hennillasai, China a'i cawsai, ac nid nyni. Pe rhinweddau moesol hyd syndod a roddasai hawl iddi, cawsai y philosophyddion paganaidd hi o'n blaen ni. Dyma y llïaws wedi eu gadael, a'r efengyl yn cael ei rhoi i'r anamlaf—y doethion wedi ei cholli, a rhai bychain wedi ei chael.

Paham? "Nid am eich bod yn llïosocach na'r holl bobloedd yr hoffodd yr Arglwydd chwi, ac y'ch dewisodd; o herwydd yr oeddych chwi yr anamlaf o'r holl bobloedd; ond o herwydd caru o'r Arglwydd chwi." Daeth yr efengyl yma yn fore iawn, pryd yr oedd ein gwlad yn rhyw gornel anghysbell o'r byd. Mae rhai yn tybied i Joseph o Arimathea ei dwyn hi yma; a rhai yn dyweyd i Paul gael mesur yn cyrhaedd hyd at yr hen Gymry. Pa fodd bynag, ymysg y rhai y mae Paul yn eu nodi fel chwïorydd Cristionogol, mae efe yn enwi Claudia, yr hon, medd y dysgedigion, sydd yr un â Chlaudia Ruffina, gwraig Pudens, yr hwn a enwir yn yr un adnod, ac felly yr un à Gwladus Ruffydd, yr hen Gymraes. Duw a'n cynnorthwyodd ni mewn efengyl yn fore iawn. Ac efe a'i cadwodd hi yma gyda ni, pan y mae gwledydd eraill wedi myned yn ol i dywyllwch Aiphtaidd.

Cymaint rhagorfraint eto yw cael rhoddi yr efengyl i eraill. "Derbyniasoch yn rhad, rhoddwch yn rhad." Wrth ei rhoddi, yr ydym yn cael y fraint o weithredu yn debyg i Dduw ei hun. Y mae efe yn ffynnon anhysbydd ynddo ei hun, ac yn rhoddi i bawb fywyd, anadl, a phob peth oll. Mae y daioni sydd ynddo ef yn llifo, yn lledu, dros yr holl grëadigaeth bob mynyd. Felly y mae fel Duw natur, ac felly fel Duw'r gras—goludog ydyw i bawb sydd yn galw arno. Ac fel y mae yn defnyddio dynion i drosglwyddo daioni tymmorol, mae yn eu cymeryd hefyd i drosglwyddo pethau ysbrydol i'w gilydd. Pe gwelem ryw un yn cerdded y byd i roddi iechyd i gleifion, a chyfoeth i dlodion, mawr a fyddai y llygadu arno a'i fendithio. Pa fath fraint yw cael bod yn bibellau i gario dyfroedd y bywyd—yn ganwyllbrenau i gynnal goleuni y bywyd—yn oruchwylwyr i gyfranu bara y bywyd! Y fath fri ac anrhydedd yw cael cerdded trwy'r byd i efengylu anchwiliadwy olud Crist—pregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef—gwasgaru perlau'r groes, a chyfoethogi llawer o rai truain iawn! Mae yr eglwys yn cael ei bendithio ei hun, a'i gwneyd yn fendith i eraill—ei goleuo, a'i gwneyd yn oleuni y byd—ei halltu, a'i gwneuthur yn halen y ddaear—ei hadeiladu â'i sail ar y graig, a'i gwneyd yn golofn a sylfaen y gwirionedd. Hi sydd yn cynnal gair y bywyd i'r byd.

Buasai yn hawdd i Dduw wneuthur yr efengyl yn hysbys i'r byd ei hunan, megys y gwnaeth yn Eden. Neu gallasai roddi angel-

ion i'w chyhoeddi fel y gwnaeth yn Bethlehem. Ond nid yn ddigyfrwng y mae efe yn gweithio gyda'r efengyl, ac nid i'r angelion y rhoes efe y gwaith. Taflodd Crist Saul i'r ddaear nes yr oedd mewn syndod a braw am ei ddrwg a'i berygl; ond yr oedd raid i Ananïas ei hyfforddi am drefn y cadw. Yr oedd angel yn cael ei anfon i ddyweyd wrth Cornelius am Pedr; nid yr angel ond Pedr oedd i ddyweyd am Grist wrth Cornelius. Dywedai'r Ysbryd wrth Phylip am yr eunuch; yr oedd raid i Phylip bregethu iddo yr Iesu. O y gorchwyl mawr a roed i ddyn! "Cadw dy hun a'r rhai a wrandawant arnat."

1. Wedi cael yr efengyl, y mae *naturiaeth ei hun* yn dysgu y ddyledswydd o'i rhoddi i eraill. Pwy sydd heb yr efengyl? Ein brodyr; rhai wedi eu gwneuthur o'r un gwaed, ac wedi syrthio i'r un pydew â ninnau. A ymguddiwn ni oddiwrth ein cnawd ein hun? A dderbyniwn ni drugaredd heb drugarhâu wrth ein cydwas? A gaiff brodyr a chwïorydd i ni fod mewn eisieu y bara a bery i fywyd tragywyddol, a ninnau heb roddi iddynt anghenrheidiau yr enaid? A da y byd tragywyddol genym ni, ac yn gweled ein brawd mewn eisieu, a gauwn ni ein tosturi oddiwrtho? Pan y mae'r byd yn cyfrgolli, a waeddwn ni, Ai ceidwad fy mrawd ydwyf fi? Byddai y cyfryw ddiofalwch ac esgeulusdod yn annaturiol. Pan aeth y gwahangleifion yn mhorth Samaria i'r gwersyll, a dechreu bwyta ac yfed, a chuddio yr ysglyfaeth, dyna natur yn gwaeddi ynddynt, Nid ydym ni yn gwneuthur yn iawn; y mae newyn yn y dref, y dydd hwn sydd ddydd llawen-chwedl, ac yr ydym ni yn tewi a sôn; awn a mynegwn i bobl newynllyd y ddinas. Fy nghyfeillion, a guddiwn ni yspail y groes, a'r byd gerllaw yn marw o eisieu? awn a mynegwn!

2. Y mae *deddf Duw* yn rhwymo i hyn. "Câr dy gymydog fel ti dy hun." Caru dy hun yr oeddit, fy enaid, onide, pan y fföaist at Grist? Paham yr oeddit yn ofni cymaint pan y gwelaist dy gyflwr drwg? Paham yr oeddit yn llawenychu cymaint pan gefaist ddïangfa? Onid hunan-gariad oedd yno yn gweithio? Cofia, ynte, y trueiniaid sydd eto heb weled hyn. Pa fodd y buasit ti yn hoffi bod heddyw heb Grist? Beth a wnaethit ti heb hyfrydlais yr efengyl yn seinio yn dy glustiau, Duw yn Nghrist yn cymmodi! gwaed Iesu Grist yn glanhâu! Pa fodd yr ymdarewsit heb ordinhadau, heb sabbath, heb orseddfainc y gras? Pa fodd

y buasit yn dewis myned trwy gystuddiau heb ddeddf Duw yn hyfrydwch, ac i angeu heb obaith yr efengyl—heb glywed sôn am fywyd ac anllygredigaeth, nac am newid y corff gwael i'w wneyd yr un ffurf â chorff gogoneddus yr Iesu? Beth? meddi; dyna y pethau a gysurant fy nghalon i! Wel, cofia y rhai sydd yn llewygu hebddynt—y rhai y mae cnofëydd cydwybod yn eu dal, heb un *idea* ganddynt am iawn y groes, y meddwl heb un syniad wedi bod ynddo erioed am Grist. Y mae llygaid iddynt, ond ni welsant y Bibl erioed; y mae clustiau ganddynt, ond ni chlywsant hyfryd lais efengyl erioed; genau sydd iddynt, ond ni buont erioed yn dyweyd gair wrth y gwir Dduw. Ni wisgodd iaith erioed fawrion bethau Duw o'u blaen, ni bu geiriau na synwyrau erioed yn bibellau i ddwyn iachawdwriaeth at yr enaid. Dyma un gan hyny yn ymbalfalu yn ngwlad tywyllwch, euogrwydd, caledwch, aeth, a gwae. Dy gymydog di ydyw; câr ef fel ti dy hun, nes gwneyd dy oreu i anfon iddo oleuni y bywyd.

3. Y mae *cyfraith Crist* yn rhwymo i hyn. Mae deddf natur yn galw am i ni garu y pagan truan, a gwneuthur da iddo. Ond yr efengyl sydd yn dangos pa fodd i actio cariad at y fath—pa ddaioni i'w wneuthur iddo. Nis gall y ddeddf ei hun wneuthur dim iddo, na'n dysgu ninnau pa fodd i'w ymgeleddu; ond cewch ddysg a phatrwn yn yr efengyl. Dengys hon mai felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol. Dyma y peth cyntaf i ninnau ei wneyd, anfon y Mab yn y dystiolaeth; eu caru a phortreiadu Iesu Grist o flaen eu llygaid wedi ei groeshoelio yn eu plith hwy; dywedyd y derbyn pawb a gredant ynddo ef faddeuant pechodau; ceisio agor eu llygaid a'u troi, cadw eneidiau rhag angeu, a'u cipio hwy allan o'r tân; felly y mae cyflawni cyfraith Crist.

V. Gwelwch ddarluniad o'r ysbryd yn yr hwn y mae'r gwaith i'w gyflawni. Y mae Paul yma yn batrwn o'r ysbryd cenadol. "Hyd atoch chwi y daethom âg efengyl Crist," medd efe; ac yr ydym eto am "bregethu yr efengyl tu hwnt i chwi." Dyma yr ysbryd cenadol yn y ddau ymadrodd hwn: *atoch chwi*, a, *hwnt i chwi!*

Y mae yn gysur meddwl a chofio fel yr aeth y gyfraith allan o Sïon. a gair yr Arglwydd o Jerusalem. Wele y deuddeg ychain

tàn y môr, a'u hwyneb i'r pedwar chwarter—yr aberig a gododd o dan riniog y tŷ yn chwyddo a lledu dros y gwledydd. Dyma apostolion a chanlynwyr Crist wedi eu gwisgo â nerth o'r uchelder, a gair eu Meistr yn llosgi yn eu calon fel tân. Yr oedd "Ewch i'r holl fyd" wedi ei gau o fewn eu hesgyrn. Troisant allan, gan waeddi, "Atoch chwi, a hwnt i chwi!" atoch chwi yr Iuddewon yn Judea—hwnt i chwi i Samaria, a hwnt ymhell at y cenedloedd paganaidd. Yr oeddynt yn ymorchestu i bregethu Crist lle nas enwid ef; meddiannent y byd yn enw Crist; codent fanner y groes yn nghanol ymherodraeth y diafol.

O! yr oedd ysbryd y peth byw yna yn olwynion yr efengyl. Paham yr arafodd olwyn ei cherbydau? Pa fodd yr aeth yr hon yr oedd ei henaid fel cerbydau Amminadib i yru yn hwyrdrwm fel cerbydau Pharaoh? Dymunem ddiolch i ti, Arglwydd pawb oll, am fod ysbryd bywyd wedi dyfod i'th dystion unwaith eto! Os darllenwn hanes llafur eglwys Crist yn adroddiadau y cymdeithasau Biblaidd a chenadol, ni a'i gwelwn wedi codi allan eto i ail feddiannu y byd i Grist. Mae ei mesur wedi cyrhaeddyd hyd atoch chwi, ac y mae yn gofyn help i fyned tu hwnt i chwi trwy holl gyfanneddlëoedd y ddaear. Mae yn dechreu tòri allan ar y llaw ddeheu a'r aswy, helaethu lle ei phebyll, ac estyn cortynau ei phreswylfëydd. Y diwedd fydd seinio, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef!" Diolchwch am i'w mesur gyrhaedd hyd atoch chwi, a rhowch help iddi fyned tu hwnt i chwi.

VI. Gwelwch yr hyn sydd yn anghenrheidiol er ein gwneyd yn offerynau cymhwys i ddwyn y gwaith cenadol ymlaen: ffydd, a hòno yn gynnyddol. "Pan gynnyddo eich ffydd chwi."

Pa un bynag ai y gras o ffydd yn neillduol, neu grefydd yr efengyl yn fwy cyffredin, a olygir wrth y gair *ffydd* yma, yr un peth ydyw. Nid oes dim cynnyddu mewn un ran o grefydd heb gynnyddu mewn ffydd. Os cynnydda hon, cynnydda y cwbl. Gwybyddwn nas gallwn fod yn ddefnyddiol heb fod yn dduwiol, na bod yn ddefnyddiol iawn heb fod yn dduwiol iawn. Y ffordd i gynnyddu yn y naill yw cynnyddu yn y llall. Ni bydd dyn byth ddim amgen nag offeryn; ond gan fod yr Arglwydd yn defnyddio offerynau, efe a ddefnyddia rai cymhwys; ac os yw am i ddyn

wneyd gwaith mawr, fe rydd i'r cyfryw ras mawr. Pa fath oedd cymeriad yr offerynau yn nhymmor llwyddiannus yr oes apostolaidd? Yr oeddynt yn rhai a barhäent yn gyttun mewn gweddi ac ymbil—yn llawn ffydd a nerth—yn wŷr da, ac yn llawn o'r Ysbryd Glân. Pan ofynai y dysgyblion pa fodd yr oeddynt yn aflwyddo i fwrw allan yr ysbryd mud a byddar, ateb Crist ydoedd mai diffyg ympryd a gweddi oedd yr achos. Yr ydym ninnau yn methu bwrw allan y drwg-ysbryd yn ein gwlad ein hunain a'r byd. O am ympryd a gweddi! Mynai Dafydd gael tro ei hunan i'r dyben i'w gymhwyso i droi eraill. "Dyro drachefn i mi orfoledd dy iachawdwriaeth, ac â'th hael Ysbryd cynnal fi; yna y dysgaf dy ffyrdd i rai anwir, a phechaduriaid a dröir atat."

Ond pa ddylanwad a gaffai cynnydd ffydd a duwioldeb ar ein hymdrechiadau cenadol?

1. *Dygai hyn ni i ddirnad a theimlo yn deilwng yn achos cyflwr y byd.* A ddysgwyliech chwi i'r hwn na welodd ei gyflwr ei hun allu dirnad am drueni eraill, ac i'r difater am ei iachawdwriaeth ei hunan fod yn wir awyddus am achub y byd? Na, y dyn a gafodd drueni y byd yn ei gyflwr ei hun, a gwaredigaeth iddo ei hun trwy angeu Crist, yw yr hwn sydd â gwir ewyllys ei galon am iachawdwriaeth ei gyd-ddynion. Fel y mae ffydd yn cynnyddu, y mae adnabyddiaeth o ddryghaeddiant pechod, o raslonrwydd angeu'r groes, ac o brydferthwch sancteiddrwydd, yn cynnyddu. Hwn oddiar y bryniau fry sydd yn gweled y byd yn myned i uffern obry. Mae yn dirnad tlodi y byd yn ei gyfoeth ei hun—yn gweled beth yw colledigaeth yn yr iachawdwriaeth fawr. Pob golwg a gaiff efe ar gosb pechod yn mygythion y gair, efe a gofia fod y byd dan gyhoeddiad o'r felldith; pob prawf a gaiff o werth y cymmod efe a ddywed, Mae y byd heb hwn! Dyma oedd yn rhoi yr apostolion ar dân. Gwelwch eu dirnadaeth hwy am gyflwr y byd. Ioan o'i safle uchel sydd yn gwaeddi, "Y mae yr holl fyd yn gorwedd mewn drygioni!" Paul yn nglŷn gweledigaeth a dystiolaetha, "Aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymaint a phechu o bawb." Yr wyf fi yn gallu dywedyd y geiriau, ond yr oeddynt hwy yn gweled beth sydd yn hyn. Llon'd byd o ddynion mewn llid a gwrthryfel at y Duw tragywyddol—yn meddiant Satan, ac efe fel ysbryd celwyddog yn eu twyllo—trymgwsg yn eu syfrdanu, ac ysbryd coelgrefydd yn eu hynfydu—yn dysgu

a meithrin eu gilydd i'r lladdfa—dynolryw dan farn Duw, a'r ddedfryd yn cael ei gweinyddu ar filoedd bob awr—dynion dan wyntoedd barnol yn syrthio i uffern fel y dail oddiar y coed! Gelwch y byd Ichabod! mae y gogoniant wedi ymadael; gelwch ef Mara! mae ei ystâd yn chwerw iawn; gelwch ef Loammi! nid y gwir Dduw yw ei dduw, ac nid pobl Dduw yw ei drigolion; gelwch ef Bethafen! tŷ anwiredd a gofid; gelwch ef Magor-missabib! mae yn ddychryn iddo ei hun ac i bawb o'i amgylch. Hyn a barai i Dafydd waeddi, "Gwelais y troseddwyr a gresynais; afonydd o ddyfroedd a redant o'm llygaid." Dirnad cyflwr y byd a gynhyrfai ysbryd Paul, ac a barai iddo dristyd mawr, a gofid dibaid i'w galon. Golwg ar y byd yn ei amddifadrwydd a'i berygl a gyffröai ymysgaroedd Mab Duw, ac a wnai iddo ef wylo. O rhodder i ninnau ddirnadaeth ddyfnach a chliriach am ystâd y byd heb bregethwr i gyhoeddi gair y ffydd! Y mae mewn cynnydd crefydd bersonol weled mwy o ddrwg pechod, ac o ogoniant trefn achub trwy Grist; ac y mae hyny yn sicr o ennyn a chryfhâu ysbryd cenadol.

2. *Cynnydd ffydd yn yr efengyl a bair i'w holl gymhelliadau nerthol weithio yn ein heneidiau nes ein gwneyd yn fyw ac ymroddgar i'w hachos.* Crëadur llwfr a diymadferth yw dyn ond fel y byddo rhywbeth yn ei gymhell. Ac ewch â hunan-gyfiawnder, hunan-glod, a hunan-leshâd ymaith, ac fe fydd y dyn anianol wedi colli holl gymhellion ei weithrediadau. Bydd yn llai ei lafur, ei weddïau, a'i roddion nag o'r blaen, oblegid na bydd ganddo bellach ddim i'w gymhell. Ond y mae ffydd yn gweled yr anweledig; hi a sugna ei hannogaethau o'r byd anweledig. Mae ei mawr nerth hi yn rhyw le nas gŵyr y Philistiaid. Y mae ganddi fwyd i'w fwyta nad ŵyr y byd ddim am dano. Daw ffydd â'r enaid i olwg Mab Duw ar ei orsedd, a gwna ei awdurdod yn deimladol yn y gydwybod. Ewch! medd Brenin Sïon wrth ei weision; a'r rhai hyn a ânt dan waeddi yn wyneb awdurdodau'r byd, "Ai cyfiawn yw ger bron Duw wrando arnoch chwi yn hytrach nag ar Dduw? Nid allwn ni na ddywedom y pethau a welsom ac a glywsom. Anghenrhaid a osodwyd arnom, a gwae fydd i ni oni phregethwn yr efengyl." Ië, ond "oni orchymynasom ni, gan orchymyn i chwi, na athrawiaethech yn yr enw hwn?" Do! ond "rhaid yw ufuddhâu i Dduw yn fwy nag i ddynion." Gwêl

ffydd y Barnwr yn dyfod gyda'r cymylau; a gwybod ofn yr Arglwydd sydd yn peri perswadio dynion. Gan weled y byd yn myned o flaen yr "Ewch oddiwrthyf!" i'r tân tragywyddol, pwy nis rhybuddia ef? Dengys ffydd yr Iesu yn aberth ar y groes, ac a ddysg y neb a welo i deimlo, Gan ddodi o hono ef ei einioes drosom ni, ninnau a ddylem ddodi ein heinioes dros ein gilydd. Dengys hi y wobr fawr yn yr adgyfodiad, pryd y "rhaid i'r llygradwy hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb;" ac oddiar hyny appelia, "Am hyny byddwch sicr a diymmod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a chwi yn gwybod nad yw eich llafur yn ofer yn yr Arglwydd."

3. *Pair ffydd i ni fod ymhob peth yn gysegredig i Grist a'i wasanaeth.* Nid oes dim i'w gael yn y byd hwn heb aberthu rhywbeth i'w gyrhaedd. Po fwyaf a fyddo yr hyn y cyrhaeddir ato, mwyaf a gostia; a'r oll a fedr y byd wneyd yw aberthu y naill i gael y peth arall iddo ei hun. I hunan y mae yr aberth yn cael ei roddi gan y byd; ond y mae'r cristion yn aberthu ei hun a'i gwbl i Grist. Y mae deddfau ei deyrnas ef yn galw am y cwbl oddiwrthym. Yr hwn a fyno fyned ar ei ol, rhaid iddo fod yn foddlawn i ymadael â thai a thiroedd, gwraig a phlant, ïe, â'i einioes ei hun hefyd. Y fynyd y mae yr enaid yn prïodi Crist trwy ffydd, mae efe yn myned rhwng ei serchiadau â'r cwbl dros byth. Po fwyaf, ynte, y cynnydda ffydd, parotaf y gwna hi yr enaid i roddi y cwbl i Grist fel y byddo efe yn galw. Aberthau drudfawr yw aberthau ffydd. Ei unig fab a offrymodd Abraham; yr oedd ei ffydd yn dangos Duw yn abl i'w gyfodi. Yr oedd y bobl nad oedd y byd yn deilwng o honynt yn myned ymlaen trwy fflangellau, rhwymau, a charchar,—yn cael eu llabyddio, eu tòri â llif, eu lladd â'r cleddyf; ffydd oedd yn dangos iddynt adgyfodiad gwell.

Dyma y gyfrinach am haelioni rhyfeddol yr eglwysi yn yr oes apostolaidd. Pan mewn mawr brofiad cystudd, a dwfn dlodi, yr amser gwaethaf, dybygid, i wneyd casgliad, yr oedd ffydd yn eu codi i agwedd ryfedd; nid yn unig yn ol eu gallu, ond uwch law eu gallu, y cyfranent hwy. Ffydd gref a'n dygai ninnau yn yr oll ag ydym, yr oll a allwn, a'r oll a feddwn, at draed y groes, gan ddywedyd, Dyma fy oll, Iesu mawr; trefna fi fel y gwelych yn dda! Er maint a roddasom ni yn yr oes hon, nid ydym wedi aberthu

ond ychydig. A ddarfu i ti erioed, fy nghyfaill, ddyoddef mewn dilledyn am dy gefn, mewn dodrefnyn yn dy dŷ, mewn saig ar dy fwrdd, er mwyn ymhelaethu mewn haelioni cristionogol? Nid yn unig ni ddyoddefodd natur nemawr neu ddim, ond ni ddyoddefodd blys a chwantau ychwaith. Arglwydd, ychwanega ein ffydd!

4. *Gwna ffydd yr enaid yn gadarn a gwrol dros Dduw yn wyneb pob anhawsderau.* Mae ffydd yn dwyn sicrwydd am fuddugoliaeth achos Crist yr ochr yma, a dedwyddwch yr enaid yr ochr draw; a'i enaid ei hun ac achos ei Dduw,—dyna y pethau agosaf at feddwl y duwiol. Mae ffydd yn abl i'w wneyd ef yn y dyfnder yn dawel am y ddau: ni syrth yr achos yma, ac ni syrth yr enaid draw. Am hyny nid oes arno ofn gwaethaf y byd—lladd y corff yw eithaf y byd; ac y mae ffydd yn gwneyd ei pherchen yn barod i farw. Pob peth a fedr y byd ei gymeryd, y mae efe mor barod i'w roddi ag yw'r byd i'w ddwyn ymaith, pan yn edrych ar y pethau gwell. "Cymerasoch eich yspeilio am y pethau oedd genych yn llawen, gan wybod fod genych i chwi eich hunain olud gwell yn y nefoedd, ac un parhäus."

Sicrhâ ffydd fuddugoliaeth yr achos goreu pan yn ymddangos yn ymyl dinystr. Dengys fwy o'i blaid nag sydd yn ei erbyn. Cenfydd addewidion yr Hollalluog, Duw y gwirionedd, am ei lwydd; ac am hyny hi a ymwrola yn yr Arglwydd. Meddylier am hen orchestion ffydd. Beth a wêl cnawd? Brenin mewn cynddaredd. Beth a wêl ffydd? Yr Anweledig; ac am hyny nid ofna. O flaen ffydd, y mae môr a'i ymchwydd yn myned yn dir sych, a chaerau cedyrn yn syrthio o honynt eu hunain. A fedrwch chwi gredu yr ä y byd gyda'r llun sydd arno byth yn eiddo i Fab Duw? Rhowch dro o amgylch y dyffryn: dacw yr Iuddew â'r mwgwd ar ei lygaid, ac â'i galon anghrediniol yn galetach na'r adamant—dyna Ewrop â'r llyffaint Pabaidd am sicrhâu eu crafangau ynddi o newydd—Twrci yn ngafaelion y gau-brophwyd—a Phaganiaeth yn dal ei miliynau. Rhywbeth fel cyrn hyrddod, gellid meddwl, yw llyfr a chenadwr i wynebu ymherodraeth Satan sydd wedi llunio y gwledydd o bwrpas i gau Crist a'i achos o'u cyffiniau. Llawer o wrthdröadau, fe ddichon, a welwch chwi eto. Bydd Pharaoh, ysgatfydd, yn deffro i ddyblu'r tasgau—Canaan yn cynhyrfu nes i Israel ffoi o flaen Ai—arch Duw yn myned i dir y

Philistiaid—y ddraig, y bwystfil, a'r gau-brophwyd, y byd, mewn cynghrair yn erbyn Sïon, gan floeddio, Cymerwn gyfanneddau Duw; na chofier enw Israel mwyach. Ond rhyfeled y rhai hyn â'r Oen, ffydd a wêl yr Oen wedi ennill y dydd. Hi a wêl yr angel yn ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo, ac angel arall yn dilyn gan ddywedyd, Syrthiodd, syrthiodd Babilon y ddinas fawr! Hi a wêl y bwystfil a'r gau-brophwyd wedi eu dal, a Satan wedi ei rwymo, ac a glyw y fanllef fawr, Haleluia! daeth iachawdwriaeth a nerth a theyrnas ein Duw ni, a gallu ei Grist ef!—dim bwystfil mwy—dim tywyllu'r nefoedd—dim gwenwyno'r dyfroedd—dim llyffaint—yr un locust yn yr holl wlad—dim melldith na phoen mwyach. Ewch i dŷrau Sïon; mae yspail yr hen elynion o'u mewn, anrheithiau Pharaoh a Babilon, yn sicrhâd y daw ar fyrder atynt Coran Mahomet a choronau y Pab; a'n Harglwydd ni yn unig a ddyrchefir y dydd hwnw.

5. *Daw ffydd â ni i weddïo am y pethau hyn.* Amser gweddïo mawr oedd amser y llwyddiant mawr gynt ar grefydd yr Iesu. Byddai ymprydiau a gweddïau yn barhäus gyda ei holl achosion. A gwnai ffydd i ninnau weddïo yn wastad ac heb ddiffygio. Gweddi y ffydd a gymer afael mewn Hollalluogrwydd, ac nis gollwng ef nes derbyn y fendith fawr—yr Ysbryd o'r uchelder, yr hyn a dry yr anialwch yn ddoldir.

A raid i mi ddywedyd mai rhagrith a gwrthuni yw i neb gymeryd arnynt anfon gair yr iachawdwriaeth i eraill, ac esgeuluso yr iachawdwriaeth gymaint eu hunain? Aruthr fyddai gweled Satan yn myned i fwrw allan Satan. Ar wreiddyn a boncyff crefydd bersonol y tŷf gwir zêl genadol. Nes i bechadur roddi ei hunan i Dduw yn ffydd Crist, ni dderbyn y nefoedd ddim offrwm o'i law. A'r ffydd, trwy yr hon y bydd yr enaid yn gadwedig ei hun, a weithia ynddo trwy gariad mewn awyddfryd ac ymdrech am i bawb eraill fod yn gadwedig.

# PREGETH XI.

## CYDGYNNULLIAD Y SAINT.

HEBREAID x. 25: "Heb esgeuluso eich cydgynnulliad eich hunain, megys y mae arfer rhai, ond annog bawb ein gilydd, a hyny yn fwy o gymaint â'ch bod yn gweled y dydd yn nesâu."

MAE yr apostol yn yr adnodau blaenorol yn dangos effeithiolrwydd aberth y Gwaredwr i iachawdwriaeth yr eglwys, ac ar y sail hòno yn cymhell Cristionogion i sefydlogrwydd yn eu proffes o hono. Mae y testun yn cynnwys dyledswydd gyffredinol, ffyddlondeb i'r hon sydd yn anghenrheidiol i iawn gyflawniad dyledswyddau eraill y gyffes ag yr ydym i'w dal yn ddisigl. Mae cydgynnulliad y saint ynddo ei hun yn myned ymhell i gyfansoddi y gyffes hòno; ac ynglŷn â hyn y mae eu dyledswyddau eraill i'w cyflawni.

Edrychwn, gan hyny, ar y cydgynnulliad hwn, ac ar y rhybudd rhag ei esgeuluso.

I. NATUR YR ANNOGAETH: "Eich cydgynnulliad eich hunain"—"Heb esgeuluso eich cydgynnulliad," sef, heb adael heibio eich hymgynnulliad ynghyd i addoli yr Arglwydd. Mae Duw o'r dechreu wedi gwneyd ei bobl yn eglwys, ac wedi ordeinio iddynt yn eu hystâd eglwysig ymgynnull ynghyd i'w wasanaethu yn gyhoeddus.

1. *Mae undeb a chydymgynnulliad y saint yn osodiad Dwyfol, sydd wedi bod ac yn parhâu o dan bob goruchwyliaeth.*

Yn deuluaidd, mae yn wir, yr oedd yr Arglwydd yn cael ei addoli yn y dechreu. Y gymdeithas eglwysig gyntaf a mwyaf

naturiol a sefydlodd Duw yw yr un deuluaidd. Mae ei gyfammodau â dynion yn rhedeg yn y ffordd hon o'r cynfyd, megys y gwelir yn Adda, Noah, ac Abraham. Ac er ei fod yn gwneyd ei bobl yn eglwysi, nid yw efe byth yn meddwl gadael y gymdeithas deuluaidd. Yn hâd Abraham yr oedd efe yn addaw bendithio tylwythau y cenedloedd a holl deuluoedd y ddaear. Ac am yr oes apostolaidd, yr ydym yn darllen am yr eglwys yn y tŷ. Eto y mae yr Arglwydd "yn caru pyrth Sïon yn fwy na holl breswylfëydd Jacob." Ac hyd yn nôd yn nyddiau y patrïarchiaid, er nad oedd ganddynt un lle cyfarfod nac urdd neillduol o ddynion i'w gwasanaethu, eto fe ellid meddwl y byddid ar ryw achlysuron yn cydymgynnull. Yr oedd Cain ac Abel, "wedi talm o ddyddiau," yn dyfod i offrymu ger bron yr Arglwydd, ac felly yn cydgyfarfod yn nhŷ eu tad neu rywle i addoli Duw; ac effeithiau yr ymweliad grasol oddiwrth Dduw ar ol genedigaeth Enos, oedd i bobl yr Arglwydd ddechreu ymgynnull at eu gilydd i "alw ar enw yr Arglwydd"—i gydweddïo, a hyny yn fwy cyhoeddus.

Pa fodd bynag, os ffurf deuluaidd oedd ar grefydd o'r blaen, o dan Sinai dygwyd yr holl deuluoedd ynghyd i gyfammod â Duw ac i ystâd eglwysig. Neillduwyd dynion i wahanol swyddau, a sefydlwyd yr addoliad cyhoeddus yn mhabell y cyfarfod. Gyda golwg ar yr Israeliaid yn Nghanaan, yr oedd yr Arglwydd yn addaw nodi man i ymgynnull, i ymarfer yr addoliad yr oedd efe wedi ei osod i fyny yn eu plith. Gwaherddid hwy yn gaeth i addoli wrth eu mympwy eu hunain o ran *lle* yn gystal ag o ran *defodau* y gwasanaeth. Yr oedd man penodol lle yr oedd yn rhaid addoli. "Pan eloch dros yr Iorddonen, yna y bydd lle wedi i'r Arglwydd eich Duw ei ddewis iddo, i beri i'w enw aros ynddo; yno y dygwch yr hyn oll yr wyf yn ei orchymyn i chwi. Ei drigfa ef a geisiwch, ac yno y deuwch."

Felly y caed Siloh, ac wedi hyny Jerusalem, dinas eu cyfarfod; yno yr esgynai y llwythau, "llwythau yr Arglwydd, yn dystiolaeth i Israel, i foliannu enw yr Arglwydd."

Er nad oes dan yr efengyl un lle cysegredig felly, eto y mae Crist wedi dwyn ei bobl i ystâd eglwysig, ac ordeinio iddynt ymgynnull i ymarfer â'i hordinhadau. "Lle y mae dau neu dri wedi ymgynnull yn fy enw i," medd Mab Duw, "yno yr ydwyf yn eu canol hwynt." Ynddo ef y gwreiddiodd y cyfryw gynnulliadau

yn nyddiau ei gnawd; ac yr ydym yn ei gael drachefn a thrachefn yn cyfarfod â'i bobl ynddynt wedi cyfodi o feirw. Os darllenwn lyfr Actau yr Apostolion, mae yn hawdd canfod fod y dysgyblion yn arfer ymgynnull i addoli yn ol trefn y testament newydd. Ac yr oeddynt yn gwneuthur hyny, nid yn unig yn y deml a synagogau yr Iuddewon, ac yn nhai eu gilydd, ond yr oedd ganddynt leoedd wedi eu neillduo o bwrpas i ymgynnull er ymarfer â'r addoliad efengylaidd. Dyna oruwch-ystafell yn Jerusalem, llofft yn Troas, a Phaul yn ei dŷ ardrethol ei hun yn Rhufain. I'r cyfryw leoedd yr ymgynnullent yn gyson ar y sabbath, ac yn achlysurol fel y byddai yr achos yn gofyn, i bregethu y gair, i gydweddïo, i weinyddu y sacramentau, ac i dderbyn i mewn i'w cymundeb, a bwrw allan o hono. Yma y byddent yn penderfynu eu dadleuon, ac yn annog eu gilydd i gariad a gweithredoedd da. Ac i ddangos ei foddlonrwydd i waith yr eglwys yn ymgynnull pan ynghyd, mae yr Ysbryd yn cael ei dywallt arnynt ar ddydd y Pentecost, ac yn nhŷ Cornelius. Tro hynod oedd hwnw yn Jerusalem a nodir: "Wedi iddynt weddïo, siglwyd y lle yr oeddynt wedi ymgynnull ynddo, a hwy a lanwyd oll o'r Ysbryd Glân." Nid gosodiad dynol, ac nid dim sectaidd, yw y cydgynnulliad, ond gosodiad Duw.

2. *Yn y sefydliad hwn, gallwn weled doethineb Duw yn cyfaddasu moddion adferiad dyn at dueddiadau ei natur fel crëadur.*

Y mae dyn yn grëadur cymdeithasgar; ac wedi i'r duedd hon gael ei hadnewyddu drwy ras, mae yn naturiol iddo ymuno â'i gyffelyb ac ymofyn cymdeithas eraill gyda phethau Duw. Ac felly, er mai Crist, fel y sylwyd, ydyw awdwr y cynnulliadau eglwysig, eto nid ydym yn darllen iddo eu sefydlu yn bendant fel y sefydlodd efe fedydd a swper yr Arglwydd. Gwyddai fod yr efengyl yn cynnwys elfenau y cymundeb, ac y byddai naturiaeth ei hun yn eu dysgu am hyn wedi ei sancteiddio trwy yr efengyl. Y mae efe, gan hyny, yn eu sefydlu yn hytrach trwy eu cymeradwyo fel yr hyn oedd yn hanfodi wrth gwrs, a thrwy addaw fod gyda'i bobl yn eu cynnulliadau. Mae y natur ddynol yn sychedu am uwch undeb a chymdeithas na'r hyn a geir ar dir natur. Y mae undeb gwladol a dinesig yn cynnwys ynddo ysgariaeth yn gystal ag undeb; ac y mae Paganiaid wedi bod yn dyheu am weled y byd wedi ei godi goruwch terfynau gwahanol deyrnasoedd a

threfi, a chael ei wneuthur yn un teulu, a'i lywodraethu wrth yr un ddeddf. Mae Mab Duw wedi dyfod i sylweddoli yr *idea* hon; ac ni orphwys efe nes gwneyd y byd yn un ynddo ei hunan ac yn Nuw. Efe a fu farw i'n cymmodi â Duw ac â'n gilydd ynddo. Y mae yn ein crëu ynddo ei hun yn un dyn newydd yn ol dyheuad ein natur; ac wedi hyny mae'n rhoi *scope* i dueddiadau cymdeithasgar ein natur trwy ein hundeb a'n cynnulliadau eglwysig, lle y mae i ni gyda'n gilydd ddyfodfa mewn un Ysbryd at y Tad.

Y mae yn hyn yn gyffelyb âg mewn prïodas. Tuedd gref ymhob crëadur yw y duedd hanfodol i barhâd y rhywogaeth; ac ynddi ei hun, tuedd ydyw sydd am wneyd dyn yn gydwastad â'r anifail. Ond wedi i'r Crëawdwr impio prïodas arni, y mae efe wedi ei throi yn foddion mwyaf effeithiol tu yma i ras i buro y serchiadau, i urddasu y cymeriad, ac i gynnyrchu y dyledswyddau tyneraf a phwysicaf. Yr un modd, y mae tueddiadau cymdeithasgar o dan y cwymp wedi eu troi yn fwy na dim arall i lygru a dinystrio plant dynion. Cyfeillach yw eu prif fagl; y benaf o holl ordinhadau Satan i'w dyfetha. Ond mae Crist yn ordinhadau a chynnulliadau ei bobl yn troi cyfeillach y saint yn llês iddynt eu hunain ac i'w gilydd. Nid yw y saint ar y ddaear yn cael un lle mor debyg i'r nef mewn purdeb a mwyniant â'u cydgynnulliad crefyddol, lle y maent yn cydgaru, yn cydgredu, yn cydalaru, yn cydlawenhâu, yn cydweddïo a chydganu mawl, yn cydgofio angeu y groes, yn cydymddyddan am Grist, ac yn mwynhâu eu gilydd yn yr Arglwydd.

3. *Trwy eu hundeb eglwysig â'u cydgynnulliadau, y mae'r saint yn cael eu gwneuthur i fod o leshâd ac adeiladaeth i'w gilydd.*

Y mae pobl Dduw yn amrywiol eu talentau; ac yn y cynnulleidfäoedd maent yn cael eu dwyn i amgylchiad i ymarfer y talentau hyny er llês eu gilydd. Pa ddefnydd a fyddai aelodau y corff ar wahân? ond yn eu hundeb bywiol â'u gilydd, y maent yn wasanaethgar iawn. Mae yr un corff yn clywed drwy y glust, yn gweled drwy y llygad, ac yn gweithio drwy y dwylaw; ac felly aelodau corff Crist, y maent wedi eu cydgynnull a'u cymhwys gydgysylltu yn gymmalau cysylltiadau, neu ranau, yn dwyn cynnaliaeth o'r pen i'r corff. Y maent yn llefaru y gwirionedd mewn cariad wrth eu gilydd; yn addysgu, yn ceryddu, yn dyddanu, a'r cyfan mewn cariad, yn eu cynnulliadau. Yma y mae'r galon i

gydymdeimlo, y llygad i edrych na bo neb yn pallu oddiwrth ras Duw, a'r tafod dysgedig i rybuddio yr afreolus, ac i ddyddanu y gwan eu meddwl, a'r oll er adeiladaeth y corff. Ac wrth ddyfrhâu, mae y cristion yn cael ei ddyfrhâu ei hunan. Mae ei fyfyrdodau yn tanio wrth eu rhoi allan mewn geiriau, ac yn tanio mynwesau eraill wrth eu gwrando, a hyny drachefn yn peri iddynt ddychwelyd yn ol yn fwy grymus ato ef ei hun. Mae ei ddodiad diolch ef yn dyfod yn ol gyda llôg trwy amen y gynnulleidfa, a'r defosiwn sydd yn llais ac wyneb yr hwn sydd yn cyflawni lle yr anghyfarwydd ar y fainc draw yn adeiladu y pregethwr, tra y mae'r pregethwr yn ei adeiladu yntau.

Mae Paul yn dangos fel y mae pethau i fod yn nghymdeithas y saint: "Yr wyf yn hiraethu am eich gweled, fel y gallwyf gyfranu i chwi ryw ddawn ysbrydol fel eich cadarnhäer; a hyny sydd i'm cydymgysuro ynoch chwi trwy ffydd ein gilydd, yr eiddoch chwi a'r eiddof finnau." Fel hyn y maent yn cyfranu ac yn derbyn yr un amser; y gwanaf yn lleshâu y cryfaf, a phawb yn ymgysuro ynghyd. Mae eu gofid yn myned yn llai, a'u llawenydd yn myned yn fwy, wrth eu hadrodd i'w gilydd. Yn debyg i'r dysgyblion ar adgyfodiad Crist: yr oeddynt ar y dechreu yn wasgaredig oddiwrth eu gilydd, a Christ yn ymddangos i'r naill ar ol y llall. Erbyn cydymgynnull, yr oedd gan bawb ei lawen chwedl. "Yr Arglwydd a gyfododd yn wir, ac a ymddangosodd i Simon," medd rhai. Gwelsom ninnau ef rhwng yma a'r bedd, medd y gwragedd. Gwelsom ninnau ef ar y ffordd, ebe y ddau a aethant tuag Emmaus. Ac yn y man, dyma yr Iesu ei hun yn y canol, yn cyhoeddi tangnefedd. Mae y saint eto yn cael Duw ar wahân yn nhrafferthion bywyd; ac erbyn dyfod i'r cynnulliad, gall pob un ddyweyd beth a wnaeth efe i'w henaid. Gwelais ef mewn dyledswydd, medd un; cefais innau ef tan y groes, ebe y llall; ac arall a ddywed iddo ei gael ef yn annysgwyliadwy megys ar y ffordd, a phrofi ei ras maddeuol, rhinweddau ei waed, a chynnaliaeth ac adnewyddiad ei Ysbryd. A mynych yr ymwelodd ef ei hun â hwy mewn cyfarfodydd o'r fath. Ac os yw y frawdoliaeth yn anmherffaith, mae hyny yn achlysur i ymarfer eu grasau—grasusau sydd neillduol o hawddgar: maddeu i'w gilydd, cydddwyn â'u gilydd, parchu eu gilydd, bod yn ymarhöus wrth eu gilydd, ac ymddarostwng i'w gilydd yn ofn Duw.

4. *Trwy gydgynnulliad i'r un lle i ymarfer âg ordinhadau y gair, mae yr eglwys yn gwneyd proffes gyhoeddus o Grist ger bron y byd.*

Gwir yw fod cristion wrtho ei hun i arddel Crist, i'w gyffesu â'r genau, ac i ddwyn nodau Crist mor amlwg mewn tymher a bywyd âg a fyddo yn profi i bawb ei fod yn perthyn iddo. Eto, yn yr ymarferiad cyhoeddus â'i ordinhadau, trwy ymgynnull at eu gilydd i wrando ei air, i gydweddïo, cydganu ei fawl, a chyd-ddangos ei farwolaeth, y mae cristionogion yn arbenigol yn proffesu eu darostyngiad i Grist. Maent yma yn proffesu Bôd Duw yn wyneb y byd sydd yn ei wadu ac yn ei anghofio, ac yn cydnabod mai un Duw sydd yn erbyn aml-dduwiaeth ac eilunaddoliaeth y byd. Ac wrth addoli y Duw yma yn ordinhadau yr efengyl, y maent yn proffesu Crist fel Arglwydd yr eglwys a'i holl wasanaeth, ac mai yr amlygiadau o Dduw ynddo ef yw gwreiddyn crefydd pechadur, testun a chymhelliad ei holl fawl. Nid Duw fel Crëawdwr a Chynnaliwr yn unig maent yn gydnabod, ond Duw yn Nghrist: Duw ynddo ef yn cymmodi'r byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau, ac yn gwneuthur pechaduriaid ynddo yn gyfiawnder Duw.

Y mae gwneyd y broffes hon o fawr bwys. Os yw ffydd y cristion mewn rhyw bethau bychain i fod gydag ef ei hun ger bron Duw, mae ei ffydd yn Nghrist i'w phroffesu ger bron Duw a dynion. Mae'r saint drwy'r oesoedd yn ffyddlawn yn hyn. "Glynwn yn ein proffes. Daliwn gyffes ein gobaith yn ddisigl. Os gwadwn ef, yntau hefyd a'n gwâd ninnau." Ac felly y maent hwy drwy enllib, gwawd, colli meddiannau, ïe, a bywydau, yn para i ymgynnull ynghyd. Ac o'r ochr arall, eu cynnulliadau sydd yn terfysgu y byd. Y tystion trwy eu tystiolaeth sydd yn poeni y rhai sydd yn trigo ar y ddaear. Ac am hyny mae tai cyfarfod y saint yn wrthddrychau dygasedd y gelynion. "Bwriasant dy gysegroedd yn tân; hyd lawr yr halogasant breswylfa dy enw. Dywedasant yn eu calonau, Cydanrheithiwn hwynt; llosgasant holl synagogau Duw yn y tir." O'r dydd yr ymgynnullai y dysgyblion â'r drysau yn gauad hyd heddyw ar gyfandir Ewrop, mae cynnulleidfa y saint yn blino y byd!

Yr ydym yn cael fod Crist a'i bobl, hwythau, yn hoffi hyd yn nôd y tai lle maent yn cymdeithasu â'u gilydd. Dyma'r lle y mae

efe yn cael ei gydnabod yn gyhoeddus ganddynt hwy, a hwythau yn cael eu cydnabod ganddo yntau; eu gwasanaeth yn cael ei dderbyn, a'u heneidiau yn cael prawf y bydd iddo eu cyffesu ger bron ei Dad yn y nefoedd.

II. Y DDYLEDSWYDD TUAG AT Y CYNNULLIADAU HYN: eu dal i fyny yn ddiesgeulus. "Heb esgeuluso ein cydgynnulliad ein hunain, megys y mae arfer rhai, ond annog bawb ein gilydd."

I'r dyben o gydymffurfio â'r rhybudd a'r cynghor hwn,

1. *Ymdrechwn i gadw teimlad o awdurdod Crist ar ein cydwybodau yn holl osodiadau ei dŷ.*

Tuag at hyn, dylem wybod pwy yw efe a osododd, a pha beth a osodwyd ganddo. Am yr olaf yr ydym yn casglu oddiwrth ei esiampl a'i leferydd ef a'i apostolion, ynghydag ymarferiad yr eglwys o'r dechreuad, fod cydymgynnull i'w addoli yn osodiad Crist i'w bobl. Ond pwy yw efe sydd fel hyn yn hòni awdurdod ar fy nghydwybod, ac yn galw arnaf, hwyrach, yn groes i ewyllys penaethiaid a deddfau breninoedd, ac i beryglu fy mywyd, yn hytrach na pheidio ymostwng iddo ef mewn gosodiadau pendant a defodol? Pwy yw efe sydd yn arddodi arnom, "Os daw neb ataf fi, ac ni chasäo ei dad a'i fam, a'i wraig a'i blant, a'i frodyr a'i chwïorydd, ïe, a'i einioes ei hun hefyd, nid all efe fod yn ddysgybl mi; a phwy bynag ni ddygo ei groes, a dyfod ar fy ol i, nid all efe fod yn ddysgybl i mi:"—pwy yw efe sydd yn gwasgu mor llym arnom? Pwy yw efe sydd yn gosod arnaf i ymwrthod â phob esmwythyd a mwyniant, nid yn hytrach na throseddu deddf fy natur, ond yn hytrach nag esgeuluso y *conventicle* diystyrllyd? Pwy yw efe sydd yn ein galw i fyned o'r tu allan i wersyll mawredd y byd, ac ymgynnull gyda thrueiniaid ei bobl ef mewn lloft yn Troas, neu mewn ysgol yn Ephesus, neu, o bosibl, yn nhŷ ardrethol carcharor tlawd, a'i gadwen am ei glun, yn Rhufain orwech a balch? Digon yw dywedyd, Duw yw efe. Mae ei awdurdod ef ymhob rhandir o'r grëadigaeth yn anghenrheidiol a hollol. Nid oes bosibl i'w awdurdod ddarfod ond drwy i'r cyfan a wnaeth efe, ac sydd yn cydsefyll ynddo, syrthio i ddiflaniad. Os wyt ti, fy enaid, yn cydnabod awdurdod Duw, plyga i Grist yn ngosodiadau ei dŷ. Ac am ei awdurdod fel Cyfryngwr, drachefn, mae yn gyflawn a goruchel. Beth oedd gymhwysach na gwneyd y Mab yn etifedd pob peth—nag i'r Hwn a wnaeth y cyfan, gael

mewn natur ac o dan gymeriad arall, arglwyddiaeth ar y cyfan? Yn enwedig, beth sydd weddeiddiach nag i'r Hwn sydd yn achos o fôd yr eglwys, ac a'i sylfaenodd drwy ei waed, reoli pob gosodiad ynglŷn â hi? Beth sydd gyfiawnach nag i'r Hwn a'th gododd trwy ei angeu i gyflwr addoli, ac a adferodd i ti ysbryd addoli, dderbyn dy ymostyngiad llwyr gyda golwg ar drefn yr addoliad hwnw?

Mae y Tad yn cydnabod cyfiawnder ei hawl. Ar ei waith yn adgyfodi o'r bedd, derbyniwyd ef i ddeheulaw y Mawredd, er mwyn ei ddangos a'i gadarnhâu yn ei awdurdod ar bob peth. Mae yn Arglwydd y grëadigaeth, a'r cyfan wedi eu crynhoi ynddo ef o dan un Pen a llywodraeth. Ewch i uffern: mae ei hagoriadau wrth ei wregys. Dowch i'r ddaear: mae'r Cynfab goruwch ei breninoedd hi. Ewch i'r nef: mae yr angelion a'r tywysogaethau wedi eu darostwng iddo. Yn yr eglwys, drachefn, tra nad oedd Moses ei hun ond gwas yn y tŷ, y mae Crist yn Fab ar ei dŷ ei hun. Efe yw adeiladydd pob peth, sef yr holl eglwys drwy yr oesoedd. Efe a'i sylfaenodd yn Eden, ac efe oedd Awdwr ei threfn a'i gwasanaeth o dan Sinai. Ac efe a gyfnewidiodd ei holl arddull o dan y testament newydd; tynodd ymaith y cyntaf fel y gosodai yr ail. Y mae efe wedi cadarnhâu y cyfammod newydd, trwy ei waed, a dwyn ei ordinhadau a'i sacramentau prïodol ei hun i'r eglwys, i fod yn unig reol ei haddoliad hyd ddiwedd y byd. Y mae yn Arglwydd ar y sabbath, ac y mae yn fwy na'r deml. Ac wedi i'r Iuddewon trwy eu hanghrediniaeth ddwyn dinystr ar y deml, yr oedd ganddo ef allu a hawl i'w chyfodi drachefn yn ehangach ei therfynau, yn fwy ysbrydol a gogoneddus ei gwasanaeth, ac ar gadarnach sail na mynyddoedd Sïon. Dyma y Gŵr sydd yn galw, "Dysgwch gadw pob peth a orchymynais i chwi." Y mynyd y dygwyd Paul i adnabyddiaeth gadwedigol o Grist, gweithiwyd ynddo y teimlad dyfnaf o'i fawrhydi. Gwaeddai, "Arglwydd, beth a fyni di i mi wneuthur?" Ai nid ydych yn gweled mai nid ordinhadau i'w diystyru ydyw ordinhadau y fath un? Nid awdurdod yw yr eiddo ef i gellwair â hi yn y peth lleiaf o osodiadau ei dŷ. Pe byddem yn fwy tyner ein calon, byddem yn fwy cydwybodol gyda golwg ar amser, a mater, a dull, ac ysbryd ei wasanaeth.

Ac am nad ydym wrth natur yn rhwym i ymarferiadau fel hyn,

dylem fod yn fwy gofalus am ddwyn ein hunain dan rwymau i'w cyflawni trwy fynych adnewyddu ein cyfammod â Duw. Am orchymynion moesol, mae i'r rhai hyny ryw adlais yn y gydwybod dywyllaf. Ië, ar wahân oddiwrth yr ystyriaeth o awdurdod Duw, nid oes dim posibl eu troseddu na bydd rheswm a chydwybod yn cythryblu ac yn collfarnu; y mae yn eu natur hwy rywbeth sydd yn awdurdodi ufudd-dod oddiwrth natur dyn. Ond nid felly am ordinhadau y gair: nid yw eu da na'u drwg ynddynt eu hunain ddim mor eglur i'r gydwybod; nid oes un rheswm dros eu hymarfer ond fod Duw wedi eu gosod hwy. Hyn sydd yn peri fod dynion yn teimlo llai o rwymau i'w hymarfer, a llai o och o'u hesgeuluso. Beth pe buasech chwi wedi cellwair cymaint â'r chweched, y seithfed, neu yr wythfed gorchymyn o'r ddeddf foesol, ag a wnaethoch âg ordinhadau y gair? beth a fuasai syniad dynion am danoch? Eto yr Hwn a ddywedodd, "Na ladd, na wna odineb, na ladrata," a ddywedodd hefyd, "Heb esgeuluso eich cydgynnulliad eich hunain—cesglwch fy saint ynghyd."

I'r dyben i gadw ei awdurdod yn hyn yn fyw ar ein cydwybod, adnewyddwn yn y modd mwyaf difrifol ein cyfammod â Duw. Rho dy hun, fy enaid, i fyny i'w drugaredd yn addewidion ei gyfammod, ac i'w awdurdod yn ei orchymynion a'i osodiadau. Dywed, Mi a wrandawaf ac a wnâf yr hyn oll a orchymynodd yr Arglwydd. Cyfod oddiar dy liniau gan ddyweyd wrth bob temtasiwn, "Agorais fy ngenau wrth yr Arglwydd, ac ni allaf gilio." Er fy mod yn poeni hyd fy oes yn yr ordinhadau heb ddal nemawr, ar dy air di, Arglwydd, mi a af eto. Parai hyn fwy o gydwybodolrwydd i'n "cydgynnulliad ein hunain" fel enwad. Tra byddo gwahaniaeth i'w ddal i fyny, fe ddylai fod cydwybod iddo. Balchder, cydymffurfiad â'r byd, tramgwydd, a bair i lawer newid un dosbarth o gristionogion am ddosbarth arall, lle yr oedd gwahaniaeth a deimlid gan gydwybod pobl oleuedig a difrifol.

2. *Llafuriwn am brofiad o gymundeb â Duw yn y cynnulliadau eglwysig.*

Yma y mae Crist yn pregethu cyfiawnder, yn traethu ffyddlondeb, trugaredd, gwirionedd, ac iachawdwriaeth Duw yn y gynnulleidfa lïosog; yn nghanol yr eglwys y mae efe yn mynegu enw Duw i'w frodyr, nes peri iddynt addoli a gogoneddu Duw. Os corff yw yr eglwys, yr ordinhadau yw cymmalau ei chynnaliaeth.

Os babanod yw y saint, dyma fronau eu dyddanwch. Os defaid ydynt, dyma y porfëydd gwelltog; a thra y cânt flewyn yma, hwy a gyrchant i'w porfëydd er holl lyffetheiriau awdurdodau y byd. Parai hyn i Dafydd hiraethu am dŷ yr Arglwydd. "Aethum gyda'r gynnulleidfa, cerddwn gyda hwynt i dŷ Dduw, mewn sain cân a moliant, fel tyrfa yn cadw gwyl." A ydyw yn ddrwg genyt golli hyny? Ydyw, y mae cofio hyny yn peri i'm henaid ymdywallt mewn gofid (Psalm xlii. 4). Yr oedd Dafydd yn gweled ffynnon y bywyd gyda Duw, a hyny, yn ngoleuni y gair ac ordinhadau y tŷ, yn dyfod yn afonydd o hyfrydwch i'w enaid, nes yr oedd yn teimlo ynddo lawn ddigon am byth (Psalm xxxvi. 8, 9). Y profiad hwn sydd yn peri yr holl serch i'r cydgynnulliad. Nid yw brasder daear, ŵyn, na gwenith, i'w gymharu â brasder y tŷ; a'r neb a fwynhäo gynnulliadau Sïon fel hyn, nis gall efe syrthio i'w hesgeuluso.

3. *Cofier fod esgeuluso y cydgynnulliadau, oddiar golli blâs arnynt a gofal cydwybodol am ymarfer â hwy fel y mae'r rheol yn gofyn, yn arwydd fod y galon yn dechreu ymadael â Duw.*

Ystyria, O broffeswr, beth yw achos y cloffni yma, ac ymha le y mae yn debyg o ddiweddu. Beth a dy gododd di gyntaf i ddyfod allan o ganol annuwiolion, ymddidoli, ac ymuno â theulu Duw yn eu cynnulliadau? Onid teimlo rhywbeth o oleuni a nerth y gair yn dy feddwl a'th gydwybod? onid rhyw lawenydd a hyfrydwch yn yr efengyl? onid rhyw serch i ordinhadau gras? Oni buost ti weithiau yn dy fywyd yn yr un teimlad atynt â Dafydd? "Hoffais drigfan dy dŷ,—llawenychais pan ddywedent wrthyf, Awn i dŷ yr Arglwydd." Wele, paham yr wyt yn esgeuluso yn awr? Onid y teimladau hyn sydd yn diflanu yn dy fynwes? Felly y maent yn profi, pa beth bynag a fwynhëaist, na unwyd mo honot â Christ, na chefaist mo dy ail eni, na fu yna ddim cadwedigol, oblegid nad oes dim parhâd iddo. "Canys fe â'n gwnaed ni yn gyfranogion o Grist, os daliwn ddechreuad ein hyder yn sicr hyd y diwedd." Mae yn rhaid nad oedd y dechreu yn iawn a da; ac yn awr dyna yn marw yr arwyddion gobeithiol a fu, a'r diwedd yn debyg o fod yn waeth na'r dechreuad. Dyna galon ddrwg anghrediniaeth, trwy gariad at ryw bechod, neu ofalon bydol, awch i gyfoeth neu fawredd y byd, yn ymadael â'r Duw byw. Ymha le, meddi, yr ydych yn darllen fy nhynged fel yna? Yn

dy esgeulusdra o gynnulliad y saint, ac yn dy farweidd-dra pan ynddynt. Ystyria i ba le y mae yr esgeulusdra yma yn arwain. Yr adnodau nesaf ar ol y testun a ddywedant, "Canys os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach, eithr rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr." A ydyw yr esgeulusdra yn arwain hyd yna? Ydyw! dyna ben ei daith. Y mae yn arwydd o ymollyngiad meddwl a chalon â'r efengyl. A pha beth yw ymadael â'r efengyl? Ymadael â Christ, â gwaed y cyfammod, âg aberth y groes, âg Ysbryd y gras. A pha beth sydd yn aros wedi hyny? "Rhyw ddysgwyl ofnadwy."

Am y rhai sydd wedi cyrhaedd y tir hwnw, nid oes genyf fi ddim i'w ddywedyd wrthynt. Y rhai sydd wedi gweithio eu ffordd drwy oleuni ac argyhoeddiadau yr efengyl i ymwrthodiad gwirfoddol a hollol o honi, nes eu rhoddi i fyny, y mae cyflwr y cyfryw yn ddiobaith. Ond am danat ti, fy enaid, yr hwn nad yw dy adfeiliad wedi myned càn belled, y mae genyf air i'w ddyweyd wrthyt. Cymer rybudd oddiwrth y rhai hyn. Mae pob gradd mewn gwrthgiliad yn gam at y cyfryw gyflwr. Gellir gweled yn dy waith yn darfod â Duw yn y dirgel, yn dy ysgafnder, dy farweidd-dra yn y moddion cyhoeddus, dy fynych esgeulusdra o honynt, arwyddion y clefyd a fu yn angeu i lawer o grefyddwyr. Gwêl i ba le yr wyt yn myned. Sâf ar y ffyrdd, ac edrych i ba le y mae'r marweidd-dra a'r esgeulusdra yna yn arwain. Efe a ä rhagddo nes y byddo yr esgeuluswr, fel y dywed adnod ganlynol, yn mathru Mab Duw, yn barnu yn aflan waed y cyfammod, ac yn difenwi Ysbryd y gras! Mae yn dy agwedd eisoes radd o'r ysgelerderau hyn, ac fe all hyna ddiweddu mewn ymwrthodiad hollol â threfn Duw. Felly byddit wedi dy adael mewn cyflwr âg y gallai dy achubiaeth fod yn groes i natur Duw,—cyflwr nad oes yn ei drefn aberth na darpariaeth at achub neb o hono—nad oes yn y Bibl air o rybudd nac addewid i neb sydd ynddo, na chan eglwys Dduw foddion yn y byd i'w harfer tuag at eu hadferu. Nid yw Duw wedi ordeinio dim, gorchymyn dim, tuag at hyny, nac yn addaw cynnorthwyo a bendithio ymdrech i'w cael yn ol; nid oes yna ddim ond y dorlan ofnadwy o'u blaenau (Heb. x. 27—31). Gellir yn sicr obeithio nad oes neb y mae y gradd lleiaf o ofn,

tynerwch, anghymeradwyaeth i'w hagwedd adfeiliedig, a'r hiraeth lleiaf am adferiad, wedi cyrhaedd yr ystâd ofnadwy yna. Gweithiwn, ynte, tra yr ydyw yn ddydd. Wele yn awr yr amser cymeradwy.

4. *Mae galwad arnom i fwy o ysbrydolrwyad a dyfalwch gydag ordinhadau y gair, am fod lle i feddwl fod dydd eglwysi adfeiliedig yn nesâu.*

Ië, y mae genym reswm i gredu fod dydd yr adfeiliad wedi dechreu er ys llawer o flynyddau; ond gall y diwedd fod yn fwy ofnadwy, a hyny yn y blynyddoedd dyfodol hyn. Onid yw yr athronydd, y *politician*, astudiwr y prophwydoliaethau, gyda rhyw argraff ar feddyliau dynion yn gyffredinol, yn cyd-ddarogan fod *crisis* Ewrop gerllaw? Ac os oedd galwad ar yr Hebrëaid i fwy o ddyfalwch ac o ysbrydolrwydd gydag ordinhadau yr efengyl am fod dydd barnedigaeth eu gwlad a'u cenedl yn nesâu, fel y gwelir yn niwedd y testun, onid oes galwad arnom ni i ddeffro, os yw yn debyg fod Duw ar godi o'i fangre, hwyrach am y tro olaf, i ddïal gwaed ei weision ac efengyl ei Fab ar bawb sydd wedi ymlygru oddiwrtho mewn barn, addoliad, a buchedd? Pe deuai i wneyd pen ar Rufain anghristaidd yn ein dyddiau ni, ai ni chaffai efe Brotestaniaid wedi cyfranogi o'i phechodau, ac am hyny i dderbyn o'i phläau? Ai ni cheid ambell eglwys, os nid aml eglwys, yn Nghymru a chwydai Crist allan o'i enau? A gai efe mo honot ti, broffeswr, wrth dy farnu, ac arolygu dy ddull o grefydda, yn haeddu dy geryddu, os nad dy ddamnio gyda'r byd?

Os ydym yn byw yn ymyl ei ddyfodiad, mae yr holl rybuddion a ganlyn mewn *date:* "Edrychwch arnoch eich hunain, rhag i'ch calonau un amser drymhâu trwy lythineb a meddwdod, a gofalon y bywyd hwn, a dyfod y dydd hwnw arnoch yn ddisymwth; canys efe a ddaw fel magl ar warthaf pawb oll a'r sydd yn trigo ar wyneb yr holl ddaear. Gwyliwch gan hyny a gweddïwch bob amser, ar gael eich cyfrif yn deilwng i ddïanc rhag y pethau hyn oll sydd ar ddyfod, ac i sefyll ger bron Mab y dyn. Gwyliwch gan hyny, am na wyddoch pa awr y daw eich Arglwydd. Gwŷn ei fyd yr hwn sydd yn gwylio, ac yn cadw ei ddillad, fel na rodio yn noeth, ac iddynt weled ei anharddwch ef. Gan fod yn rhaid i hyn i gyd ymollwng, pa fath ryw ddynion a ddylech chwi fod mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb?" Pa fath ddynion

mewn sancteiddrwydd calon a bywyd—pa fath mewn ysbrydolrwydd yn addoliad yr efengyl? Pwy a fedr ddirnad pa fath? Ac, fe allai, broffeswr, gyda golwg ar dy deulu, neu dy iechyd, neu'th einioes di dy hunan, fod yna ryw ddydd mawr yn agosâu. Os felly, a fyddai Crist yn dy gael mewn tangnefedd? Oni ddywedai efe yn dy gydwybod fod dy ymarfer â'r Bibl, y weddi ddirgel, a'r cynnulliadau cyhoeddus, yn fylchog a marwaidd—dy weithredoedd heb fod yn gyflawn ger bron Duw? A wyt ti yn tybied fod y gras sydd yn rhy wan i dy gario at ysbrydolrwydd dyledswyddau, ac, yn wir, i'r cylch allanol os bydd ychydig o beth yn rhwystro, yn debyg o dy gario di yn gysurus trwy gystudd a glŷn cysgod angeu? Arswydol fyddai, beth bynag a ddeuai o honom yn y byd a ddaw, myned ymaith o'r byd hwn heb oleuni na thangnefedd. Ymannogwch eich ysbrydoedd eich hunain, ac annogwch eich gilydd, i adnewyddiad crefyddol, a hyny yn fwy o gymaint a'ch bod yn gweled y dydd yn nesâu. Os ydych yn gweled fod awr y brofedigaeth yn dyfod ar yr holl fyd, neu arnoch chwi eich hunain, y mae galwad am fod yn fwy dyfal nag erioed. Edrychwch am gael grasau tumewnol, a'u hymarferiadau allanol, wedi eu cryfhâu a'u hadnewyddu. Os yw y Prïodfab yn dyfod, mae yn hen bryd codi i drwsio y lampau. Os yw y daith fawr i'w chychwyn, a'r nos dywell gerllaw, gwregyser y lwynau, a sicrhäer y lampau yn oleu. Byddwn y fath sydd eisieu o ddynion mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb.

Dengys y cyfan y mawr bwys sydd yn y ddyledswydd a gymhellir arnom yn yr adnod o flaen y testun: "A chydystyriwn bawb ein gilydd, i ymannog i gariad a gweithredoedd da." Ymadrodd cysylltiedig â hyn yw'r gocheliad, "Heb esgeuluso ein cydgynnulliad ein hunain." Cynghorwch bawb eich gilydd i ddyfod yn gyson a gwresog i'r cynnulliadau; ewch ar ol y golledig. A chynghorwch eich gilydd yn y cydgynnulliadau er eu gwneyd yn fuddiol i adgyweirio a chadw y naill y llall rhag gwrthgilio. Y mae i'w sylwi, er mai y pechod a'r trueni mwyaf yw ymadael â Duw yn mhethau yr efengyl, nad oedd gan Paul ddim gwell moddion i'w ragflaenu nag i bawb gynghori eu gilydd (Heb. iii. 12, 13, a x. 25, 26). Ni waeth pa faint fyddo y talentau mewn eglwys, os adfeilia crefydd yno, hi a ä yn fuan heb yno neb a fedr gynghori eu gilydd. Cariad yw ffynnon a bywyd annogaethau y saint i'w

gilydd. Os bydd hwnw yn adfeilio, mae ysbryd a dawn i gynghori yn gwywo. Mae un yn colli ysbryd i'r peth, ac yn tewi mewn difaterwch—y llall yn siarad heb un amcan na phwys; yn llefaru digon, ond, fel y Corinthiaid, â rhyw dafodau dyeithr er ei godi ei hun, ac nid er adeiladaeth, cynghor, na chysur—a'r tryd-ydd yn ei adfeiliad yn myned, hwyrach, yn sarug, yn colli y doethineb a'r tynerwch anghenrheidiol i gynghori yn effeithiol. Yr oedd Barnabas yn cynghori pawb oll trwy lwyrfryd calon i lynu wrth yr Arglwydd, "oblegid yr oedd efe yn ŵr da;" nid yn unig yn dduwiol, ond yn un oedd yn llawn tynerwch, gostyng-eiddrwydd, a pharodrwydd i ddyddanu. Heb yr ysbryd a'r tuedd-fryd hwn, y mae'r gwan yn cyfeiliorni o eisieu addysg, a'r balch o eisieu rhybudd; mae y temtiedig a'r llwfr yn ymollwng am nad oes neb i'w gysuro. Gweithier a chynhyrfer ni gan Ysbryd Duw i bob ffyddlondeb; bod yn ffyddlawn i'r Arglwydd, yn ffyddlawn tuag atom ein hunain, tuag at ein gilydd, a thuag at bawb.

# PREGETH XII.

## GWERTHFAWR WAED CRIST.

1 PEDR i. 18, 19: "Gan wybod nad â phethau llygredig, megys arian neu aur, eich prynwyd oddiwrth eich ofer ymarweddiad, yr hwn a gawsoch trwy draddodiad y tadau, eithr â gwerthfawr waed Crist, megys oen difeius a difrycheulyd."

Y MAE yn perthyn i grefydd ragorfreintiau a dyledswyddau; ac y mae meddu y naill yn ein gosod o dan y rhwymau cryfaf i gyflawni y lleill. Ië, y mae llawer o ragorfreintiau crefydd yn ddyledswyddau, a'i dyledswyddau oll yn rhagorfreintiau; oblegid y maent yn arwain ei deiliaid i sancteiddrwydd ymhob ymarweddiad yn y byd hwn, ac yn diweddu yn iachawdwriaeth eu heneidiau.

Felly y mae yr apostol yn athrawiaethu yn y bennod hon. Yn gyntaf oll y mae yn dysgu y rhai y mae yn ysgrifenu atynt am eu rhagoriaethau fel credinwyr: y pethau mawrion ag yr oeddynt eisoes yn eu mwynhâu, a'r pethau mwy ag oedd eto yn eu haros; ac yna wedi eu harwain felly i olwg yr etifeddiaeth dêg ag oedd yn perthyn iddynt mewn gras a gogoniant, y mae yn troi y cwbl yn gymhelliadau i sancteiddrwydd ac ufudd-dod. Yn yr adnodau o flaen y testun, mae yr apostol yn seilio ei gymhelliadau i hyny ar yr ystyriaeth o sancteiddrwydd Duw, ffynnon holl ragorfreintiau credinwyr, ynghydag ar eu galwad hwythau gan y Duw sanctaidd hwn i gymdeithas âg ef ei hun fel eu Tad yn Nghrist. Ac yn y testun, y mae'r prynedigaeth, achos haeddiannol eu sancteiddiad, yn cael ei ddefnyddio i'r un dyben, fel cymhelliad i'r un peth:

"Eithr megys y mae y neb a'ch galwodd chwi yn sanctaidd, byddwch chwithau hefyd sanctaidd ymhob ymarweddiad; gan wybod nad â phethau llygredig eich prynwyd." Y mae efe yn dywedyd hefyd, "Os ydych yn galw ar y Tad"—fel pe dywedasai yr apostol, Yr wyf yn llawenhâu fod y Duw sanctaidd wedi eich galw chwi i fod yn feibion iddo ei hun, ac iddo, o herwydd eich bod yn feibion, anfon Ysbryd ei Fab i'ch calonau chwi trwy yr hwn yn llefain, Abba, Dad. Ond gwyliwch rhag arfer eich hyfder yn achlysur i'r cnawd. Cofiwch mai Tad sanctaidd yw efe, y Tad cyfiawn "yr hwn sydd heb dderbyn wyneb neb yn barnu yn ol gweithred pob un;" am hyny, "ymddygwch mewn ofn dros amser eich ymdeithiad." Ac yn gysylltiedig â hyny y dywed, "Gan wybod nad â phethau llygredig, megys arian neu aur, eich prynwyd oddiwrth eich ofer ymarweddiad—eithr â gwerthfawr waed Crist."

Y mae pob gair yn y testun yn cynnwys ynddo y cymhelliad tyneraf a grymusaf i ddiolchgarwch, ufudd-dod, ac ofn yr Arglwydd. Ystyriwch yn gyntaf gyflwr a buchedd y pechadur yn flaenorol i'w dröedigaeth—yr hyn y gwaredir ef oddiwrtho trwy werthfawr waed Crist. Geilw yr apostol ef yma, "Eich ofer ymarweddiad, yr hwn a gawsoch trwy draddodiad y tadau." Os oedd y Cristionogion hyn, fel y dywed yr apostol, wedi eu haileni i etifeddiaeth anllygredig, tra gwahanol oedd eu rhan hwy ynglŷn â'r enedigaeth gyntaf: "ofer ymarweddiad." Y mae hwn yn disgyn i ddynion o oes i oes mewn coelion, defodau, ac ymarferiadau llygredig, fel etifeddiaeth oddiwrth eu henafiaid. Maent yn "etifeddu ffolineb," fel y dywed Solomon. Meddwl gwamal, bywyd yn cael ei dreulio heb un amcan teilwng iddo, yn gwbl ddiogoniant i Dduw,—y mae hyn yn ofer, a gwaeth nag ofer, i'r dyn ei hunan. Wele yma beth trwm i'w gyhoeddi am fywyd dyn: crëadur ag oedd wedi ei wneyd ar y cyntaf i amcan mor uchel â gwasanaethu a mwynhâu ei Grëawdwr, yn awr wedi colli dyben ei grëadigaeth, ac yn treulio ei hunan allan mewn oferedd. Mae Paul yn dywedyd bod dynion "yn rhodio yn oferedd eu meddwl." Dyna egwyddor a hynodrwydd eu bywyd; mae yn ffrydio allan yn ddiorphwys, ac yn nodweddu meddyliau ac ymddyddanion a holl ymddygiadau y dyn. Nid yw holl oes y crëadur o'i febyd i'w fedd yn ddim amgen nag ofera mewn oferedd. "Ffolineb,"

medd y gŵr doeth, "sydd yn rhwym yn nghalon plentyn;" a thrachefn, meddai, am bechaduriaid o bob oed, "Ynfydrwydd sydd yn eu calon tra fyddont fyw, ac ar ol hyny maent yn myned at y meirw." Gyda golwg ar ei achos tragywyddol, mae y dyn yn gwbl ddifeddwl; ac am egni ei enaid gyda phethau eraill, nis gellwch edrych arno, wrth ystyried gwagedd y pethau hyny, yn ddim gwell na gwallgofrwydd. Llafurio y mae am y gwynt, ac ymborthi ar ludw. Mae yr holl ymweithiad afreolaidd yn gwreiddio yn chwantau ynfyd a niweidiol y galon, ac yn diweddu mewn gwanu y crëadur â llawer o ofidiau. Chwi a ellwch weled fel y mae ofergoeledd, balchder, cenfigen, a chwantau cnawdol, yn llenwi calonau dynion âg ynfydrwydd. Mae yr holl grëadigaeth wedi "ei darostwng i oferedd;" y cyfan yn cael eu troi i wasanaethu oferedd calon dyn.

Y llwybr y caed yr ofer ymarweddiad ydyw, "trwy draddodiad y tadau." Mae Satan wedi gosod pob celwydd i fyny yn y byd, a sicrhâu pob peth sydd lygredig yn ei deyrnas, y rhai, fel y gwnaeth Duw gyda ei bethau ef, a orchymynodd yntau i'r tadau i'w dysgu i'w plant, fel y gwybyddai yr oes a ddêl, a phan gyfodent, y mynegent hwy i'w plant hwythau. Fel hyn y cedwir i fyny Iuddewiaeth lygredig, Paganiaeth, Mahometaniaeth, Pabyddiaeth, a holl ddrygarferion y byd. Mae eu cael trwy draddodiad y tadau yn gwneyd y dychymygion mwyaf disail yn wirionedd, yr arferion creulonaf yn ddyngar, y pethau ffieiddiaf yn anrhydeddus, y defodau ffolaf yn bwysig, a'r ymddygiadau mwyaf pechadurus yn ddiniwed, yn ngolwg y lliaws. Y maent yn derbyn eu grym o'u henafiaeth; wedi eu traddodi i'r dyn, a'r dyn iddynt hwythau o'i febyd, a hyny gan y rhai agosaf at ei feddwl. Os tystiwch yn erbyn eu ffolineb, dyna chwi yn beïo doethineb eu tadau. Os llefarwch am eu pechadurusrwydd, wele chwi yn dangos eu tadau yn ddigrefydd. Ac felly chwi a ennynwch eu holl ragfarnau yn eich erbyn chwi a'ch athrawiaeth.

Ond yr ydym yn cael ein galw i ystyried eto drefn y waredigaeth o'r drwg a'r trueni hwn. Prynedigaeth y golygir hi gan yr apostol. Mae yn amlwg fod ffolineb neu ymarweddiad ofer pechadur yn cynnwys ynddo annuwioldeb a gwrthryfel yn erbyn Duw, a'i fod o ganlyniad yn haeddu cosbedigaeth. "Calon yr annuwiol ni thâl ond ychydig;" yn enwedig os prisiwch hi wrth y

meddyliau a'r geiriau ofer a darddant o honi. Felly yr oedd gwaredu dynion oddiwrth yr ofer ymarweddiad trwy weithred o ras a gallu yn unig yn anmhosibl. Na, yr oedd yn rhaid eu prynu hwy oddiwrtho—ateb i ofynion cyfiawnder, a rhoddi iawn drostynt i Dduw—mewn trefn i'w gwaredu. Ac, nid dyma y cwbl ychwaith; ond y peth y mynai yr apostol i ni graffu yn arbenig arno ydyw y pris neu y gwerth yn y prynedigaeth yma. "Gan wybod," meddai, "nad â phethau llygredig, megys arian neu aur, eich prynwyd oddiwrth eich ofer ymarweddiad, eithr â gwerthfawr waed Crist." Chwi a welwch fod yma brynedigaeth *real* yn cael ei nodi; mae y pechadur wedi ei brynu mor wirioneddol â dim erioed a brynwyd âg arian ac aur; canys y mae gwaed Crist yn y geiriau yn cael ei osod allan fel yn gwasanaethu yn mhrynedigaeth pechadur megys y mae arian ac aur yn mhrynedigaeth pethau eraill. Ac, yn wir, os oedd y caethwas yr hwn a brynid â'r pethau hyn, yn rhwym o wasanaethu y neb a'i prynai, pa faint mwy nyni, y rhai a brynwyd â gwaed, ïe, gwerthfawr waed Crist?

Yn awr, gan mai pris neu werth prynedigaeth pechadur oddiwrth ei ofer ymarweddiad ydyw gwerthfawr waed Crist, ni a sylwn yn

I. Pa beth sydd i'w ddeall wrth waed Crist?

Ac ar hyn gallwn nodi tri pheth.

1. Mae y gair yn arwyddo *dynoliaeth y Gwaredwr, yn yr hon y cyflawnodd efe ein prynedigaeth.*

Y mae cîg a gwaed yn perthyn i'r ddynoliaeth, ac yn y Bibl yn sefyll am y cwbl; ond y mae yn enwad arni sydd yn dynodi ei hansawdd yn y byd hwn yn fwy na'i hanfod. Yn yr Ysgrythyrau yn gyffredin, mae yr ymadrodd "cîg a gwaed" yn golygu, nid y rhanau hyny o'r natur ddynol yn unig ac yn gymaint, ac nid yr holl natur chwaith, a'i hystyried ynddi ei hun yn unig; ond defnyddir yr ymadrodd i'w gosod allan fel y mae hi yn naturiaeth farwol, ddyoddefus, agored i bob drwg; yr un peth a dyweyd, nid dyn, ond dyn marwol. Ni bydd hwn yn enw arnom byth. Byddwn yn ddynion byth,—eithr nid yn ddynion marwol mewn eilfyd. Yn yr Ysgrythyrau, y mae gwendid y natur yn cael ei roddi fel rheswm paham y mae Duw yn ei harbed. "Canys efe a edwyn ein defnydd ni; cofia mai llwch ydym—a gwynt yn

myned, ac heb ddychwelyd." Er mwyn argyhoeddi Israel gynt nas gallasai yr Aipht mo'u gwaredu, mae'r prophwyd yn galw arglwyddi yr Aiphtiaid yn ddynion ac nid duw, a'u meirch yn gnawd ac nid yn ysbryd, i'r dyben o ddangos eu gwendid hwy; ac y mae Paul yn dangos nerth gelynion y cristion trwy ddywedyd, "Nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau a drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd," ac oddiar hyny yn galw ar y cristion i wisgo holl arfogaeth Duw. Yr un peth a ddysgir i ni pan ddywedir, "Ni ddichon cîg a gwaed," hyny yw, dyn fel y mae yn y fuchedd anianol hon, "etifeddu teyrnas Dduw." Llygredigaeth yw cîg a gwaed, ac anllygredigaeth yw y nefoedd; ac ni ddichon llygredigaeth etifeddu anllygredigaeth. Y mae natur ac anghenrheidrwydd cyfansoddiad y creädur yn gofyn am ei gyfnewid cyn y gall efe fyned yno. Rhaid gan hyny hau y corff llygredig, gwan, a marwol hwn yn y bedd, a'i gyfodi mewn anllygredigaeth a nerth, i'r dyben i'w gymhwyso i gynnal tragywyddol bwys gogoniant.

Ond dyma sydd yn rhyfedd: pan ddaeth Mab Duw yn Waredwr i bechaduriaid, nid yn unig efe a gymerodd eu natur hwy, ond cymerodd hi, fel yr oedd yn anghenrheidiol iddo wneyd, yn ei hansawdd anianol a marwol, yn debyg i'r hyn ydyw yn eu personau hwy, plant dynion, yn y byd hwn. Nid fel y mae y ddynoliaeth yn awr yn ei Berson ef yn y gogoniant, nac fel y bydd hi yn mhersonau y saint amser a ddaw, pan gyfnewidir y corff gwael fel y gwneler ef yr un ffurf â'i gorff gogoneddus ef, y gwelid hi ganddo pan ar y ddaear; na, ond "gan fod y plant yn gyfranogion o gîg a gwaed," sef o'r ddynoliaeth mewn cyflwr egwan a marwol, "yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau." Felly yr ydym yn darllen am "gorff ei gnawd ef," ac am "ddyddiau ei gnawd," sef y tymmor hwnw arno pan yr oedd efe yn y corff gwael a daearol hwn, wedi ei amgylchu â phob gwendid, ac yn ymarfer ei hun i dduwioldeb ynddi fel dyn profedigaethus arall, gan offrwm gweddïau, trwy lefain cryf a dagrau, at y neb oedd abl i'w waredu oddiwrth farwolaeth, a chael ei wrando yn yr hyn a ofnodd. Amgylchiad rhyfedd yw hwn i dragywyddol Fab Duw fod ynddo. Buasai y ffaith, iddo ef gymeryd ein natur ni ynddi ei hun, ïe, o dan ogoniant y nef, yn syndod mawr; ond beth am ei gael ynddi wedi ei rwymo mewn cadachau a'i ddodi

yn y preseb, wedi profi ynddi newyn a syched corfforol, ing a thristwch meddwl, ac ymhob modd yn ŵr gofidus a chynefin â dolur, ac yn gorphen ei yrfa brofedigaethus yn y byd yn angeu melldigedig y groes? Cofiwch hyn, fy nghyfeillion: eich natur chwi oedd ganddo ef; ac ynddi gwnaed ef ymhob peth yn gyffelyb i'w frodyr. Mae yn gwybod oddiwrth eich doluriau chwi; a chyda yr holl dynerwch ag y mae profiad wedi ei ddysgu iddo, y mae yn barod i'ch cynnorthwyo fel ei asgwrn a'i gnawd ei hun. "Canys yn gymaint a dyoddef o hono gan gael ei demtio, efe a ddichon gynnorthwyo y rhai a demtir."

2. Mae yr ymadrodd gwaed Crist yn arwyddo *natur y farwolaeth trwy yr hon y cyflawnodd efe ein prynedigaeth.*

Arwydda y gair, nid yn unig iddo farw, ond o ba fath angeu y bu efe farw. Mae llofruddiaeth neu ddinystr bywyd trwy drais a gorthrech, fel yr ydym yn gwybod, yn cael ei alw dan yr enw *gwaed* yn yr Ysgrythyrau. Sychedu a chynllwyn am waed yn ol iaith y Bibl ydyw dymuno lladd dynion; dwfn ddyfeisio ac arfer pob ystryw i ddwyn hyny oddiamgylch. Bod yn gyfranogion mewn gwaed yw cyttuno âg eraill mewn llofruddiaeth. A phan sonir am ddwyn gwaed ar ddynion, neu ofyn gwaed oddiar eu dwylaw, meddylir eu dwyn i farn, a dïal arnynt, am dywallt gwaed, neu am ddwyn bywyd y diniwed oddiarno. Yr ydym yn darllen amryw weithiau yn y Testament Newydd am waed Crist yn yr ystyr yma, fel am waed Abel, gwaed Zacharias, ac eraill. Er esiampl: Yn yr ymddyddan rhwng Pilat a'r Iuddewon, ychydig cyn ei gondemnio ef i farw, ni a gawn y barnwr yn golchi ei ddwylaw ger bron y bobl, ac yn dywedyd wrthynt, "Dieuog ydwyf fi oddiwrth waed y cyfiawn hwn; edrychwch chwi;" a hwythau yn ateb, "Bydded ei waed ef," sef y canlyniadau o gymeryd ei fywyd ef, "arnom ni ac ar ein plant;" ac felly efe a draddodwyd iddynt i'w groeshoelio.

Dyma ddull yr ymadawiad a gyflawnodd efe yn Jerusalem. Nid mewn henaint têg fel yr hen Abraham y bu Iesu Grist farw; nid fel Jacob yn tynu ei draed i'r gwely, ac yn marw mewn tawelwch; nid yn cael ei ollwng mewn tangnefedd fel Simeon. Na, ond fe laddwyd y Messïah; tòrwyd ef o dir y rhai byw. Os darllenwn ni y brophwydoliaeth am ei farwolaeth, a'r hanes am dani yn yr Efengylwyr, ni a gawn fod manylrwydd yn cael ei arfer

i ddangos y trais a'r creulondeb ag ydoedd ynddi. Bradychwyd ei fywyd i ddwylaw y lleiddiaid; ac wedi ei gymeryd i fyny fel lleidr yn Gethsemane gyda gorthrech ac arfau gwaedlyd, dygwyd ef ger bron awdurdodau llidiog, pa rai oeddynt wedi penderfynu ei ddyfetha, ac fel cŵn a theirw yn sychedu am ei waed; ac yna cernodiwyd a fflangellwyd ef, gwisgwyd ei ben â drain pigog, trywanwyd ei ddwylaw a'i draed â hoelion; ac fel hyn, gyda'r holl amgylchiadau crybwylledig yma wedi eu hawchlymu a'u gwenwyno yn fwy trwy y gynddaredd a'r dirmyg oedd ynglŷn â hwy, y dygwyd ei fywyd oddiar y ddaear, tra yr oedd cynnulleidfa y drygionus wedi ei amgylchynu, yn curo eu dwylaw arno, ac yn ei hysio allan o'r byd.

O fy nghyfeillion, a ydyw yr olygfa hon i edrych arni gyda llygad diystyr? Ystyriwch pwy oedd efe. Os gwrandäwn ni arno ef ei hun, fel yr ydym yn ei gael yn ysbrydoliad prophwydoliaeth (Psalm xxii. 12—18; lxix. 14, 15, 19—21), yn adrodd ei deimladau o barth i amgylchiadau ei farwolaeth, mae yn rhaid i ni benderfynu eu bod yn ychwanegu at ei chwerwder hi yn fawr. Ond, wedi y cwbl, yr oedd dirgelwch yn hyn oll. Nid dygwyddiad cyffredin, yn ol cwrs cyffredin pethau, oedd marwolaeth Crist: nid rhywbeth heb un achos iddo, na chyfrif i roddi am dano, ond yn unig ddrygioni a chynddaredd dynion. Na! yr oedd yn ganlyniad i anghenrheidrwydd llawer uwch na hyny (Act. ii. 23; iii. 18). Yr oedd cyfiawnder Duw yn gofyn ei fywyd, a'r holl orchwyliaeth waedlyd yn gwreiddio mewn awdurdod ag oedd wedi dyfod oddiuchod. Nid oedd dynion na chythreuliaid, er eu bod yn gweithredu yn ol eu hegwyddorion eu hunain, ddim ond offerynau, na'u holl drais a'u cynddaredd, ddim ond rhan o'r felldith a'r gosb oedd yn dyfod yn gyfiawn arno ef fel Machnïydd pechaduriaid. Y felldith fawr a syrthiodd ar ddynion trwy bechod oedd yr elyniaeth oedd wedi llenwi eu calonau, nid yn unig at Dduw a phob crëadur sanctaidd, ond at eu gilydd hefyd; a chan i Iesu Grist gymeryd lle pechadur, yr oedd y felldith yma yn crynhoi ac yn ymarllwys arno ef.

3. Mae yr ymadrodd yn golygu *marwolaeth Crist o ran yr ing o honi, a'r ufudd-dod tumewnol oedd ynddi, trwy yr hyn yn neillduol y cyflawnodd efe ein prynedigaeth ni.*

Os oedd trais yn ei angeu fel ag yr oedd yn gosbedigaeth

pechod, yr oedd ufudd-dod ynddi hefyd fel ag yr oedd yn aberth dros bechod. Pan yn dwyn cosbedigaeth ein pechodau ni yn ei gorff ar y pren, yr oedd tragywyddol Fab Duw, yn a thrwy hyny, yn tywallt ei enaid i farwolaeth, ac yn offrymu ei hun yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd. O dan ddwylaw ei leidd-iaid, ac heb yn wybod iddynt hwy, yr oedd yr Archoffeiriad mawr yn gweithredu yn y pethau sydd tuag at Dduw i wneuthur cym-mod dros bechodau y bobl. Gyda golwg ar y pethau hyn yn arbenig y mae marwolaeth Crist yn cael ei galw yn waed Crist yn y Testament Newydd, yn enwedig yn yr Epistolau, pan y mae prynedigaeth a chymmod yn cael eu prïodoli iddi. Y rheswm neillduol am hyny yw, mai trwy ei angeu gwaedlyd ar y groes y cyflawnodd efe ei holl waith, a bod ei waed yn y tywalltiad o hono yn brawf ac arwydd allanol a gweledig i'r llygad o'r pethau ysbrydol ac anweledig oedd yn ei farwolaeth. Gallwn ni ddy-wedyd, ar ol yr hen dadau duwinyddol, nad oedd dyoddefiadau ei gorff ef ond megys corff ei ddyoddefiadau, ac mai dyoddefiadau ac ufudd-dod ei enaid oedd enaid y cwbl. Ond fel y mae yr holl ddyn weithiau yn y Bibl yn myned dan enw y rhan leiaf o hono, sef y corff neu y cnawd, am mai hyny yw yr hyn sydd yn weledig, felly mae holl ddyoddefiadau y Gwaredwr yn myned dan enw y rhai corfforol yn unig, am fod y cyfryw yn weledig, a'u bod yn arwydd o'r cwbl. Yn ei farwolaeth, ymgysegrodd Iesu Grist, mewn dyfnaf ufudd-dod, i wneuthur a dyoddef yr hyn oll a ofynai cyfiawnder Duw am bechod, er boddlonrwydd ac iawn; ac y mae'r cyfan yn cael ei osod allan trwy dywalltiad ei waed ar y groes.

A oes arnat ti eisieu prawf, fy nghyd-bechadur, o'i fod ef wedi ei osod yn neddfle troseddwyr euog o dy fath di, ac wedi cymeryd eu pechodau arno ei hun? Dilyn ef o Gethsemane i'r groes, lle mae y cyfan trwy eu canlyniadau yn dyfod i'r golwg. Pe buasai yr addolydd pryderus yn Israel gynt ar ddydd mawr y cymmod yn gofyn, Pa brawf sydd fod coelbren yr Arglwydd, a beïau Israel, wedi syrthio ar ben bwch y pechaberth? oni allesid dy-wedyd wrtho, Edrych, enaid cystuddiedig; dacw fe wedi ei ladd, ac wedi ei losgi yn lludw ar ol ei ladd. Ac os mynit wybod a lwyddodd ei waed yn y sancteiddiolaf i wneyd cymmod drosoch, y mae digon o brawf i'w gael, a phrawf gweledig i'r holl wersyll;

oblegid dacw y bwch dïangol yn dwyn ymaith yr anwireddau fel pethau y terfynwyd am danynt, i'r anialwch, tir neillduaeth a'r anghof tragywyddol. Felly yn y mater hwn, fy nghyfeillion. Chwi a glywsoch o'r efengyl fod Crist wedi ein llwyr brynu ni oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn bechod a melldith drosom. Ac os ydych yn gofyn i mi yn awr, Pa arwydd sydd o hyny fel y credom iddo? minnau a'ch cyfeiriaf i Galfaria rhwng y lladron. Pwy sydd yno yn nghrôg ar bren? ac y mae yn ysgrifenedig, "Melldith Dduw sydd i'r hwn a grogir" (Deut. xxi. 23). Mae y ffeithiau yn rhyfedd; ond y maent yn rhy amlwg i'w gwadu. A pha reswm a roddwch chwi am danynt? Paham yr oedd yn rhaid i Grist ddyoddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant? Paham yr oedd raid iddo, nid marw yn unig, ond marw o angeu poenus, gwaradwyddus, a melldigedig y groes? Nid oes un rheswm i'w roddi am y peth ond yr hwn a ddyry yr efengyl, a'r hyn sydd yn ei gwneyd hi yn efengyl i ni: "Efe a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhâu ni." Nes y daeth ei awr, efe a gadwodd ei hun o ddwylaw ei leiddiaid. Gallasai â'i air gael cymhorth o'r nef i'w wrthsefyll; ond medd efe, "Felly y gorfydd bod." Nid nad oedd cymhorth iddo yn ei Dduw; yr oedd digon o nerth yn y nef i'w waredu, a'i gymeradwyaeth yntau gymaint, fel y buasai gair oddiwrtho yn dwyn deuddeng myrdd o angelion i ddïal ei gam. Na, rhoddi ei einioes yn bridwerth a ddarfu efe. Ond, a lwyddodd efe i wneyd iawn am yr anwireddau? Do, canys efe a gyfodwyd i'n cyfiawnhâu ni. Duw yr heddwch a'i dŷg drachefn oddiwrth y meirw.

Felly y mae yr ymadrodd *gwaed Crist* yn sefyll am holl ystyr ei angeu yn y Bibl. Dyma yr arwydd o'r cwbl, a'r ffordd y cyflawnodd efe y cwbl. Nid oedd yn bosibl iddo ddwyn cosb pechod heb farw, nac offrymu ei hunan i Dduw ond trwy i'w fywyd gael ei ddinystrio. Ei einioes oedd yr hyn yr oedd cyfiawnder yn ei ofyn, ac yr oedd einioes y cnawd yn y gwaed; ac am hyny fe roddes Iesu Grist ei einioes i lawr trwy dywallt ei waed ar y groes. Dyma y ffordd y cyflawnodd efe brynedigaeth pechaduriaid. Person tragywyddol Fab Duw oedd yr offrymwr, ei ddynoliaeth oedd yr aberth, a'r Duwdod oedd yr allor a sancteiddiai y rhodd; ond llwybr yr offrymiad oedd trwy dywalltiad ei enaid ar y groes. Ac am hyny pa beth bynag a wnaed ac a ennillwyd i bechadur

trwy farwolaeth Crist, y mae y cyfan yn cael ei grynhoi yn yr efengyl i'r naill neu y llall o'r geiriau hyn: "ei waed ef," neu "ei groes ef," ac weithiau cawn y ddau gyda'u gilydd: "gwaed ei groes ef." Ar y ddau ymadrodd hyn y mae yr holl efengyl yn sefyll. Pa le yr ydych chwi, eneidiau euog ac ofnus? Dyddenwch eich gilydd â'r ymadroddion hyn: Crist "wedi gwneuthur heddwch trwy waed ei groes ef."

II. Gwerthfawrogrwydd gwaed Crist.

Fel pris neu werth y golygir gwaed Crist pan y mae prynedigaeth yn cael ei brïodoli iddo yn yr Ysgrythyrau, "Er gwerth y prynwyd chwi." Pa faint yw y gwerth? Nis gellir ateb; cymaint a ddywedodd Ysbryd Duw ydyw, "Gwerthfawr waed Crist." Amlwg yw fod y gwiwdeb a'r gwerth ag oedd yn yr aberth er prynedigaeth yn cyfodi yn benaf oddiwrth ddwyfoldeb y Person a'i hoffrymodd ei hun. Dyma y brif ystyriaeth, cofiwch, am haeddiant aberth y Gwaredwr: urddas y Person. Yr oedd hyn yn myned i mewn i'r hyn oll a wnaeth efe, ac yn gosod ar ei waith anfeidrol werth. Ond mewn cysylltiad â'r ystyriaeth hon, y mae pethau eraill i'w cymeryd i sylw. Dywedir iddo "offrymu ei hun yn ddifai i Dduw;" hyny yw, nid yn ddibechod yn unig, ond yn gyfryw aberth ag yr oedd pob peth wedi cydgyfarfod ynddo oedd yn ei wneuthur yn gymeradwy gan Dduw, ac yn wir iawn am bechod. Mewn cysylltiad, ynte, â'r ystyriaeth a nodwyd am deilyngdod ei aberth, ni a gyfeiriwn at rai ystyriaethau eraill sydd yn dangos gwerth gwaed Crist.

1. Mae gwerth ei waed ef yn dyfod i'r golwg *pan ystyriom iddo, trwy dywallt ei waed, roddi ei einioes i lawr.*

Rhyw ddirgelwch mawr yw bywyd. Wrth ddinystrio hwn yn y creadur distadlaf, yr ydym yn dinystrio rhywbeth anamgyffredadwy i ni. Ni a ganfyddwn fywyd yn ei weithrediadau; ond am dano yn ei hanfod, nid yw yn adnabyddus i neb ond iddo Ef yr Hwn sydd ganddo fywyd ynddo ei hun. Y mae yn rhyw oruwch ddull o hanfodi, yn gymaint felly, dybygid, fel ag y mae annhraethol wahaniaeth rhwng pob sylwedd byw â'r sylweddau nad ydynt yn meddu bywyd. Am bob creadur sydd yn meddu arno, y mae yn meddu hefyd ar ryw ymröad a medrusrwydd mawr i'w amddiffyn a'i gadw. Cewch weled y creaduriaid direswm yn ddieithriad, rhai yn ymladd a rhai yn ffoi, y fan y delo taro ar y

castell hwnw ag y mae y trysor yma yn guddiedig ynddo. Ac y mae yr un teimlad, drachefn, yn y fynwes ddynol, ac yn gweithredu gyda chysondeb a nerth yn holl amgylchiadau bywyd. "Yr hyn oll sydd gan ŵr a ddyry efe am ei einioes;" a rheswm da paham, oblegid y mae ei einioes o fwy o werth iddo na dim sydd ganddo, ac nid yw pob peth arall o werth dim iddo heb einioes. Y ffordd gyntaf, os meiddiwch chwi ei chymeryd, i ddwyn y cwbl oddiarno, ydyw dwyn ei fywyd oddiarno, canys heb hwn nis gall fwynhâu dim arall.

Bywyd oedd prif gynnysgaeth dyn yn ei grëadigaeth, a bywyd oedd yn cael ei addaw iddo fel gwobr ufudd-dod. Ac wedi i'r crëadur bechu yn erbyn Duw yr oedd dinystrio hwn, drachefn, fel cosb am hyny, yn rhywbeth ag yr oedd rhyw gyfartaledd ynddo yn nghyfiawnder Duw am y bai a'r dryghaeddiant hwnw. Pechod yn unig oedd yn ddigon o anghenrheidrwydd neu achos am beth mor ofnadwy â marwolaeth dyn. Nid oedd dim yn fwy yn ngolwg y Duw mawr na bywyd ei grëadur ond yn unig ei anrhydedd a'i ogoniant ei hun; ac o'r ochr arall, nid oedd dim llai yn gosb deilwng a phrïodol am bechod na marwolaeth. Felly pan sefydlwyd aberth yn lle yr euog, yr oedd yn rhaid cael bywyd yr hyn a aberthid, a hyny nid yn unig o ran ei gyfaddasrwydd, ond ei werth hefyd. Dyma un rheswm paham y dywedir i Abel offrymu i Dduw aberth rhagorach na Chain: yr oedd aberth Abel o ran ei fater ynddo ei hun, ac yn ngolwg Duw, y peth penaf a mwyaf gwerthfawr yn nghyrhaedd yr aberthwr o fewn y grëadigaeth, sef crëadur o berchen bywyd. Rhoddai efe y crëadur goreu i Dduw, a'r peth goreu yn y crëadur hwnw, sef ei fywyd a'i frasder; ac fe gadwodd Duw hwn byth iddo ei hun. Ni chai dyn, ni a welwn, wneyd un defnydd o waed neu fywyd un crëadur ond yn unig er gwneuthur cymmod neu iawn dros ei fywyd ei hun. "Einioes y cnawd sydd yn y gwaed," medd Duw; "a mi a'i rhoddais i chwi ar yr allor, i wneuthur cymmod dros eich eneidiau." A sylwch ar y rheswm a roddir paham yr oedd y gwaed yn gwneuthur cymmod: "O herwydd einioes" neu enaid "pob cnawd yw ei waed; a'r gwaed hwn a wna gymmod dros yr enaid;" neu, fel y darllenir, trwy neu o herwydd yr enaid. Nid y gwaed o ran ei fater yn gymaint oedd yn gwneyd cymmod, ond yr enaid neu y bywyd ag oedd ynddo; bywyd y crëadur diniwed yn lle bywyd y crëadur euog.

Wel, dyma un o'r elfenau sydd yn cyfansoddi cyfaddasrwydd a gwerth aberth y Gwaredwr bendigedig; nid oes dim llai na bywyd wedi ei aberthu drosom.

O fy nghyfeillion, a ydym ni yn credu hyn? Ai gwir yw bod Person wedi ymddangos yn ein byd ni er ys cynifer o oesau yn ol, ac mewn gwlad bellach heb fod ymhell oddiwrthym, yr hwn, mewn trefn i'n gwaredu, a roddes ei fywyd i lawr yn ein lle? Yr oedd y bywyd hwn yn anad un bywyd yn werthfawr; yn gystal ynddo ei hun ag yn ngolwg yr Arglwydd, ïe, ac yn anwyl a gwerthfawr hefyd gan y neb a'i pïodd. Oedd, yr oedd Iesu Grist yn caru ei fywyd; ond yr oedd yn caru pechadur yn fwy; ac am hyny efe a aberthodd y naill dros y llall. Ac y mae y Bibl yn siarad am hyn fel yr amlygiad uchaf o gariad a geir byth. "Yn hyn," medd Ioan, "yr adnabuom gariad Duw, oblegid dodi o hono ef ei einioes drosom ni. Yn hyn y mae cariad." Ië, "cariad mwy na hwn nid oes gan neb, sef bod i un roddi ei einioes dros ei gyfeillion." Yr oedd dwfr Bethlehem, a ddygwyd gan y tri chedyrn trwy wersyll y Philistiaid, yn rhy werthfawr yn ngolwg Dafydd i wneuthur dim âg ef ond ei ddïod-offrymu i'r Arglwydd; canys, meddai, "Onid gwaed y gwŷr a aethant mewn enbydrwydd am eu heinioes yw hwn?" Aeth arian Judas yn rhy annyoddefol iddo i'w cadw. "Pechais," ebe efe, "gan fradychu gwaed gwirion." Dyma ddadl i ti, bechadur, am dy fywyd: einioes y Gŵr hwn yn dy le.

2. Mae gwerth gwaed Crist yn ymddangos, *pan ystyriom ragoriaeth y natur yn yr hon y rhoddes efe ei einioes i lawr.*

Gwaed dyn oedd gwaed Iesu Grist. Y mae rhyw ofal neillduol am waed dyn o'r dechreuad, a rheswm mawr yn cael ei roddi am hyny: "o herwydd," medd y gair, "ar ddelw Duw y gwnaeth efe ddyn." Ni faidd neb gyffwrdd â hwn na bydd natur ei hunan fel yn dïal arno, a'r crëadur yn troi yn ddychryn iddo ei hun. Yr ydym wedi sylwi bod rhyw werth ymhob bywyd, ond nid yw yr holl fywydau yn gyfartal mewn gwerth. Er esiampl: y mae y bywyd llysieuol yn îs na'r bywyd anifeilaidd, ac felly yn cael ei ddinystrio a'i ddarpar mewn trefn i gynnal y bywyd hwnw. Ond dyn yw y crëadur pwysicaf ar y ddaear. Y mae efe yn meddu bywydau yr holl grëaduriaid eraill, a mwy, ynddo ei hun; ac am hyny y mae y cyfan o dan yr haul wedi eu darostwng iddo ef, ac at ei wasan-

aeth. Yn ei grëadigaeth, cynnysgaeddwyd dyn âg enaid anfarwol, yr hwn oedd o ran ei hanfod a'i ansawdd ar ddelw Duw, ac yn alluog i'w addoli a chymdeithasu âg ef, ac o ganlyniad yn meddu bywyd annhraethol uwch yn ei natur a'i fwyniant nag un bywyd arall ar y ddaear.

Ymddengys y Crëawdwr mawr fel yn myned rhagddo o hyd yn ngwaith y grëadigaeth; crëu y naill beth yn ardderchocach na'r llall. Ar y cyntaf mae yn dwyn y dryblith afluniaidd o ddim i fôd, ac yna yn dosbarthu ac yn trefnu hwnw. Ond wedi gwneuthur hyny, marwolaeth oedd eto yn teyrnasu ar y cyfan; nid oedd un math o fywyd mewn dim. Ond yn y man, ni a ddarllenwn, "Duw a ddywedodd, Egined y ddaear egin a llysiau yn hadu hâd;" ac ar y gair wele y bywyd llysieuol yn tòri allan, ac yn tryfritho wyneb y ddaear. Ond os oedd y bywyd yma yn dlws, nid oedd efe eto ond isel. Felly mae y Crëawdwr yn myned rhagddo, fel y gwelwn ni yn yr hanes, ac yn cynnyrchu yr hyn oedd uwch yn ei natur. "Duw hefyd a ddywedodd, Heigied y dyfroedd ymlusgiaid byw, ac eheded ehediaid uwch y ddaear—a dyged y ddaear bob peth byw wrth ei rywogaeth;" ac yn ebrwydd wele'r bywyd anifeilaidd ar orchymyn y Goruchaf dan ei holl amrywiaeth yn chwareu yn wahanol elfenau. Ond, fel pe dywedasai y Goruchaf, yr ydwyf heb foddloni fy hunan eto; mae yr holl fywydau hyn yn rhy isel ac anmherffaith; nid oes yma yr un crëadur yn dwyn fy nelw; yr un meddwl a ddichon gymdeithasu â fy meddwl tragywyddol fy hun—yr un galon a all fy ngharu. "Gwnawn ddyn ar ein llun a'n delw ni;" a chyda'r anadliad yn ffroenau hwn, wele ysbryd anfarwol o'i fewn, yr hyn a'i gwnaeth yn fwy ofnadwy a rhyfedd nag un crëadur arall yn nghrëadigaeth Duw. Er fod cyfathrach rhyngddo â'r llwch, eto y mae rhywbeth o'i fewn ef ag sydd yn ei wneyd yn alluog i dynu cydnabyddiaeth â phethau, i gymdeithasu â gwrthddrychau, i gyflawni dyledswyddau, ac i nofio mewn pleserau, nad ŵyr yr un crëadur arall yn y byd hwn ddim am eu cyffelyb. Ac felly o'r dechreuad, fel y crybwyllwyd, dangoswyd gofal neillduol am fywyd dyn. "Y neb a dywallto waed dyn, trwy ddyn y tywelltir ei waed yntau." Dyma fe, fel pe dywedasai ei Grëawdwr; y mae tegwch y grëadigaeth wedi cydgyfarfod ynddo, a'u defnyddioldeb yn ymddibynu arno; y mae ei fywyd ef gan hyny yn annhraethol fwy gwerthfawr ynddo

ei hunan, ac yn ngolwg ei Roddwr, nag un bywyd arall ar y ddaear. "Pa faint gwell ydyw dyn na dafad?" medd Iesu Grist; "onid ydych chwi yn rhagori llawer arnynt hwy?"

Wel, gan fod pethau fel hyn, wedi i'r crëadur hwn fforffedu ei fywyd i ddwylaw cyfiawnder Duw trwy bechod, y mae yn amlwg nad oes ar helw y byd yma un bywyd gyda digon o werth ynddo i fod yn iawn drosto mewn trefn i'w adferu a'i ryddhâu. Pwy bynag a osodir yn lle y dyn i'r dyben hwn, y mae yn rhaid iddo, a dyweyd y lleiaf, fod yn gydradd mewn urddas âg yntau; bod yn alluog i ddyoddef y gosbedigaeth ag yr oedd ef yn ei haeddu, ac yn feddiannol ar gymaint o ddaioni a gwerth i'w ddinystrio yn aberth â'r hyn sydd i'w waredu trwy hyny. Dyma yma grëadur rhesymol wedi pechu yn erbyn Duw, ac wedi colli ei enaid trwy hyny. Ac yn awr, onid allwn ni ofyn yn ngeiriau Iesu Grist, "Beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?" Dyma gwestiwn mawr cydwybod euog wedi deffro: "A pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd, ac yr ymgrymaf ger bron yr uchel Dduw? a ddeuaf fi ger ei fron ef â phoethoffrymau ac â dyniewaid? a foddlonir yr Arglwydd â miloedd o feheryn, neu â myrddiwn o ffrydiau olew? a roddaf fi fy nghyntafanedig dros fy anwiredd, ffrwyth fy nghorff dros bechod fy enaid?" Wele werth mawr yn cael ei gynnyg. Ond mi ddychymygwn glywed Cyfiawnder Dwyfol yn gofyn, pan yn edrych ar y llwdn dafad yn dyfod at yr allor, 'Ah! ai tydi a ddaeth yma yn lle dy feistr? A ydyw yn bosibl ei ei fod ef yn meddwl y gelli di brynu ysbryd i fyw byth â chwythad sydd yn disgyn i'r ddaear? a ellir adbrynu bywyd ag sydd yn cynnwys ynddo dragywyddol fwynhâd o Dduw â bywyd nas gall fwynhâu dim ond glaswellt y llawr? Na, nid oes digon o werth ynot ti i allu bod yn euog o fai y dyn; a pha faint llai i fod yn iawn drosto? Mae ei gosbedigaeth ef yn gynnwysedig mewn poenau nas gelli di mo'u dyoddef, ac mewn amddifadrwydd o ddaioni nas gelli di mo'i fwynhâu; ac o ganlyniad nid yw yn gosb yn y byd arnat ti i fod yn amddifad o fywyd. Pan y lladdaf di, dyna di wedi darfod â bod: ond pan ddarffo i mi ladd y dyn, mi a gaf yna enaid o'i fewn i'w fwrw i uffern. Mae holl gylch dy hanfodiad di yn y byd hwn yn unig; ond am y dyn, nid yw ei einioes ef ar y ddaear ond megys un ddolen yn y gadwen ag sydd yn rhedeg i dragywyddoldeb; mi a gaf siarad âg ef oesoedd ar ol oesoedd

wedi i ti syrthio i ddiddymdra.' Ofer ymhelaethu fel hyn; "canys anmhosibl yw i waed teirw a geifr dynu ymaith bechodau." Pe bae holl goedwig Libanus ar dân i gyd, a'i holl fwystfilod ar uchaf y coed yn boeth-offrwm, nid digon hyny i dynu ymaith bechodau. Ni wasanaethai eu toraeth a'u cyflawnder i un dyben, gan fod y cyfan o ran eu natur yn ddiffygiol.

Oni ddylai yr ystyriaeth yma beri i ni groesawu sain ei eiriau Ef, yr hwn a ddywedodd, "Aberth ac offrwm nis mynaist, eithr corff a gymhwysaist i mi; offrymau poeth a thros bechod ni buost foddlawn iddynt; yna y dywedais, Wele fi yn dyfod"—dyfod yn y corff a gymhwysaist i mi fel Hâd y wraig, "megys y mae yn ysgrifenedig yn nechreu y llyfr am danaf, i wneuthur dy ewyllys di, O Dduw!" Dyma Offeiriad â'r hyn oedd ganddo i'w offrymu yn annhraethol ragori ar bob offrwm arall; ni bu gyffelyb aberth iddo erioed ar allor Duw o'r blaen. Os gwnaed cymmod "yn nghorff ei gnawd ef trwy farwolaeth," nid mawredd Person yr Offeiriad yn unig sydd i'w ystyried fel yr achos o hyny, ond yr oedd y tabernacl hefyd yn yr hwn y gwnaed y cymmod, sef corff ei gnawd ef, "yn dabernacl mwy a pherffeithiach"—mwy mewn urddas a gwerth na'r tabernacl bydol; ac yr oedd yr aberthau yr un modd yn aberthau gwell, cymaint gwell o ran mater yr aberth âg yw bywyd dyn yn well na bywyd y crëadur direswm. Os y natur ddynol oedd wedi pechu, yn y natur ddynol y gwnaed yr iawn. Os dyn oedd wedi fforffedu ei fywyd i ddwylaw cyfiawnder Duw fel troseddwr, Mab y dyn oedd yntau hefyd, yr Hwn a ddaeth i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer. Yn ei gnawdoliaeth daeth Mab Duw i'r berthynas agosaf â'i deulu; y mae o'r un cnawd ac o'r un ysbryd â hwythau, ac felly yn alluog a chymhwys i gymeryd eu lle yn wyneb y ddeddf, i gyflawni eu hufudd-dod ac i ddyoddef eu cosbedigaeth; corff am gorff, gwaed am waed, ac enaid am enaid.

Gan fod yr aberth fel hyn mor werthfawr ynddo ei hun, ac yn perthyn mor agos i'r Person bendigedig yr hwn a'i hoffrymai, a'r fath gyfathrach agos rhyngddo hefyd â'r rhai yr offrymid ef dros-tynt, nyni a allwn benderfynu ei fod yn werthfawr a chymeradwy yn ngolwg y Duw mawr yr offrymid ef iddo. Fy nghyd-bechadur, tyred ymlaen am dy fywyd yn aberth y Cyfryngwr; y mae yn nesaf peth i fod wedi ei wneyd genyt ti dy hunan; oblegid fe'i

gwnaed gan Frawd i ti yn dy natur ac yn dy le. "Wele y dyn!" Os daeth y dyn cyntaf â phechod i'r byd, yr Ail Ddyn a ddaeth i dynu ymaith bechod. Os dyn a agorodd y dorau i gamwedd a marwolaeth lifo i'r ddaear, wele "yr un dyn Iesu Grist" yn neidio i'r dyfnder, yn cau dorau marwolaeth, ac yn troi ffrydiau o ffynnon y bywyd i adfywio a ffrwythloni ein tir ni.

3. Elfen chwanegol yn ngwerth gwaed neu aberth y Gwaredwr ydoedd, *sancteiddrwydd perffaith y ddynoliaeth hòno ymha un y bu efe farw.*

Fel hyn y cawn yn y testun: wedi i'r apostol alw gwaed Crist fel gwerth ein prynedigaeth yn werthfawr waed, y mae yn crybwyll, fel un o'r pethau oedd yn ei wneyd ef felly, ddarfod iddo yn a thrwy y tywalltiad o hono offrymu ei hun "megys oen difeïus a difrycheulyd." Nid i sancteiddrwydd ei ddynoliaeth yn unig, mae yn wir, y mae gwerth aberth Crist i'w brïodoli; eto heb ei bod hi yn sanctaidd nis gallasai efe fod yn aberth dros bechod oll, na bod dim gwerth yn ei waed er prynedigaeth i bechaduriaid. Ond nid yw hyn yn eisieu ar yr Archoffeiriad mawr. Trwy ei chenedliad gwyrthiol, yr oedd ei ddynoliaeth yn berffaith sanctaidd o'r groth, ac felly yn llawn o gymhwysder, ac yn llawn o barodrwydd meddwl, i waith mawr y prynedigaeth. "Da genyf," meddai, "wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon."

Cyn iddo ymaflyd yn rhanau mwyaf neillduol ei waith fel Cyfryngwr, yr oedd ei Berson yn wastad yn gymeradwy, a doniau cynnyddol ei lân gnawdoliaeth yn peri iddo ffafr gyda Duw a dynion o'i febyd. Gwỳnach oedd ei Nazarëaeth na'r eira, gwridocach na'r cwrel. Arosai yn nghariad ei Dad, nid am ei fod yn Fab anwyl ganddo yn unig, ac yn un âg ef mewn natur a Duwdod, ond oblegid ei fod yn ein natur ni yn cadw ei orchymynion, ac yn gwneuthur bob amser yr hyn sydd foddlawn ganddo ef. Dyma oedd gogoniant dynoliaeth Iesu Grist, yr hyn a'i gwai, fel y dywed y Salmydd, yn decach na meibion dynion. Yr oedd gras yn dywalltedig ar ei wefusau; ac wedi iddo, trwy y gras hwnw, gwblhâu y gwaith a roddasid iddo i'w wneuthur, yr oedd y fath werth ynddo yn ngolwg y Duw mawr, fel y dywedir iddo o herwydd hwny ei fendithio ef yn dragywydd. Ac, yn wir, ynddo ef y mae pechadur euog a thlawd yn ymfendithio hefyd. Er

dyfned y teimla lygredigaeth ei natur a'i euogrwydd ynddo ei hun, y mae yn profi boddlonrwydd enaid a chydwybod yn haeddiant Crist fel ei Archoffeiriad mawr, yr hwn a'i hoffrymodd ei hun yn y natur hòno yn ddifai i Dduw.

Peth anhebgorol, chwi a wyddoch, yn y cysgod gynt er gwneuthur cymmod dros yr euog, ac ennill maddeuant iddo, oedd cael aberth perffeith-gwbl drosto, ac offeiriad dianaf a sanctaidd i'w Dduw i offrymu hwnw. Ac felly yr un modd yn y Testament Newydd, y mae lle mawr yn cael ei roddi i sancteiddrwydd natur y Gwaredwr fel ei gymhwysder greddfol a phersonol i'w swydd a'i waith fel Archoffeiriad ei bobl. Pwy, yn ol tystiolaeth yr apostolion, a ymddangosodd, fel y dilëai ein pechodau ni trwy ei aberthu ei hun? Onid efe yn yr hwn nid oes bechod? Pwy a pha fath un oedd efe yr hwn a ddŷg ein pechodau ni yn ei gorff ar y pren? Onid y gwas cyfiawn, yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau? "Yr hwn pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn; pan ddyoddefodd, ni fygythiodd; eithr rhoddes ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn. Canys yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod drosom ni, fel ein gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Fel hyn, trwy eneiniad y Sancteiddiolaf, sef teml ei gorff ef, y dybenwyd camwedd, ac y seliwyd pechodau, ac y gwnaed cymmod dros anwiredd. "Canys y cyfryw archoffeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid, ac wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd, oedd weddus i ni."

O! na bae tegwch dynoliaeth y Gwaredwr yn denu ein serchiadau ni yn fwy! Ystyriwch ei amcan yn ei chymeryd, a'r amgylchiadau o dan ba rai yr ymddangosodd ynddi. Pan yr oedd yr holl hil ddynol wedi myned i lawr yn yr Adda cyntaf, ac o ganlyniad perffaith sancteiddrwydd a delw Duw wedi diflanu o'u mysg er ys llawer oes, a'u gadael i lygru eu ffordd ac i lenwi y ddaear â thrawsder, eto wele un o'r hen deulu gwywedig yma yn tòri allan ac yn tyfu o flaen Duw fel blaguryn, ac fel gwreiddyn o dir sych. Y ddynoliaeth adfeiliedig yma, yr hon, yn mhersonau pawb eraill, sydd yn llawn o ffieiddglwyf pechod, ac o'r hon yn eithaf ei chyrhaeddiad ar y ddaear y mae perffaith sancteiddrwydd am un fynydyn yn anmhosibl,—wele y natur yma yn ei Berson ef "yn llawn gras a gwirionedd;" "yn llawn," nid mewn cymhariaeth i'r saint ar y ddaear yn unig, ond i luoedd dysglaer y gogon-

iant—"yn llawn" hyd orchfygu pob temtasiwn, a chyflawni pob cyfiawnder—"yn llawn" fel y mae y Person bendigedig ynddi wedi boddloni ac ateb i'r Meddwl Tragywyddol dros ansancteiddrwydd a dirywiad gwreiddiol y natur yma trwy y cwymp, a'i ddwyn ymaith ar ran myrddiynau sydd yn gyfranogion o honi. Y cyfryw archoffeiriad "oedd weddus i ni;" hyny ydyw, yn ateb i'n hanghen ni fel crëaduriaid euog. Wele efe yn un â ni mewn natur, ond yn sanctaidd o'r groth, "wedi ei demtio ymhob peth yr un ffunud â ninnau, eto heb bechod." Ac felly, erbyn i ddydd mawr y cymmod ddyfod, nid oedd raid iddo offrymu drosto ei hun; ond yn nghanol cableddau a chynddaredd ei elynion, efe a'i hoffrymodd ei hun drosom ni.

4. Mae gwerthfawrogrwydd gwaed Crist yn ymddangos eto yn fwy amlwg pan ystyriom fod *y tywalltiad o hono yn cynnwys ynddo yr ufudd-dod uchaf i Dduw.*

Nid bod y Cyfryngwr wedi marw yn unig, na bod cosb yn ei farwolaeth ef, a'i gwnaeth yn iawn am bechod, ond yn hytrach ei offrymiad o hono ei hunan i Dduw yn a thrwy y farwolaeth hono. Yr ydym wedi sylwi eisoes fod dynoliaeth y Gwaredwr yn gyflawn o bob gras o'r dechreuad; a phan yn dyoddef ac yn marw ar y groes, yr oedd yr egwyddorion grasol hyny yn cael, trwy nerth yr Ysbryd, eu tynu i ymarferiad, ac yn gweithredu yn a thrwy alluoedd rhesymol yr enaid hyd eithaf eu gogoniant a'u heffeithiolrwydd. Dyma a wnaeth ei farwolaeth ef "yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd." Yr oedd yr holl waith, nid yn unig yn berffaith dda, ond yn berffaith ufudd-dod. Gwas y Tad oedd y Gwaredwr yn yr holl orchwyliaeth, yn gwneuthur nid ei ewyllys ei hun, ond ewyllys yr Hwn a'i hanfonodd, ac yn gorphen ei waith ef. Mae yn wir ei fod dan y ddeddf, ond ar yr un pryd yr oedd mewn perffaith ryddid, oblegid fod deddf ei Dduw yn ei galon ef, a bod yn dda ganddo ei gwneuthur. Hyd yn nôd pan yr oedd natur yn cilio mewn arswyd oddiwrth y dyoddefiadau, yr oedd ei enaid yr amser hwnw yn glynu wrth ei amcan gwreiddiol, ac adlais diniwed natur yn colli yn ebrwydd yn mherffaith ymroddiad y galon i ewyllys Duw. "Y cwpan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?"

Ymhellach, craffwch ar neillduolrwydd yr ufudd-dod hwn. Mae pob ufudd-dod, ni a wyddom, yn werthfawr yn ngolwg Duw. Ond

yr oedd rhyw hynodion yn ufudd-dod Iesu Grist, pethau na chyfarfyddant byth yn ufudd-dod neb arall, a phethau ag oedd yn ychwanegu at werth a haeddiant ei ufudd-dod yn fawr. Yma yr oedd ufudd-dod a chosb wedi cydgyfarfod, a hyny mewn cysylltiad â Pherson nad oedd arno ddim rhwymau o'i ran ei hunan i'r naill na'r llall. Y mae ufudd-dod y saint yn werthfawr yn ngolwg yr Arglwydd, er eu bod dan rwymau i ufuddhâu; a'r un modd am eu dyoddefiadau, er mai eu pechodau yw yr achos o honynt, eto pan y byddont yn ymostwng danynt, ac yn foddlawn am eu cosbedigaeth, y mae rhywbeth yn hyny ag sydd yn gymeradwy gan yr Arglwydd. Mae yr ysbryd edifeiriol yn aberthau Duw, ac aberthau y cyfrifir ganddo ymgysegriad i'w wasanaeth, a haelioni at ei achos. Er nad yw y cyfan ond cyflawniad anmherffaith o ddyledswydd, a bod yn iawn i ni deimlo, ar ol gwneuthur hyn oll, mai gweision anfuddiol ydym, canys yr hyn a ddylasem ei wneuthur a wnaethom, eto pan y gwneir hyn o gariad at Grist, y mae yn "arogl peraidd, aberth cymeradwy, boddlawn gan Dduw," ac fe'i gwobrwyir ddydd a ddaw. Wel, os yw Duw yn edrych fel hyn ar waith crëadur anmherffaith, beth am ymddarostyngiad Mab Duw? Saif hwn yn ei ufudd-dod a'i waith wrtho ei hunan am byth. Yr oedd yma ufudd-dod heb rwymau, a chosb heb fai.

Nid yn unig efe a gyflawnodd y cwbl yn ewyllysgar, ond yn ei ewyllys ei hunan y gwreiddiodd ei rwymedigaethau i gyflawni y cwbl. Nid oedd yn wreiddiol ddim rhwymedigaethau arno; dim yn cyfodi oddiwrth ei berthynas naturiol â Duw; oblegid yr ydoedd yn ogyfuwch â Duw. Ac wedi iddo gymeryd dynoliaeth, nid oedd hyny ynddo ei hun yn dwyn mo hono ef o dan fwy o rwymau i ufuddhâu nag o'r blaen. Ei wneuthur a gafodd dan y ddeddf yn gystal a'i wneuthur o wraig. Yr oedd yn anghenrheidiol, mae yn wir, i ddynoliaeth y Gwaredwr fod yn sanctaidd, ac felly yn gydffurf â deddf Duw; ond yr oedd yr anghenrhaid hwnw yn cyfodi am fod y peth yn weddus iddo ef, ac nid am fod neb uwch nag efe ei hun i ofyn am hyny. O ran dim rhwymedigaeth oedd arno i unrhyw ddeddf, gallasai yn y ddynoliaeth esgyn i'r gogoniant y fynyd y cymerodd efe hi yn natur iddo ei hun. Ond pan oedd efe fel hyn o hono ei hun yn rhydd oddiwrth bawb, yn y cyfammod tragywyddol gwnaeth ei hun yn was i bawb. Ymrwymodd, nid yn unig i fyw, ond i farw hefyd dros

bechaduriaid. O'i fodd efe a gymerodd eu natur hwy; ac yn y natur hòno cymerodd arno agwedd gwas. Ac nid oedd hyny chwaith yn ddigon ganddo, eithr efe a'i darostyngodd ei hunan eto yn fwy, "gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes." O ryfedd gysylltiad! perffaith sancteiddrwydd a chosbedigaeth wedi cydgyfarfod yn yr un Person: Efe, cyflawnder y gyfraith, dan felldith y gyfraith! Mi welaf ufudd-dod yn y nefoedd, ond nid ynglŷn â chosbedigaeth; mi welaf gosbedigaeth yn uffern, ond nid mewn cysylltiad âg ufudd-dod. Ond ar y groes, mi welaf ufudd-dod perffeithiach na'r eiddo y nef yn cael ei gyflawni o dan ddyfnach cosbedigaeth na'r eiddo uffern.

Dau beth yn enaid y Cyfryngwr bendigedig nas gall un crëadur, mae yn debyg, eu deall byth, ydoedd y teimlad o'r digofaint neu y gosbedigaeth ag oedd yn pwyso arno pan yn marw, a'r gweithrediadau o ufudd-dod ac ymroddiad i ddwyn y gosbedigaeth hono. Yr oedd melldith pechod wedi disgyn ar ddyn yn ei holl natur, a'i gysylltiadau â Duw ac â phob crëadur wedi eu gwenwyno ganddi; ac felly wedi i'r Gwaredwr gymeryd ei le ef yn wyneb y gyfraith, yr oedd y felldith hòno yn ymgrynhoi ac yn ymarllwys arno o bob parth ar unwaith. Yr oedd yn dyoddef oddiwrth bawb, ac yn dyoddef yn ei holl natur; ei gorff yn nghrôg ar bren, a melldith gyfiawn y ddeddf yn ymdywallt trwy ei holl synwyrau ar yr enaid, tra yr oedd yr enaid hwnw yr un amser dan dywyllwch a gŵg mwy digyfrwng y Duwdod am bechod, wedi ei wasgu i ddyfnderoedd o dristwch a gofidiau dirfawr, nad oes iaith nac amgyffred a ddichon eu gosod allan. Pa fath beth oedd gwaradwydd yn ei deimlad ef i'r Hwn y perthynai y fath urddas a gogoniant? Beth oedd cuddiadau wyneb ei Dad iddo ef yr Hwn oedd yn aros bob amser yn ei gariad? Beth oedd cael ei wneyd yn bechod iddo ef yr Hwn nid adnabu bechod, a'r hwn oedd yn amgyffred ei adgasrwydd a'i ddryghaeddiant i'r eithaf, ac yn ei gasâu â chasineb perffaith? O y mae ei ddyoddefiadau, fel ei gariad, i ni uwchlaw gwybodaeth! Ni ddaethom i ddyfnder y môr hwn, ac ni rodiasom yn nghilfachau y dyfnder. Ni agorwyd mo byrth marwolaeth i ni, ac ni welsom ni byrth cysgod angeu. Pa le yr oedd efe pan yn gwaeddi, "Na chaued y pydew ei safn arnaf, ac na lynced y dyfnder fi?" Beth oedd yn ei ysbryd pan yn llefain ar y groes, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist!" nis gwyddom

ni. Ond hyn a wyddom ni, pa ymdrech ac ymweithiad bynag oedd yn yr ysbryd hwnw, yr oedd y cyfan yn ddiniwed a phur. Nid oedd ynddo ddim grwgnachrwydd, yr un meddwl caled am Dduw yn troi o'i fewn, nac yr un o holl loesion ei enaid yn codi oddiwrth ei ansancteiddrwydd ef hun. Na! bu yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes. Nid dyoddef yr oedd fel yr aberthau gynt, a dim ond dyoddef; ac nid ymdaflu yn ddisymwth i'r dyoddefiadau, fel y gorphwyllog ar gynhyrfiad y fynyd, nac ychwaith cael ei lusgo i angeu yn erbyn ei ewyllys; ond yr oedd efe yn ufuddhâu wrth ddyoddef. Cyflawni yr ydoedd ammod hen gytundeb rhyngddo â'i Dad yn y tragywyddoldeb pell, a hyny gyda'r fath ysbryd ac ymroddiad ag oedd fel yn dwyn achos ei angeu o ddwylaw pawb i'w ddwylaw ef ei hun; aberthu ei hun yr oedd, tywallt ei enaid i farwolaeth. Pan yr oedd ei einioes yn gwbl yn ei feddiant, heb un gyfraith a allasai ei gofyn, nac un gallu a allasai ei dwyn, efe, o gariad at bechaduriaid, a'i dodes i lawr o hono ei hun, a hyny yn bridwerth dros lawer. Dyma ammod y cyfammod yn yr hwn y mae ein holl iachawdwriaeth a'n holl ddymuniad; ac y mae ynddo ddigon o haeddiant i'w ddangos am y cwbl.

5. Ond yn benaf oll, fel y nodwyd eisoes, y mae gwerthfawrogrwydd gwaed Crist yn ymddangos, pan yr ystyriom fod *y ddynoliaeth, yr hon a aberthwyd yn a thrwy y tywalltiad o hono, mewn undeb â Pherson Dwyfol yr hwn a'i cymerodd yn natur iddo ei hun.*

Dynoliaeth Mab Duw ydoedd y ddynoliaeth hon. Efe oedd yn gwneyd ac yn dyoddef yr oll a wnaed ac a ddyoddefwyd ynddi. Yn awr arafwch, ynte, fy mrodyr, a chymerwch ail olwg ar y pethau a fu dan ein sylw eisoes. Os yw y peth hwn yn wir, y mae yn rhaid fod gwerth ei waed ef, yn yr holl ystyriaethau a nodwyd, yn ychwanegu yn ddirfawr. Ië, ni a allwn ddywedyd fod gwaed Crist yn cyrhaeddyd i ryw eithafoedd diderfyn o haeddiant a gwerth, yn gymaint âg mai Duw yn y cnawd a gyflawnodd y cwbl. Yr ydym wedi crybwyll yn y dechreu mai dyma y brif ystyriaeth am werth gwaed Crist, ac yr oeddem yn cadw hyn yn ein meddwl mewn cysylltiad â phob ystyriaeth arall. Ond y mae yn awr yn teilyngu ein sylw fel mater arno ei hun. Nid einioes dyn yn unig ydoedd yr einioes y buom yn sôn am dani, ond einioes Duw-ddyn. Nid gwaed crëadur, ond prïod-waed

Duw yn natur ei grëadur. Wele, os yw einioes dyn fel y cyfryw ynddi ei hunan yn werthfawr, ac os oedd ufudd-dod a dwfn ymroddiad y dyn Crist Iesu i roddi ei einioes i lawr yn aberth dros bechod, yn ychwanegu at y gwerth a'r teilyngdod, felly hefyd mae yn rhaid fod y cyfan yn derbyn rhyw annhraethol ychwanegiad mewn gwerth a gwiwdeb o herwydd eu perthynas â Pherson tragywyddol y Gair. Ufudd-dod Mab Duw oedd yr ufudd-dod, a marwolaeth Mab Duw oedd y farwolaeth. Y Person mawr hwn yn ein natur ni a roddes ei hun drosom ni. Yn y Bibl, nid *beth* a ddyoddefwyd yw y pwnc yn unig, ond *pwy* a ddyoddefodd. Yma yr ydym yn cael Person y Machnïydd yn wastad wedi ei osod mewn agos gysylltiad â'r Iawn; ac wrth lefaru am dano yn y cysylltiad hwnw, y mae y dynion sanctaidd bob amser fel yn gofalu am ddangos pwy oedd efe, ac wrth hyny yn ein dysgu am y berthynas sicr ac anwahanol sydd rhwng gwerth a theilyngdod yr aberth âg urddas y Person a'i haberthodd ei hun. "Y Duw mawr," medd yr apostol Paul, "yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom ni." Dysgleirdeb gogoniant y Tad, a gwir lun ei Berson ef—dyma yr hwn a burodd ein pechodau ni trwyddo ef ei hun.

Wedi i feddwl pechadur unwaith sylweddoli a dirnad y gwirionedd aruthrol hwn, sef bod y Duw mawr yn natur ei grëadur wedi marw yn ei le, bydd yn hawdd ei argyhoeddi wedi hyny bod digon o haeddiant a gwerth yn y fath farwolaeth i'w achub ef byth. Y mae yn gweled y Person yn anfeidrol, a'r Person hwnw wedi ei osod yn iawn; ac y mae yn barod i ddywedyd, Wel, Gyfiawnder Dwyfol, agor dy safn—Bechod, dangos berfedd dy ddrwg i'r eithaf—Sinai, tarana—Gydwybod euog, condemnia—Satan, gyda dy holl nerth ar farwolaeth, ymhyfhâ yn dy gyhuddiadau haerllug i'm herbyn!—ac yn nghanol yr holl ryferthwy, minnau, bechadur euog a chondemniedig, a obeithiaf ac nid ofnaf. "Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw. Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod."

Yn y llythyr at yr Hebrëaid, mae yr offeiriadaeth Iuddewig a'i haberthau tlodion yn ymddangos fel yn delwi ac yn diflanu yn ymyl yr Archoffeiriad mawr hwn; a phan mae yr awdwr yn ei ddal ef mewn cyferbyniad â hwy, ac yn dangos ei ragoriaeth ef arnynt, yr ydym yn craffu fod grym ei ymresymiad yn wastad yn dibynu ar Ddwyfoldeb ei Berson, ac ar effeithiolrwydd a haedd-

iant ei aberth mewn canlyniad i hyny. Yr oedd y naill wedi eu gwneuthur yn offeiriaid yn ol cyfraith gorchymyn cnawdol, a'r llall yn ol nerth bywyd annherfynol. Am danynt hwy, yr oeddynt yn offrymu yn fynych yr un aberthau, y rhai nad allent byth ddilëu pechodau. "Eithr hwn," medd yr apostol; hwn gyda chyflawnder mawr ei Berson yn llenwi ei aberth â haeddiant—"eithr hwn wedi offrymu un aberth dros bechodau, yn dragywydd a eisteddodd ar ddeheulaw Duw." Ac wedi crybwyll y ffaith addefedig fod gwaed teirw a geifr yn sancteiddio i bureiddiad y cnawd, y mae yn gofyn gydag ymffrost, "Pa faint mwy y bydd i waed Crist, yr hwn trwy yr Ysbryd tragywyddol a'i hoffrymodd ei hun yn ddifai i Dduw, buro eich cydwybod chwi oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y Duw byw?"

Byth ar ol y cwymp, yr oedd y ddeddf yn wâg o ufudd-dod, yn debyg i sianel hen afon yn nghrasdir y dehau, â'i dyfroedd wedi sychu a cholli yn y tywod. Ond pan y gwnaed Mab Duw o wraig a than y ddeddf, fe redodd y môr i'r hen sianel hon, gan ei llenwi o ymyl i ymyl, a llifo drosodd, yn anfeidrol haeddiant ei ufudd-dod, i godi llestr pechadur o laid ei melldith hi, i nofio drachefn yn sianel ufudd-dod i'r hafan ddymunol. Meddyliwch, fy mrodyr, os oedd dyn yn gallu ateb yn llawn i ofyn y gyfraith tra ar ddelw Duw ac yn gyfranog o'i natur, pa anrhydedd a gafodd, dybygech chwi, pan y daeth Duw ei hunan yn natur dyn i'w chyflawni? Dyma ufudd-dod sydd yn ddigon o addaliad i'r Duw mawr am wrthryfel y crëadur. Y mae wedi dwyn mwy o anrhydedd iddo yn sancteiddiad ei gyfraith nag a ddiraddiwyd arni trwy anufudd-dod y byd. O y fath sail sydd i ddyrchafiad pechadur tlawd yn narostyngiad y Person hwn! Y fath bris neu werth oedd yn ei waith ef yn ei ddibrisio ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes! Pwy bynag a pha beth bynag sydd yn dy erbyn di, bechadur, y mae yma fwy i'w roddi o dy blaid: "Canys os trwy gamwedd un y teyrnasodd marwolaeth trwy un, mwy o lawer y caiff y rhai sydd yn derbyn llïosogrwydd o ras, ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu mewn bywyd trwy un, Iesu Grist." Yr oedd natur a chyfeiriad pechod dyn yn peri fod yn rhaid cael iawn mawr am dano; ac yn yr Emmanuel, Duw gyda ni, y cafwyd yr iawn digonol. Pa le y ceir digon o iawn am i un oedd ymhob modd yn rhwym i ufuddhâu

i'w Grëawdwr a'i Ddeddfwr anufuddhâu? Yn "ufudd-dod Un" oedd heb rwymau ufudd-dod arno. Beth a foddlona am i'r hwn oedd dan y ddeddf amcanu myned yn uwch na hi a'i dirmygu? Cael ei huwch i fyned oddi tani a'i mawrhâu? Beth a ryddhâ y tlawd heb ddim a geisiodd dreisio cyfoeth Duwdod? Dim llai nag iddo Ef, oedd erioed yn gyfoethog, ddyfod er ei fwyn yn dlawd. Dyma ufudd-dod Duw-ddyn yn ateb am anufudd-dod dyn—yr Arglwydd o'r nef yn sefyll yn lle y daearol o'r ddaear. Nid rhyfedd gan hyny fod yn ysgrifenedig am hwn mai difai oedd ei offrwm, a gwerthfawr ei waed.

Gellir dysgwyl y bydd i'r ystyriaethau hyn beri i ni weled gwerth y prynedigaeth y mae'r testun yn sôn am dano. Offrymiad y gwaed hwn oedd taliad y pridwerth. Mae prynedigaeth yr eglwys eisoes yn gyflawn a dïogel yn Nghrist; ac yn raddol y mae yn cael ei berffeithio yn y credadyn, o'r adenedigaeth hyd adgyfodiad y corff, nes bod iddo yn waredigaeth gyflawn a thragyw yddol oddiwrth bechod a'i ganlyniadau.

Wedi ymdrin fel hyn nghylch aberth Crist o ran ei werth cynhenid a thumewnol ei hun, ni a ddybenwn gydag ychydig eiriau am ei effeithiau gogoneddus, trwy ba rai y mae ei werth yn cael ei amlygu.

1. *Yn ngwaed Crist y mae meddwl mawr Duw wedi cael boddlonrwydd am bechod.* Yr oedd prïodoliaethau y Duwdod bendigedig yn gofyn am hyny. Os peth o benarglwyddiaeth oedd achub pechaduriaid, nid mater o benarglwyddiaeth oedd eu hachub trwy iawn, eithr peth yn ol gwir anghenrheidrwydd natur Duw. Nid un ffordd allan o lawer ydoedd hon, ond yr unig ffordd deilwng i'r Jehofah achub yr euog. Wrth hyny yr oedd yn rhaid i'r hyn a osodid yn iawn fod felly mewn gwirionedd. Os iawn a ofynid, iawn oedd raid ei gael, a dim llai na hyny. Os oedd meibion lawr i'w dwyn i ogoniant ar gyfrif angeu Un, gweddus ydoedd fod yn yr angeu hwnw y fath haeddiant fel y byddai Duw yn gyfiawn ac yn ogoneddus byth yn ein hiachawdwriaeth. Edrychwch i Galfaria: Iesu sydd yn gosod ei enaid yn aberth dros bechod; "a'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." Do! efe a wnaeth i holl lifddyfroedd digofaint am bechod gydruthro ar y Gŵr canol. Dacw Gyfiawnder nef yn dal y clorian: pechodau'r byd a'u canlyniadau yn un pen, a sancteiddrwydd,

ufudd-dod, a dyoddefaint Crist yn y pen arall. Y mae gogoniant Duw, iachawdwriaeth dyn, a goruchafiaeth ar ddiafol, yn dibynu ar dröad y clorian. O awr ryfedd! y mae uffern yn ewynu a gwrthwynebu, y nefoedd yn synu a thewi, a Christ yn ymdrechu ac offrymu. O'r diwedd, dyna yr Arglwydd cyfiawn yr hwn a gâr gyfiawnder, a'r perffeithgwbl o wybodaeth, yn llefaru mewn grym ac mewn prydferthwch, "Mi a gefais iawn! Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd!" Ac nid rhywbeth ar y wyneb oedd y boddlonrwydd hwn: "fy Anwylyd," medd y Tad, "yn yr hwn y mae fy enaid yn foddlawn." Pan dynodd dyn yn ôl oddiwrtho, nid oedd enaid Duw yn ymfoddloni ynddo. Eithr yn awr os daw yr euog, gan ddefnyddio enw Iesu Grist y Cyfiawn fel yr iawn dros ei bechodau, i weddïo ar Dduw am ei fywyd, "yntau a fydd boddlawn iddo." A foddlonir yr Arglwydd âg un aberth y groes? Gwneir yn dragywydd. Yr Arglwydd sydd foddlawn byth er mwyn ei gyfiawnder Ef, yr Hwn a fawrhäodd y gyfraith, ac a'i gwnaeth yn anrhydeddus. Nac aros, ynte, yn hwy i'th wella dy hun, O fy enaid; ond, fel yr wyt, tyred at Dduw trwy Grist; ac "efe a achub, efe a lawenycha o'th blegid gan lawenydd; efe a lonydda yn ei gariad, efe a ymddigrifa ynot dan ganu."

2. *Mae y gwaed hwn yn tangnefeddu cydwybod pechadur yn ngolwg Duw.* Dau lŷs nas gellir eu boddloni â dim oferedd celwydd yw llŷs y nefoedd a llŷs cydwybod. Gwelwch y pechadur wedi ei wysio i wyddfod Duw. Mae y ddeddf sanctaidd, gyfiawn, a da, yn llefaru yn ei fynwes, "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw. Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt." Mae yr hen ddychymygion ysgafn am Dduw wedi diflanu, a hen syniadau ei gydwybod am gyfiawnder a sancteiddrwydd Duw, oedd yn gorwedd dan ludw, wedi eu hadgyfodi mewn nerth. Y mae Duw yn craffu ar anwireddau, a'r troseddwr yn methu sefyll. Beth am y rhinweddau cymydogol a'r cyflawniadau crefyddol yr oedd y dyn mor falch o honynt? Na soniwch am danynt heddyw; mae'r holl gyfiawnderau, fel yr anghyfiawnderau, yn rhy ffiaidd i'w dangos o flaen llygad Duw; "bratiau budron" ydynt. Nid oes heddwch, medd yr enaid euog; gwae fi, canys darfu am danaf! Ond cyn i'w fywyd fyned i'r dinystrwyr, dyna ryw genad

o ladmerydd yn deongli i'r truan effeithioldeb gwaed ei groes Ef, yr hwn a osododd Duw yn iawn, ac y mae yntau yn crogi holl achos ei enaid ar yr iawn hwnw. A pha beth a ddaw iddo bellach? Wele orchymyn yn dyfod o'r llŷs uchaf i lŷs y gydwybod, Gollwng ef, rhag disgyn o hono i'r clawdd—i bwll colledigaeth; myfi a gefais iawn; ac y mae efe heddyw wedi uno ei achos â'r iawn sydd yn fy moddloni, ac felly wele efe wedi gwneuthur heddwch â mi. Y mae yr enaid weithian yn llawenhâu, nid wrth gadw Duw o'r golwg, ond gan edrych arno ef. "Efe a edrych yn ei wyneb ef mewn gorfoledd." Hunan-dwyll oedd yn estyn heddwch iddo o'r blaen; ond bellach "gwaith cyfiawnder fydd heddwch." Wedi aberthu, a thaenellu gwaed y cyfammod ar y bobl, yr oedd pendefigion Israel yn gallu gwledda yn dawel a hyfryd ar Sinai, gyda Duw yn ei ogoniant yn y golwg. Anfeidrol fraint yw gallu tystio, "Y mae genym heddwch tuag at Dduw trwy ein Harglwydd Iesu Grist." Ond y mae mwy i'w ddywedyd: "Ac nid hyny yn unig, eithr gorfoleddu yr ydym hefyd yn Nuw trwy ein Harglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn yr awr hon, y derbyniasom y cymmod." Y mae o'r pwys mwyaf i bob dyn gael cydwybod dawel; ond ni cheir byth wir heddwch cydwybod heb i waed Crist ei phuro; ac y mae yr heddwch a geir trwy waed ei groes ef yn heddwch a gyfreithlonir gan orseddfainc Duw, ac yn heddwch sydd yn cael ei ddilyn gan ymhyfrydiad ac ymffrost yn yr Arglwydd. "Yn ddïau yn yr Arglwydd, medd un, y mae i mi gyfiawnder a nerth; yn yr Arglwydd y cyfiawnhëir ac yr ymogonedda holl hâd Israel."

3. *Mae gwaed Crist yn cynnal enaid y cristion wrth fyned i dragywyddoldeb.* Llawer gelyn a orchfygodd efe yn ystod ei yrfa grefyddol trwy waed yr Oen; a thwy y gwaed efe a orchfyga eto y gelyn diweddaf, sef yr angeu. Awr ddifrifol yw awr marw: dyn yn ymwybodol ei fod yn marw—ei fod yn gadael y byd hwn, ei deulu, a'i holl gyfeillion, ïe, yn gadael ei gorff ei hun i fyned i bydru i lwch y ddaear—ac, yn fwy na hyn oll, y bydd raid iddo yn ebrwydd bellach fod yn ngwyddfod digyfrwng y Duw byw, a'i le am dragywyddoldeb yn cael ei benderfynu gan y Barnwr cyfiawn. Nid rhyfedd os dywed mewn pryder, Dyma fy enaid yn myned i sefyll o flaen yr orseddfainc wèn fawr; a pha beth a wnaf pan godo Duw? a phan farno efe, beth a atebaf iddo? Ond y mae ffydd yn ngwerthfawr waed Crist yn lleddfu ingoedd natur,

ac yn rhoddi llonyddwch rhag ofn drwg, nes y mae'r cristion yn gallu gobeithio pan yn marw. Yn debyg i Simëon, nid yw yn gweled angeu cyn iddo weled Crist yr Arglwydd—ei weled yn aberth hollddigonol drosto, yn gystal ag yn Gyfaill hollalluog iddo; ac â'i olwg ar yr haeddiant sydd yn gaer a rhagfur rhyngddo ag uffern, ac yn rhoddi iddo ryddid a hawl i fyned i mewn trwy'r pyrth i'r ddinas nefol, y mae yn colli ofn angeu; ydyw! yn colli'r "Gâd im' lonydd fel yr ymgysurwyf ychydig," ac yn lle hyny yn teimlo, "Mae arnaf chwant i'm dattod, ac i fod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw." Pa faint a dâl mwynhâu y fath gysur cryf yn awr yr ymadawiad! llawn-sicrwydd gobaith yn y diwedd yn dywedyd, O herwydd marwolaeth y groes, nid oes i'r ail farwolaeth awdurdod arnaf. Os cafodd angeu amserol hawl arnaf trwy anufudd-dod yr Adda cyntaf, y mae genyf hawl i fywyd tragywyddol trwy ufudd-dod Adda yr ail. Mae fy mater wedi ei glirio, fy mhechod wedi ei faddeu, a fy nghartref wedi ei barotôi yn nhŷ fy Nhad, trwy waed yr Oen; ac am hyny, henffych dragywyddoldeb!

Wrth adael ein mater hwn yn bresennol, ymholwn a ydym ni yn gwybod y pethau hyn yn effeithiol ac yn ymarferol. Ymarweddwch, medd yr apostol yma, gan wybod pa fath werth yw pris eich prynedigaeth. "Byddwch sanctaidd—ymddygwch mewn ofn —gan wybod nad â phethau llygredig, megys arian neu aur, eich prynwyd—eithr â gwerthfawr waed Crist." Os ydych yn edrych arnoch eich hunain yn werth gwaed Crist, nis gellwch fyw fel pe yn eiddoch eich hunain, ond chwi a gysegrwch eich hunain yn yr hyn ydych ac sydd genych iddo Ef yr hwn a roddodd y fath bris am danoch. "Er gwerth y prynwyd chwi; gan hyny gogoneddwch Dduw yn eich corff ac yn eich ysbryd, y rhai sydd eiddo Duw." Na thybiwch eich bod trwy y gwaed wedi eich rhyddhâu oddiwrth ddigofaint Duw, os nad ydych yn rhyddion hefyd oddiwrth anwiredd. Ni phrynwyd mo honoch oddiwrth uffern heb eich prynu oddiwrth eich ofer ymarweddiad. Glanhâu y mae gwaed Iesu Grist oddiwrth bechod, ac nid cadw neb ynddo.

## PREGETH XIII.

### DIWEDDIAD GWELL NA'R DECHREUAD.

PREGETHWR vii. 8: "Gwell yw diweddiad peth na'i ddechreuad."

Y MAE y geiriau yn cynnwys un o'r ffeithiau nodedig ag sydd yn perthyn yn anocheladwy i'n hanfodiad neu ein cyflwr ni yn y fuchedd hon; a'r ffaith hòno ydyw, fod dechreuad pob peth â'i lygad ar ei ddiweddiad; yr hyn sydd yn blaenori yn myned rhagddo at yr hyn sydd yn dilyn, yn bod er mwyn hwnw, ac yn gwasanaethu mewn trefn i'w gyrhaeddyd; ïe, y mae ei brif werth neu ei bwys yn gynnwysedig yn yr hyn sydd yn ei ddilyn ac i'w gyrhaeddyd trwyddo. Fel hyn y mae mebyd yn cael ei ystyried gyda golwg ar oedran, a gwaith y naill dymmor o'r oes yn barotöad at dymmor arall o honi; ac i'r duwiol, nid yw yr holl oes ond parotöad at dragywyddoldeb. Yn awr y mae y testun yn gosod allan athrawiaeth sydd yn seiliedig ar y ffaith hon, sef fod diweddiad peth yn well na'i ddechreuad. Ond nid yw y testun, mae yn ddïau, yn golygu mai fel hyn y mae yn gwbl a hollol. Nid ymhob ystyr, na phob amser, na chyda phob peth, y mae y diwedd yn well na'r dechreuad. Dywedir am rywun y bydd diwedd y dyn hwnw yn waeth na'i ddechreuad (Mat. xii. 45). Ond os bydd y diwedd neu yr amcan yn dda a theilwng, a dyn trwy ei egni blaenorol yn cyrhaedd yr amcan hwnw, yna y mae y diwedd yn well na'r dechreuad. Y mae y ffrwyth yn well na'r blodau—y wobr yn well na'r gwaith—iawn ddefnyddiad pob

moddion, a'r cyfranogiad o'u heffeithiau a'u dyben, yn well na'r meddiant yn unig o'r moddion eu hunain.

Ni a eglurwn athrawiaeth y testun gyda golwg ar y byd gweledig neu naturiol, ac ar y byd moesol neu ysbrydol.

I. Y MAE HYN I'W WELED YN Y BYD NATURIOL.

Os bydd y dechreuad yn dda, a'r peth yn dyfod rhagddo yn llwyddiannus, gellir gobeithio y bydd y diweddiad yn well na'r dechreuad. Meddyliwch am y baban newydd-eni. Y fan y gweloch chwi ef, yr ydych yn dechreu edrych ymlaen; y mae eich holl orchwyliaethau tuag ato yn golygu y dyfodol. Mae yn cael ei olchi, ei ddilladu, a'i borthi, gyda gobaith y gwelir ef fel Moses wedi myned yn fawr. Ac os llwyddir i'w faethu er gwaethaf clefydau a damweiniau mabandod, mae diweddiad y peth yn well na'i ddechreuad. Fel yr ymegyr ei feddwl, yr ydys yn dechreu taflu llythyrenau y wyddor iddo. Hynod mor fychan yw y dechreu, ac mor annyben y cynnydd; ond fe ddelir ati gyda golwg ar ei gael yn y dyfodol yn ddoeth a dysgedig; ac os llwyddir, mae'r diwedd yn well na'r dechreuad. Ceisir hefyd, mi obeithiaf, ffurfio ynddo ymarferiadau da: cywiredd, cyfiawnder, gonestrwydd, diwydrwydd, cynnildeb, a'r cyffelyb i'r rhai hyn, mewn trefn i'w gael, nid yn unig yn ddyn mawr ac yn ddyn dysgedig, ond yn ddyn da a duwiol, ac yn aelod buddiol o gymdeithas; ac os gwêl y rhai a drafferthasant gydag ef eu bod wedi cyrhaedd eu hamcan, mae y diweddiad yn well na'r dechreuad. Dyna efe yn cael ei brentisio, ac wedi hyny ei osod i fyny yn y byd yn wyneb llawer o gôst a phryder; ond gweled y cyfan yn ateb dyben a fydd yn llawenydd mawr; y gŵr ieuanc wedi dyfod yn gysur i'w deulu, yn anrhydedd i'w henafiaid, yn addurn i gymdeithas, ac yn fuddiol yn ei oes,—y fath deimlad boddhäol fydd hyny i'w rïeni, neu i'w warcheidwaid ffyddlawn a chydwybodol; bydd eu harenau yn crychneidio, a'u profiad yn dysgu iddynt, "Gwell yw diweddiad peth na'i ddechreuad." Nac anghofiwch, bobl ieuainc, y rhaid i'r dechreuad o'ch tu chwi fod yn dda gyda golwg ar y byd hwn mewn trefn i'r diweddiad fod yn well na'i ddechreuad. Mebyd ac ieuenctyd yw yr adeg mewn dysg a chelfyddyd, ac i ffurfio ymarferiadau da, ac i ymsefydlu ynddynt. Os collwch chwi eich adeg hon, chwi a fyddwch byth yn anmherffaith yn y pethau hyny, yr hyn a fydd yn anfantais i chwi tra y byddoch byw. Gellwch

mewn rhywbeth, hwyrach, ragori wedi dyfod i oed. Ond am y pethau sydd i'w dysgu yn ieuanc—dyweder, darllen, ysgrifenu, rhifyddu, a'r cyffelyb, ni iawn ddysgwch byth mo honynt onis gwnewch yn ieuanc. Ac, erbyn heddyw, y mae gweled bachgen yn troi allan i'r byd hebddynt, mor chwithig ag a fyddai gweled crefftwr heb ei daclau gweithio, neu filwr yn wynebu y frwydr heb ei arfogaeth. O blant a bechgyn ieuainc, dysgwch ymwrthod â phleserau y fynyd; glynwch wrth ddyledswyddau yr ysgol, neu eich prentisiaeth, neu eich galwedigaeth, serch eu bod i'r teimlad yn flin a diflas ar lawer tro; o herwydd bydd diweddiad y peth yn well na'i ddechreuad. Y mae dysgu hunanymwadiad a dysgyblu y meddwl gyda phethau cyffredin, nid yn unig yn ffordd i ddaioni yn y bywyd hwn, ond yn debyg o fod o fawr wasanaeth i chwi eto gyda phethau uwch.

Pe meddylier drachefn am ymchwiliadau anianyddol a chelfyddydol, pan ar ol darganfod egwyddorion a deddfau natur, y llwyddir i'w troi i ddybenion ymarferol,—dyna'r diweddiad yn well na'r dechreuad. Yr oedd y gwyddonwr yn dechreu e ymchwil i ddirgelion natur mewn anwybodaeth, ammheuaeth, a phryder. Yr oedd yn tybied ei fod wedi cael y rheswm, ond dyna efe eto yn cael ei siomi. Eithr mor felus ydyw pan y mae yn diweddu mewn gwybodaeth, sicrwydd, a boddlonrwydd. A'r un modd y mae wrth eu troi i wasanaeth ymarferol. Bu pryder mawr ar ddarganfyddwyr a chynllunwyr celfyddydol rhag bod egwyddorion yn rhywle heb eu canfod a'u hadnabod a fuasent yn dyfetha y cwbl; ond ar ol gweled y *gas*, y *telegraph*, y rheilffyrdd, a'r pontydd mawrion, wedi eu cwblhâu yn llwyddiannus, ac yn ateb y dyben, mwynhëid y diweddiad yn well na'r dechreuad. Digon dymunol yw gweled y llong yn troi allan o'r porthladd dan ei llawn hwyliau i'w mordaith bell; ond pan y ceir ei gweled wedi dychwelyd yn llwythog, yn hwyliog, a llwyddiannus trwy yr ystormydd oll, gofynwch i'w pherchen y dydd hwnw ai nid gwir ein testun, "Gwell yw diweddiad peth na'i ddechreuad." Nid yw y llafurwr yntau yn gwneuthur dim er ei fwyn ei hun, eithr y dyfodol sydd mewn golwg. Dacw efe yn gweithio, yn aredig er oerder y gauaf, yn hau yn y gwanwyn, ac wedi hyny yn hir ddysgwyl am werthfawr ffrwyth y ddaear, yn dda ei amynedd am dano; ond pan y caiff y meusydd yn wỳnion, ac y rhydd y cryman i

mewn, dyna'r diweddiad yn talu am y dechreuad, a'r hau mewn dagrau yn troi yn fedi mewn gorfoledd.

II. Mae yr athrawiaeth hon yn wirionedd o'i chymhwyso at y byd ysbrydol, neu gyda golwg ar grefydd.

Y mae i grefydd ei dechreu a'i diwedd; ac mor sicr â bod ei dechreuad hi yn dda, bydd y diweddiad ymhob ystyr yn well na'r dechreuad.

Gallwn gymhwyso hyn at bethau mawrion crefydd mewn tri golygiad.

1. *Gwell yw diweddiad yr iachawdwriaeth yn y cyflawniad o honi gan Grist na'r dechreuad o honi mewn bwriad ac addewid.*

Bwriad grasol Duw yw dechreu neu wreiddyn yr iachawdwriaeth; a'r gwerth mawr oedd arni yma ydoedd fod y bwriad yn ei chylch yn sicr o gael ei gyflawni. Yr un modd, pan y caed hi mewn addewid: ei gwerth annhraethol ydoedd ei bod yn addewid y digelwyddog Dduw. Yr oedd y dechreuad yn dda, ond dechreuad bychan ydoedd: un addewid yn unig, a hòno yn ddim ond awgrym bỳr ac anghyflawn; awgrym am fywyd tragywyddol i ddyn, a hyny yn cael ei hysbysu mewn ffordd o fygythiad ar y diafol yn hytrach nag fel addewid uniongyrchol i'n rhïeni cyntaf. Eto bu hyn yn hedyn bywyd tragywyddol yn eu meddyliau hwynt; parodd iddynt gredu, proffesu, ac addoli yn y fan. Trwy ffydd yn nghyfryw addewid yr offrymodd Abel i Dduw aberth rhagorach na Chain. Trwy ffydd ynddi y rhodiodd Enoch gyda Duw nes ei gymeryd i'r nefoedd; a'r un modd y gwnaed Noah yn etifedd y cyfiawnder sydd o ffydd. Yr addewid, a gobaith yr addewid hon, oedd bywyd crefydd yr oesoedd. Rhoddwyd hi yn ehangach i Abraham, fel yr oedd efe yn gweled drwyddi ddydd Crist, a'r wlad well, a'r ddinas âg iddi sylfeini; a thrwy ffydd ynddi y cyflawnodd efe ei holl ufudd-dod. I'r hon addewid yr oedd y deuddeg llwyth, gan wasanaethu Duw, yn gobeithio dyfod. Y gobaith am y Messïah, a'r adgyfodiad a'r bywyd tragywyddol trwyddo, oedd bywyd yr holl addoli yn eu mysg.

Os oedd dechreuad y peth fel hyn yn wreiddyn cymaint o ddaioni, beth am ddiweddiad y peth hwnw? Yr oedd pob peth yn cydgyfarfod i wneuthur y diwedd yn llawenydd mawr. "Gobaith a oeder a wanhâ'r galon;" a dyma yma ddiwedd da hen ddysgwyliad a gobaith yr oesoedd. Yr oedd pedair mil o flyn-

yddoedd er rhoddiad yr addewid yn Eden hyd ei chyflawniad. Ac ymddangosai rhywbeth fel yn milwrio o hyd yn erbyn cyflawniad yr addewid, nes yr oedd yr oesau cyd rhwng yr addewid a'r cyflawniad yn edrych oll yn oesau o rwystrau. Profedigaeth fawr oedd yr eiddo Efa: pan anwyd ei mab cyntafanedig, hi a ddywedai yn orfoleddus, "Cefais ŵr gan yr Arglwydd," neu, Cefais ŵr gyda'r Jehofah; un mawr yn ei olwg, ac a wna'r peth mwyaf trwyddo: yr hâd y wraig a ysiga ben y sarph. Ond pwy a gafodd hi yn y gŵr hwnw eithr Cain, yr hwn oedd o'r drwg, ac a laddodd ei frawd! Duw yn y cnawd oedd gobaith y patrïarchiaid; ond dyma i Noah yr hysbysiad arswydus oddiwrth Dduw, "Diwedd pob cnawd a ddaeth ger fy mron." Cyfyngwyd yr addewid i Abraham; ond pa fodd felly y ceid y Messïah? "Arglwydd Dduw, beth a roddi di i mi, gan fy mod yn myned yn ddiblant?" ebe efe. Wele, efe a gafodd Isaac yn wyrthiol; eithr wedi ei fyned yn llanc dymunol, dyma orchymyn Duw i Abraham i'w offrymu iddo yn boeth-offrwm. Wedi hyny yr oedd yr addewid, dybygid, wedi ei diffrwytho a'i cholli yn ngwlad yr Aipht; ac yn gyffelyb y bu wedi hyny yn Babilon. Ond, trwy y cwbl, yr oedd yr addewid am Grist fel llong ar ei thaith, yn dyfod yn nesnes at y porthladd a ddymunid. Yr oedd yr addewid yn fyw wedi i Abel farw—hi a nofiai'r diluw gyda Noah—gorchfygodd henaint ac angeu yn Abraham—a daeth allan yn ogoneddus o'r Aipht ac o Babilon; nes o'r diwedd y cyhoeddodd angel Duw yn nghlyw bugeiliaid Bethlehem, "Wele yr wyf yn mynegu i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl; canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd!" a dyma blant dynion hwythau yn ymorfoleddu, Ni a gawsom y Messias! Y mae'r diweddiad yn well na'r dechreuad. Mae'r ddyfais dragywyddol wedi ei rhoddi mewn gweithrediad—yr addewidion a'r cysgodau wedi eu cyflawni ynddo Ef, Eneiniog ac Anfonedig Duw.

Diwedd peth mawr iawn, a'r peth mwyaf, oedd hyn. Pan y byddo peth mawr a phwysig, ar ol hir bryder o barth iddo, wedi dyfod i ben, mae yn achos llawenydd cryf. Iachawdwriaeth pechaduriaid yw y peth mwyaf Duw ei hun. Pob peth a wnaethai efe o'r blaen, yr oeddynt wedi eu gwneuthur er mwyn Iesu Grist a'r prynedigaeth. Y benaf o ffyrdd Duw oedd hyn; yr amlygiad

gorphenol o'i ogoniant i'w grëaduriaid. Yr oedd golwg Duw, wrth wneuthur y cyfan yn y grëadigaeth gyntaf trwy Iesu Grist, am i'r cwbl fod erddo ef fel Cyfryngwr, dan ei lywodraeth ac at ei wasanaeth fel Pen y grëadigaeth newydd. Ac felly yr oedd Mab Duw yn llawenychu yn nghyfanneddle y ddaear cyn ei bod hi, gan ei fod yn edrych ymlaen at y gwaith digymhar a gyflawnai efe ar ei hwyneb. Ac am holl orchwyliaethau Duw o'r dechreuad mewn rhagluniaeth, ac yn ngosodiadau ei dŷ, nid oedd y cyfan onid un cysgod mawr, neu brophwydoliaeth helaeth, am dano ef a'r iachawdwriaeth trwyddo. Gallasai efe ddywedyd am y cwbl, "Yr oeddwn i yno." Oeddwn! yr oeddwn i yn y grëadigaeth—yn yr achub trwy ddwfr y diluw—yn y waredigaeth o'r Aipht, ac yn yr orphwysfa yn Nghanaan. Myfi oeddwn yn yr addewidion, yn y prophwydoliaethau, ac yn y cysgodau a gafodd yr eglwys: yr oeddwn yn y cwbl fel y ffrwyth yn yr hedyn—yn sylwedd, amcan, a diwedd yr oll o honynt. Ac wedi i'r Messïah ymddangos, yr oedd y cwbl yn ymgolli i hanfodi mewn dull uwch ynddo ef: y tabernacl yn ymgolli yn y tabernacl uwch a pherffeithiach—y deml mewn un mwy na'r deml—yr aberthau mewn un aberth dros bechodau yn dragywydd—offeiriadaeth Aaron yn yr offeiriadaeth dragywyddol—a gorseddfainc Dafydd yn y freniniaeth na ddystrywir byth. Y mae'r diweddiad yn well na'r dechreuad.

Wedi gwneuthur hyn, ni wna yr Hollalluog waith mwy a gogoneddusach byth. Wele y benaf o'i ffyrdd, yr amlygiad mwyaf o hono; ac yn awr efe a all orphwys oddiwrth ei holl weithredoedd. Wedi iddo grëu y byd, a chrëu Israel yn bobl iddo ei hun, er fod yn hyny amlygiadau rhyfedd o'i ogoniant, nis gorphwysodd efe yma, oddigerth gorphwyso mewn peidio gwneuthur mwy yn y ffyrdd hyny; na! yr oedd ynddo ogoniant mwy ofnadwy, a bwriadau mwy rhyfeddol, i'w dwyn i'r golwg trwy weithredoedd eraill, a chrëadigaeth fwy na'r cyfan. Gallasai ddywedyd wrth sêr y bore, pan yn cydganu ar sicrhâd sylfeini a gosodiad conglau'r ddaear, ac wrth Israel ar làn y Môr Coch, yn canu yno i'r Arglwydd am wneuthur dyfnderoedd y môr yn ffordd i'r gwaredigion fyned drwodd, A ydych chwi yn awr yn canu? nid yw y diwedd eto; chwi a gewch weled pethau mwy na'r rhai hyn. "Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd,

fel y cyflawnwyf y peth daionus a addewais i dŷ Israel ac i dŷ Judah." Ar ol yr holl ddaioni a wnaethai yr Arglwydd i Israel, yr oedd rhyw "beth daionus" yn nghadw, heb ei wneuthur eto; ac yn ymyl cyflawniad y peth hwnw, byddai y daioni a dderbyniwyd o'r blaen yn myned o'r golwg. Yr oedd diweddiad y peth yn well na'i ddechreuad. Yn Iesu Grist a'i gyfryngdod, y mae'r Duw anfeidrol wedi llonyddu yn ei gariad, yn cyflawni boddlonrwydd ei ddaioni yn dy iachawdwriaeth di, fy enaid—yn rhoddi y fath amlygiadau o'i ddoethineb, ei ras, a'i gariad, ag sydd nid yn unig yn synu a digoni saint ac angelion, ond yn cyflawni y Meddwl Dwyfol annherfynol ei hun. Gorphenwyd! medd Iesu; a Boddlonwyd! medd Duw: mae fy ewyllys wedi llwyddo yn berffaith yn llaw fy Mab fel fy ngwas; mae fy enw wedi ei hysbysu yn llawn; nis gallaf wneuthur dim a fydd fwy. Dyma bob amlygiad o Dduw wedi diweddu yn yr amlygiad o hono yn Nghrist; ac y mae'r diweddiad hwnw yn gymaint gwell na'r dechreuad fel y mae wedi llyncu pob peth blaenorol iddo ei hun, a Duw wedi gorphwys ynddo yn dragywydd.

Ac megys y mae Duw wedi gorphwys ynddo, felly y mae yr eglwys hefyd wedi ei pherffeithio trwyddo. Yr oedd hi yn bod ar y ddaear o'r dechreuad; ond dacw hi dan y ddeddf mewn cyflwr gwasaidd, caeth, ac anmherffaith iawn, yn debyg i etifedd dan oed. Yr oedd Duw yn rhagweled rhywbeth gwell am danom ni, fel na pherffeithid hwy, hen bobl yr Arglwydd, hebom ninnau. Wele yr Offeiriad mawr âg un offrwm yn dybenu camwedd, selio pechodau, gwneuthur cymmod dros anwiredd, dwyn cyfiawnder tragywyddol, dinystrio y diafol, diddymu angeu, a dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni trwy yr efengyl. Ac heblaw sicrhâu y nefoedd a'i holl ogoniant tragywyddol i'r eglwys, efe a ddygodd yr eglwys ar y ddaear i ystâd nês i'r nefoedd nag yr oedd hi wedi bod erioed o'r blaen. Yr oedd ei ddyfodiad ef yn grëadigaeth newydd i'r eglwys. Newidiwyd y cysgodau am y sylwedd, gweinidogaeth damnedigaeth am weinidogaeth cyfiawnder, gwasanaeth yn hender y llythyren am wasanaeth mewn newydd-deb ysbryd, ac addoli o hirbell mewn ysbryd ofn am ddyfodfa mewn ysbryd mabwysiad at y Tad. Gwell yw diweddiad gwaith yr iachawdwriaeth na'r dechreuad.

2. Gallwn gymhwyso yr egwyddor yn y testun at *yr oruchwyl-*

*iaeth rasol a sefydlodd Crist yn y byd*, neu, at ei deyrnas a'i achos ar y ddaear.

Yr un yw hi ynddi ei hun bob amser, mae yn wir, a'r un yw ei heffeithiau sanctaidd ymhob oes ac ar bob calon; ond o ran ei chynnydd, a graddau yr effeithiau a fydd yn cydfyned â'i chynnydd, ceir ei diweddiad yn well na'i dechreuad. Yr oedd ei dechreu yn annhraethol well na dim a fu o'i blaen. Sefydlwyd hi yn nghnawdoliad Mab Duw, yn nghyflawniad gwaith y prynedigaeth trwy angeu, ac yn nhywalltiad yr Ysbryd Glân gyda phregethiad gair y deyrnas a gweinyddiad ei hordinhadau. Ond bydd ei diwedd, pan fyddo yr achosion gogoneddus hyn wedi cyrhaedd eu hamcanion, a chario eu heffeithiau ar y byd, yn well na'i dechreuad.

Meddyliwch pa fodd y cafodd hi ddynoliaeth o ran crefydd a moesau, a pheth y mae hi yn meddwl ei wneuthur i ddynion. Yr oedd byd ac eglwys yn ymddangos ar ymddattod i'w dinystr pan ddaeth Crist â'i deyrnas i mewn i gynnal eu colofnau hwynt. Yr oedd annuwiaeth ac eilunaddoliaeth yn eu grym; tywyllwch yn gorchuddio y cenedloedd, a'r fagddu y bobloedd; pren a maen wedi myned â lle y gwir a'r bywiol Dduw yn meddyliau trigolion y ddaear o'r bron; temlau yr eilunod yn britho y gwledydd, a Satan yn a thrwy y cyfan wedi sicrhâu gwasanaeth ac addoliad y byd iddo ei hun. Ac ynglŷn â chrefydd ddrwg yr oedd y brynti mwyaf mewn moesau. Yr oedd dynion wedi gwrthod goleuni natur, yn troi gwirionedd Duw yn gelwydd, a gogoniant yr anllygredig Dduw i lun pethau llygredig a dirmygus, yn ymwerthu ac yn cael eu gwerthu i feddyliau anghymeradwy a gwyniau gwarthus, wedi eu llenwi â phob anghyfiawnder, yn myned rhagddynt o'r naturiol i'r annaturiol a'r brwnt i'w adrodd, ac o'r gwyniau cnawdol i'r gwyniau dieflig, yn llawn cenfigen, llofruddiaeth, cynhen, twyll, a dryganwydau, nes yr oedd cymdeithas wedi myned fel anialwch diffaith, a dynion fel bwystfilod creulawn, yn dyfetha bywydau, meddiannau, rhyddid, a holl gysuron eu gilydd. Eu rhyfeloedd oeddynt waedlyd, a'u hawdurdodau yn llawn trais; y llïaws wedi arfer cael eu molestu gymaint fel na byddent agos yn gallu gobeithio am ddim mwy na gochelyd cael eu malu gan eu gorthrymwyr; nid oedd eu caethiwo, eu gordrethu, a'u dirmygu, gan eu huchafiaid treisiol, ond pethau i'w

dysgwyl fel blinderau anocheladwy bywyd. Dyna ansawdd y byd. Beth a'i meddyginiaetha? Mae y Salmydd wrth syllu ar ei wlad mewn amser llygredig yn diweddu un salm gyda banllef, "Pwy a ddyry iachawdwriaeth i Israel o Sïon?" a salm arall gan ddeisyfu, "O na roddid iachawdwriaeth i Israel o Sïon!" (Psalm xiv. a liii.) Os na ddaw iachawdwriaeth o Sïon, nis gall ddyfod o unlle arall. Pwy a ddyry? Nis gall natur ddim ymadnewyddu. Y mae philosophi yn disgyn ar y byd fel y gwelir goleuni llusern fechan yn myned heibio yn y nos; y llewyrch yn diflanu, gan adael y cwbl yr un fath. Os daw iachawdwriaeth hefyd, o Sïon y daw. Ac O na roddid hi! yna y llawenycha Jacob, ac yr ymhyfryda Israel.

Wele, o'r diwedd, yn ol y dyheuad, dyma y Gwaredwr yn dyfod; mae y gyfraith yn myned allan o Sïon, a gair yr Arglwydd o Jerusalem. Beth yw yr effeithiau? Mynydd tŷ yr Arglwydd yn mhen y mynyddoedd, yr eilunod yn cael eu taflu i'r wâdd ac i'r ystlumod, a'r cenedloedd yn galw ar eu gilydd, "Deuwch ac esgynwn i fynydd yr Arglwydd, i dŷ Duw Jacob, ac efe a'n dysg ni yn ei ffyrdd, a ni a rodiwn yn ei lwybrau." A than effeithiau yr addysg hwnw, y bobloedd lawer "a gurant eu cleddyfau yn sychau, a'u gwäewffyn yn bladuriau; ni chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwyach." Yn y dechreu, yr oedd cymdeithas fel anialwch diffrwyth a diffaeth, a'r llywodraethwyr fel llewod a bleiddiau yr hwyr yn rhuo ac yn ysglyfaethu yn yr anialwch hwnw. Ond beth a fydd y diwedd? "Trig barn yn yr anialwch, a chyfiawnder a erys yn y doldir. Y mynyddoedd a ddygant heddwch i'r bobl, a'r bryniau trwy gyfiawnder. A gwaith cyfiawnder fydd heddwch; ïe, gweithred cyfiawnder fydd llonyddwch a dïogelwch hyd byth. Y blaidd a drig gyda'r oen, a'r llewpard a orwedd gyda'r mỳn, y llo hefyd, a chenaw y llew, a'r anifail brâs a fyddant ynghyd, a bachgen bychan a'u harwain; y fuwch hefyd a'r arth a borant ynghyd; eu llydnod a gydorweddant; y llew fel yr ŷch a bawr wellt." Dyna wneyd Nero mor llariaidd â Moses, Esgob Bonner mor addfwyn a rhagorol âg Archesgob Leighton, Saul o Tarsis yn troi ymysg dysgyblion Iesu Grist yn Paul yr apostol. Y diweddiad sydd yn well na'r dechreuad.

I ychwanegu at ddyddordeb y diwedd hwn, y mae gwendid y

moddion a mawredd y rhwystrau i'w hystyried. Y fath yw y rhwystrau fel y crybwylla y Bibl fel peth hynod fod Mab Duw heb ddigaloni yn eu hwyneb. Mae efe yn myned i sefydlu teyrnas yn nghanol ei elynion, a holl alluoedd daear ac uffern yn ei herbyn; ond "ni phalla efe, ac ni ddigalona." Mae yr offerynau, fel y maent yn dechre gweithio, agos islaw sylw: rhyw ddyrnaid fechan o ddynion dirmygus yn troi allan o Jerusalem am eu bywyd. Ac wedi i'r byd ymostwng i sylwi arnynt, daeth allan i'w gwrthwynebu fel gelyn. Mae philosophi yn gwatwar, yr awdurdodau yn bygwth, a'r werinos yn ymgynddeiriogi yn eu herbyn. A gwaeth na'r cwbl, y mae brâd a heresïau yn codi yn eu mysg hwy eu hunain, dirgelwch yr anwiredd yn gweithio, ac yn tòri allan yn y man yn ymadawiad cyffredinol oddiwrth y ffydd. Y mae yr ymdrech heb ddarfod eto; ac nid yw yn annhebyg yn awr y rhaid i ninnau yn y wlad hon wybod am ymgyrch caled. Ond pa fodd bynag y bydd yn y cyfamser, mae Ioan, yn Nadguddiad Iesu Grist, yn dywedyd yn gröew wrthym pa fodd y bydd yn y diwedd: tystion Duw yn adgyfodi—yr angel yn ehedeg yn nghanol y nef, â'r efengyl dragywyddol ganddo, i efengylu i'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear, ac i bob cenedl a llwyth ac iaith a phobl—Babilon yn syrthio—Satan yn cael ei rwymo—teyrnasoedd y ddaear wedi myned yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef, ac efe a deyrnasa yn oes oesoedd—pabell Duw gyda dynion—dagrau oesol yr eglwys yn cael eu sychu—y cyfan wedi troi yn nefoedd newydd a daear newydd. Llawenhewch, alarwyr Sïon! edrychwch heibio i'r cwmwl du uwch eich pen chwi at wenau haul draw; daw yn hindda hyfryd eto. Gwell yw diweddiad achos Crist na'r dechreuad.

3. Mae yr egwyddor yn y testun i'w chymhwyso *at bob credadyn yn neillduol*, neu, at deyrnas Crist yn y galon yn gystal ag yn y byd.

Gellir cymhwyso y geiriau hyny o'r eiddo Bildad y Suhiad at bob gwir gristion, "Er bod dy ddechreuad yn fychan, eto dy ddiwedd a gynnydda yn ddirfawr." Ymhlith hynodion crefydd yn yr enaid, gellir dywedyd fod ei dechreuad yn fychan, ei chynnydd yn sicr, a'i diweddiad yn ogoneddus. Os surdoes ydyw, y mae yn suro y cwbl; gweithia yn ddystaw, yn raddol, ond yn effeithiol, nes troi yr holl enaid i'w naws bendigedig ei hun. Os

gwawr yw ei dechreuad yn yr enaid, goleuni ydyw, fel yr eiddo yr haul, yn myned rhagddo hyd ganol dydd. Mewn crefydd, y mae argyhoeddiad yn diweddu mewn dychweliad at yr Arglwydd, y dychweliad yn diweddu mewn undeb â Duw yn Nghrist, yr undeb hwn yn arwain i sancteiddiad yr enaid, y sancteiddrwydd yn diweddu mewn gogoniant i Dduw, tangnefedd a chysur yr enaid ei hun, a'i ddefnyddioldeb i eraill, a'r cyfan i ddiweddu mewn gweled Duw a'i fwynhâu yn dragywydd.

Ië, hwyrach fod y dechreuad bychan wedi diweddu eisoes mewn pethau mwy nag a ddysgwyliodd yr enaid yn y dechreu. Mae'r wawr fach a dòrodd ar y meddwl yn y dechreuad wedi diweddu mewn rhyfeddol oleuni ar drefn yr efengyl. Mae yr ysbryd caethiwed ac ofn oedd yn y galon wedi diweddu yn ysbryd mabwysiad trwy yr hwn y llefir, Abba, Dad. Mae y tywyllwch, y pryder, yr anghysur, a'r cythrybledd oedd yn hynodi dechreu y grefydd a thymmor yr argyhoeddiad, eisoes wedi cyrhaedd ar amserau i heddwch mawr, cysur cryf, tangnefedd uwchlaw pob deall, a llawenydd annhraethadwy a gogoneddus. Ond pa beth bynag a gafodd ac a fwynhäodd y cristion, ni ddaeth y diwedd eto. Dechreuad daioni yw hyn oll; ernes a blaenffrwyth yr iachawdwriaeth dragywyddol. Mae y gwaith da a ddechreuwyd yn yr enaid i'w orphen hyd ddydd Iesu Grist. A pha beth a fydd hyny, caiff Paul ddywedyd: "O herwydd rhaid i'r llygradwy hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb. Yr Iachawdwr, yr Arglwydd Iesu Grist—a gyfnewidia ein corff gwael ni, fel y gwneler ef yr un ffurf â'i gorff gogoneddus Ef."

"Hyd yma y mae diwedd y peth." Dechreu trwy hau mewn dagrau: diweddu yn medi mewn gorfoledd. Dechreu mewn seilio yr ail deml yn yr enaid dan wylo; anghrediniaeth yn dywedyd na ddaw hi i fyny byth; neu os daw hi, y mae yn ngolwg yr enaid, o'i chymharu â'r deml cyn y cwymp, megys peth heb ddim: diweddu er hyny mewn llawenydd; dwylaw Zorobabel wedi gorphen y tŷ, y maen penaf wedi ei ddwyn allan, gyda'r clodforedd, Rhad, rhad iddo! a mwy gogoniant yn perthyn i'r tŷ diweddaf hwn na'r cyntaf; sancteiddrwydd anfarwol, bywyd tragywyddol, pabell na thynir i lawr, ac na syflir yr un o'r hoelion byth; dïogelwch na bu yr enaid yn ei feddu erioed yn yr Adda cyntaf. Dechreu mewn rhodio wrth ffydd: diweddu mewn rhodio

wrth olwg. Dechreu mewn gobaith: diweddu mewn mwynhâd. Dechreu mewn ymolchi ac ymlanhâu: diweddu mewn bod yn wŷnach na'r eira, heb arno na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw. Dechreu mewn ymdrechu yn erbyn pechod a themtasiynau: diweddu mewn buddugoliaeth a gorphwysdra tragywyddol. Dechreu mewn rhodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd: diweddu yn y digonolrwydd llawenydd sydd ger ei fron, a'r digrifwch sydd ar ei ddeheulaw yn dragywydd. Gwell, gwell yw'r diwweddiad, ïe, llawer gwell na'r dechreuad, er mai "gwaith da" oedd yn cael ei ddechreu; aeth y da hwnw yn well o hyd, nes myned yn oreu yn y diwedd. At y diweddiad hwn yr oedd pob gorchwyliaeth yn tueddu ac yn cydweithio; daioni, a dim ond daioni, a'r daioni hwnw yn berffaith, ac yn dragywyddol, dyna le, a chyflwr, a phrofiad y sant mewn gogoniant. "O herwydd paham," O chwychwi a gredasoch yn Nghrist, "gan wregysu lwynau eich meddwl, gobeithiwch yn berffaith am y gras a ddygir i chwi yn nadguddiad Iesu Grist."

Câf yn awr ddefnyddio yr egwyddor yn y testun yn gymhwysiadol atoch chwi, fy ngwrandäwyr.

1. Oddiwrth y geiriau, yr wyf yn eich galw i hunanymholiad. Gan mai ammodol mewn rhyw ystyr ydyw bod y diweddiad yn well na'r dechreuad, onid yw yn gymhwys i chwi edrych ai felly y mae arnoch hyd yma, ac ai felly y bydd arnoch eto yn angeu? Ewch dros bob cyfnod sydd wedi pasio arnoch, a gofynwch i chwi eich hunain a ydyw diweddiad y cyfnod hwnw yn well na'i ddechreuad. Tydi, y llanc ugain oed, a ydyw diwedd mebyd yn well na'i ddechreuad? A wyt ti yn adnabod Crist yn well, a wyt ti yn ofni Duw yn fwy, na phan yn saith, deg, a phymtheg mlwydd oed? Tydi, y deugain oed, a ydoedd diwedd ieuenctyd, a aeth mor ebrwydd drosodd am byth, yn well na'i ddechreuad? Yn awr, â thi yn llawn deugain mlwydd oed, a ydwyt, gyda Moses, yn darfod mwy â mawredd y byd, mwyniant pechod, chwantau ieuenctyd, ac yn dewis pobl Dduw, gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau y byd? Tithau, yr hen driugain, a ydyw diwedd canol oedran yn well na'i ddechreuad? Dyna nodau henaint yn dechreu marcio dy gorff; ceidwaid y tŷ yn dechreu crynu, y rhai sydd yn edrych trwy y ffenestri yn dechreu tywyllu, y pren almon yn dechreu blodeuo; a ydyw y dyn oddimewn yn

cael ei adnewyddu, yr ysbryd yn dychwelyd at ddyddiau ieuenctyd? a ydyw ffrwythau prïodol yr henaint yna arnat? gostyngeiddrwydd, marw i'r byd, hiraeth am y nefoedd? Yn awr mae angeu yn nesu yn gyflym; a oes argoelion y bydd dydd marwolaeth yn well na dydd genedigaeth?

Y mae heno yn ddiwedd cyfnod maith yr eglwys a'r gynnulleidfa yn nghapel Bedford Street.* Mae rhai o honoch wedi eich geni yma yn Liverpool, ac wedi eich bedyddio, a'ch derbyn yn aelodau eglwysig, yn y capel hwn; ac yma y buoch yn addoli ar hyd eich hoes. Ond y diwedd a ddaeth—y diwedd i chwi ddyfod i gapel Heol Bedford; a'r pwnc yn awr i chwi yw, A ydyw y diwedd hwn yn well na'r dechreuad? "Duw ei hun a ofyn y peth a aeth heibio." Yr hen sabbothau, yr hen bregethau, yr hen weddïau! Yr holl ddyledswyddau; pa fodd y cyflawnwyd hwy? beth yw yr effeithiau? A ydyw y ffrwyth i chwi yn sancteiddrwydd? A ydyw cymeradwyaeth gyda Duw yn well genych nag anrhydedd a mwynderau y byd? A ydyw yr addoldŷ yn well genych chwi, bobl ieuainc, na'r chwareudŷ, a'r Bibl na ffugchwedleuon? A ydyw yn well genych gyfeillion crefyddol na chwmni llawen?

2. Os gellwch ateb cydwybod dda ger bron Duw fod y diwedd yn well na'r dechreuad, yna ewch oddiyma i'r tŷ newydd yn ddiolchgar. Y mae'r cyfnewidiad felly yn ddirfawr ac yn hyfryd. Daethoch yma yn dywyllwch: yr ydych yn myned oddiyma yn oleuni yn yr Arglwydd. Daethoch yma yn galed ac anystyriol: wele chwi yn myned oddiyma yn bechaduriaid teimladol ac edifeiriol. Daethoch yma yn euog a chondemniedig: cewch fyned oddiyma i'ch addoldŷ newydd wedi eich cyfiawnhâu. Cofia, enaid dedwydd, yr holl ffordd yr arweiniodd yr Arglwydd di y deugain mlynedd hyn; fel y gwybu dy gerddediad di yn yr anialwch, y cyd-ddygodd â thi, y maddeuodd dy anghrediniaeth a'th wrthryfel, ac yn ei aml dosturiaethau na'th adawodd efe di yn yr anialwch. Y golofn gwmwl ni chiliodd y dydd, na'r golofn dân y nos, i ddangos y ffordd y cerddit ynddi. Ei Ysbryd daionus a

* Traddodwyd y bregeth hon ar nos sabboth, Mawrth 8, 1868, yn nghapel Bedford Street, Liverpool, y tro olaf y bu y Methodistiaid Calfinaidd yn ymgynnull yn y capel hwnw; o herwydd yr oedd capel newydd Prince's Road, i ba le y symudodd y gynnulleidfa, yn cael ei agor ar y dyddiau canlynol.

roddodd i'th ddysgu; ac nid attaliodd ei fanna rhag dy enau. Diolch am belydr ysbrydol mynyd o addoli Duw, a chymundeb âg ef yn ordinhadau y gair! Diolch yn arbenig am ddychweliad, adgyweiriad, cynnaliaeth, cysur, a gorfoledd! A'r hyn a wnaed i chwi, a wnaed i'ch tadau yma o'ch blaen. Ac am hyn mae yn chwith genych feddwl gadael hen le mor gysegredig i'ch meddwl a'ch côf. Y tŷ lle y moliannai ein tadau dydi, Arglwydd! diolch am a roddaist ynddo; a thyred dy hunan gyda ni i'n teml newydd!

3. Os nad yw y diweddiad yn gymaint gwell na'r dechreuad âg y dylasai fod yn ol eich breintiau, ymostyngwch, edifarhewch, a dychwelwch. Bu capel Bedford yn fryn tra ffrwythlawn am ddeugain mlynedd i rai sydd yma. Gall Duw ofyn gyda golwg ar yr eglwys a'r gynnulleidfa hon, "Beth oedd i'w wneuthur yn ychwaneg i'm gwinllan nag a wnaethum ynddi?" Cawsoch yma oes o sabbothau tawel, oes o ddarllen y Bibl, oes o ymgynnull dan eich gwinwydden heb neb i'ch dychrynu. Ac nid oedd Ysbryd Duw heb weithio trwy y moddion yn y galon. Ond a ydyw eich cynnydd yn cyfateb i'ch manteision? a yw y ffrwyth yn gweddu i'r amaethu sydd wedi bod? Pa faint sydd yma heno ag y gellir dyweyd am danynt, "Ni thalodd Hezeciah drachefn yn ol yr hyn a roddasid iddo." Ai nid all Iesu Grist ddyweyd wrth rai o honoch chwi, fel wrth ei ddysgyblion gynt, "A ydyw eich calon eto genych wedi caledu? A ydwyf gyhyd o amser gyda chwi, ac nid adnabuost fi, enaid?" Pa beth! ai cnawdol ydych chwi eto? Felly, er bod yn Nghrist, rhai bach yn Nghrist ydych, a hyny am eich bod heb gynnyddu. O ran amser, dylech fod yn athrawon. Paham yr ydych yn ddiffygiol? "O achos eich bod chwi yn hwyrdrwm eich clustiau." Y galon sydd wedi trymhâu; bydolrwydd, neu ryw lygredigaeth arall sydd yn gweithio yn y galon, nes bod y sabbothau, y pregethau, a'r holl foddion daionus, yn ddieffaith iddi. O pe buasai galwedigaethau a gorchwylion daearol wedi talu càn lleied â chrefydd i rai o honoch er ys deng mlynedd, buasech yn wir ofidus. Pe buasai eich plant wedi cynnyddu càn lleied o ran y dyn oddiallan, a chwi o ran y dyn oddimewn, buasech yn wylo. Pe buasai eu hysgol wedi bod mor ofer iddynt hwy ag y bu moddion gras i chwi eich hunain, a hwythau yn troi allan i'r byd mor anghymhwys ag yr ydych chwi

yn wynebu tragywyddoldeb, buasai eich calon yn drom. Ond nac anobeithiwch eto, eithr nesëwch at Dduw; y mae gydag ef y maddeuant a'r ymgeledd a ddichon eich codi i ffrwytho yn eich henaint.

4. Os na bydd ein diweddiad ni gyda moddion gras yn well na'n dechreuad, y mae yn sicr o fod yn waeth na'r dechreuad. Nid äi di ddim o'r capel hwn, bechadur, yr un fath ag yr oeddit pan yn dechreu gwrando ynddo. Na! ti äi oddiyma er gwell neu er gwaeth. O gynifer a all fod yma wedi gwrando bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd! Dichon fod eraill, ar ol eu goleuo, eu dysgu, a'u dwyn at grefydd, wedi cael eu dal drachefn gan eu hen chwantau, a'u gorchfygu; ac os felly, "aeth diwedd y rhai hyny yn waeth na'u dechreuad" (2 Pedr ii. 20). Gynifer o hen wrandäwyr yr efengyl sydd â'u dydd hwn o ras, ïe, eu dydd olaf o ras, ar ddarfod, â'r pethau a berthynant i'w heddwch ar gael eu cuddio yn farnol oddiwrth eu llygaid! Gymaint sydd ar syrthio dan y ddedfryd, "Yr hwn sydd anghyfiawn, bydded anghyfiawn eto; a'r hwn sydd frwnt, bydded frwnt eto!" Y rhai sydd wedi bod, fel y ddaear ddiffaeth, yn yfed y gwlaw oedd yn mynych ddyfod arni, eto yn dwyn ond drain a mieri, y maent hwy mewn cyflwr anghymeradwy ac agos i felldith. Gadewch i bwys yr adeg hon eich deffroi chwi. Dychwelwch cyn i'r ddeddf esgor, cyn i'r dydd fyned heibio fel peiswyn, cyn dyfod arnoch lid digofaint yr Arglwydd!

5. Gan fod diweddiad gwell na'n dechreuad gyda golwg ar dragywyddoldeb yn beth posibl i ni, penderfynwn mewn amynedd ac ymroddiad gyrchu at hyny dan bob gorchwyliaeth, a thrwy bob moddion. Dyma yw amcan Duw yn ei holl orchwyliaethau tuag atat, fy enaid: dy ddysgu i wellâu, a gwneyd daioni i ti yn dy ddiwedd. Rhoes ei air, ac y mae yn barod i roddi ei Ysbryd, fel y byddot gadwedig. Ac nid yw yn ceryddu ond er lleshâd i ni. Dyna ddyben Duw, a dyna a ddylai fod ein dyben ninnau yn wyneb yr oll â'n cyfarfyddo. Os wyt yn awr dan gerydd, bechadur, paid a'i ddirmygu, nac ymollwng dano, gwybydd fod bendith ynddo; mŷn ddyfod o hono wedi dy buro, fel y gallot ddyweyd, "Cyn fy nghystuddio yr oeddwn yn cyfeiliorni; ond yn awr cedwais dy air di." Gallwn yn hawdd dystio

fod profi achlysuron o ddifyrwch, hyd yn nôd y rhai mwyaf cyfreithlawn a diniwed, yn tueddu yn rhy fynych i'n llygru, tra yr oedd trallodion, a chymdeithas â'r trallodus, yr hyn sydd yn peri tristwch y wynebpryd, yn tueddu yn uniongyrchol i wellâu y galon. Pe na wnaethai yr adfyd ond ein dwyn atom ein hunain, i feddwl, ac i chwilio ein ffyrdd, ac oddiyno ein cymhell at y Bibl, y llyfr nad oes ei gymhwysach, fel yr addefa pawb, i dŷ galar, yr oedd hyny yn fendith annhraethol. Caffer ni yn dyfod allan o bob cyflwr ac amgylchiad yn well—yn debycach i'r Arglwydd, ac yn fwy addfed i'r nefoedd, fel y gallom ddywedyd yn hyf ar derfyn einioes, Gwell yw'r diweddiad na'r dechreuad!

# PREGETH XIV.

## RHWYMEDIGAETH CREDINWYR I FARWEIDDIO PECHOD.

RHUFEINIAID xiii. 11—14: "A hyn, gan wybod yr amser, ei bod hi weithian yn bryd i ni ddeffroi o gysgu; canys yr awrhon y mae ein hiachawdwriaeth ni yn nês na phan gredasom. Y nos a gerddodd ymhell, a'r dydd a nesäodd; am hyny bwriwn oddiwrthym weithredoedd y tywyllwch, a gwisgwn arfau y goleuni. Rhodiwn yn weddus, megys wrth liw dydd; nid mewn cyfeddach a meddwdod, nid mewn cydorwedd ac anlladrwydd, nid mewn cynhen a chenfigen. Eithr gwisgwch am danoch yr Arglwydd Iesu Grist; ac na wnewch ragddarbod dros y cnawd, er mwyn cyflawni ei chwantau ef."

MAE yr ymadrodd "A hyn" yn nechreu ein testun yn cyfeirio, fe allai, at yr ymadrodd "Canys hyn" yn nechreu y nawfed adnod. Yno mae yr apostol, ar ol dadgan fod yr hwn sydd yn caru arall yn cyflawni y gyfraith, yn rhoddi crynodeb o'r dyledswyddau ynglŷn â chariad, pa rai mae y gyfraith hòno yn eu gofyn. "Canys hyn, Na odineba, Na ladd, Na ladrata, Na ddwg gamdystiolaeth, Na thrachwanta; ac od oes un gorchymyn arall, y mae wedi ei gynnwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn, Câr dy gymydog fel ti dy hun." "A hyn, gan wybod yr amser," sef, A hyn gwnewch, gan wybod yr amser. "Neu A hyn gwnewch yn neillduol, neu yn fwy, oddiar wybod yr amser. Y mae'r pethau hyn yn ddyledswyddau bob amser, ond y maent yn arbenig felly ar y fath amser a hwn; ac y mae yn perthyn i ninnau ystyried a gwybod yr amser, mewn trefn i ddeffroi o gysgu, ac i gyflawni ein gwaith yn fwy dyfal. Neu fe ddichon fod yr apostol yma yn cyfeirio yn fwy nodedig at y dyledswyddau a grybwyllir ganddo yn ddilynol. "A hyn," heblaw y dyledswyddau

a grybwyllwyd eisoes, "gan wybod yr amser ei bod hi weithian yn bryd i ni ddeffroi o gysgu," y nos ar ddarfod, a'r dydd yn ymyl, "bwriwn oddiwrthym weithredoedd y tywyllwch, a gwisgwn arfau y goleuni. Rhodiwn yn weddus," gan wisgo Crist, ac nid gan foddio'r cnawd. Mae yr amser ydyw hi arnom yn galw yn uchel am hyn. Wrth yr amser yma y mae i ni ddeall, nid yr oes, neu yr einioes, yn gyffredinol yn gymaint, megys ei byrder, ei chyflymder, a'i hansicrwydd, ond yn hytrach rhyw gyfnod neillduol ar oes y credadyn mewn cyferbyniad i gyfnod arall arni. Un adeg gofiadwy arnom, fel pe dywedasai yr apostol, ydoedd pan gredasom. Aeth nos drom a phygddu heibio arnom y pryd hwnw; nos anwybodaeth, llygredigaeth, a thrueni ein hystâd ddiadgenedledig; a thrwy oleuni a gras yr efengyl, gwawriodd dydd tragywyddol ar ein heneidiau; a byth ar ol hyny yr ydym dan rwymau, yn codi oddiwrth ragorfreintiau a gobeithion ein hystâd, i wisgo arfau y goleuni, er mwyn rhodio yn weddus, megys wrth liw y dydd a wawriodd arnom. Ond yn awr y mae adeg ddifrifol arall wedi ein dal ni, mae nos arall ar fyned heibio, sef nos y fuchedd anmherffaith hon, a dydd arall ar dòri arnom, sef dydd y fuchedd ddyfodol. Mae ein hiachawdwriaeth ni yn y perffeithiad o honi yn nês na phan gredasom. Yn lle dechreu bywyd ffydd, yr ydym ar dderbyn diwedd ein ffydd yn iachawdwriaeth ein heneidiau, a newid rhodio wrth ffydd am rodio wrth olwg. Y mae yn bryd i ni, gan hyny, ddeffroi o gysgu. Mae yr amgylchiad difrifol yr ydym ynddo, a'r cyfnewidiad mawr sydd gerllaw, yn galw am i ni fod yn rhyw fath ddynion, yn ddynion arbenig, mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb, yn dysgwyl ac yn brysio at ddyfodiad dydd Duw. A gwỳn eu byd y gweision hyny y rhai y caiff eu Harglwydd pan ddêl yn gwneuthur felly.

Sancteiddrwydd yw yr hyn a gymhellir arnom yn y testun. Gosodir ef allan yma yn y ddwy gangen fawr a berthyn iddo, neu y ddau ymarferiad trwy ba rai y mae credinwyr i gynnyddu ynddo, sef marweiddio pechod ac ymwrthod âg ef ar y naill law, ac ymadnewyddu ymhob gras ar y llaw arall: bwrw oddiwrthym weithredoedd y tywyllwch, a pheidio gwneuthur rhagddarbod dros y cnawd,—dyna farweiddiad pechod; rhodio yn weddus megys wrth liw dydd, gan wisgo am danom yr Arglwydd Iesu Grist,—dyna'r bywyd i gyfiawnder. Wele y pethau a weithia Ysbryd

Duw yn y credadyn; ac am ei fod yn eu gweithio nid yn unig ynddo, eithr trwyddo hefyd, y maent yn cael eu cymhell arnom yn y testun fel ein dyledswyddau.

I. Deiliaid yr annogaethau hyn.

Nid â phechaduriaid yn unig y mae yr apostol yn siarad yma, ond â phechaduriaid o gredinwyr; rhai ag yr oedd dydd yr efengyl wedi tòri ar eu heneidiau; hwy, dynion oedd eisoes mewn ystâd o iachawdwriaeth—yr adeg pan gredasent wedi pasio arnynt; rhai yr oedd Duw wedi llewyrchu i'w calon a rhoddi goleuni gwybodaeth gogoniant Duw iddynt yn wyneb Iesu Grist—rhai yn adnabod Crist, ac yn ymddiried ynddo am gadwedigaeth—dyma ddeiliaid uniongyrchol yr annogaeth i sancteiddrwydd. Gwir yw fod marweiddiad pechod, a sancteiddiad calon a buchedd, yn ddyledswydd ar bob dyn. Ond y mae yn ddyledswydd arnom osod y sylfaen mewn trefn i adeiladu; rhaid i ni wneuthur gwaith Duw yn nhrefn Duw; ceisio dinystr pechod a sancteiddrwydd yn y ffordd y maent yn gyrhaeddadwy; a ffydd yn Nghrist yw y ffordd hòno.

Pan y mae Duw yn ymwneyd â chydwybod yr annuwiol trwy yr efengyl, ei dröedigaeth yw ei amcan. Dyledswydd uniongyrchol pechadur dan argyhoeddiad ydyw, nid diwygiad oddiwrth bechod a'i farweiddiad yn unig, ond dychweliad at Dduw yn Nghrist mewn trefn i hyny. I'r dyben hwn, y mae Duw yn anfon ei weision i'r byd, ac at hyn y maent hwythau i amcanu; a dyma y duedd a ddylai fod i'w gweinidogaeth (Act. iii. 26; xiv. 15). Dyma, ni a welwn, oedd ffrwyth derbyn y gair yn Thessalonica. "Y maent hwy yn mynegu am danom ni, pa ryw ddyfodiad i mewn a gawsom ni atoch chwi, a pha fodd y troisoch at Dduw oddiwrth eilunod, i wasanaethu y bywiol a'r gwir Dduw" (1 Thes. i. 9). Am hyn y mae gweision Crist yn llafurio: "Fel y cyflwynom bob dyn yn berffaith yn Nghrist Iesu" (Col. i. 28, 29). Nid yw yr efengyl yn amcanu diwygio y dyn oddiallan ond drwy gyfnewid ac adnewyddu y dyn oddimewn. Nid am ddiwygio y byd yn unig y mae, ond achub y byd trwy Iesu Grist; ac nid ei ddiwygio ef mewn trefn i'w achub, nid ei ddiwygio yn gyntaf a'i achub wedi hyny, ond yn hytrach diwygio trwy achub; achub mewn trefn i lanhâu. Os caiff yr efengyl ddyn neu genedl yn waraidd a moesol, mae yn sicr o gydweithio â hyny, a'u coethi yn fwy. Ac

o'r ochr arall, pan y delo hi at yr anwar a'r anfoesol, hi a ddŵg wareiddiad a threfn i'r cyfryw; ond gwna hyny pan yn amcanu at fwy. Achub ac aileni dyn ydyw amcan mawr yr efengyl. Mae hi am arwain ei feddwl drwy ei ddrygfuchedd at ei gyflwr colledig, a thrwy hyny at Grist, yr hwn sydd wedi ei wneuthur yn gyfiawnder a sancteiddrwydd i bechadur.

Yn y pennodau cyntaf o'r llythyr hwn, y mae Paul yn darlunio buchedd ddrwg Iuddewon a chenedloedd, nid i'r dyben o'u galw i ddiwygio, ond i ddangos eu bod dan farn Duw, a bod gwir ddiwygiad a marweiddiad pechod yn beth anmhosibl i ddynion yn y fath gyflwr, ac yn wir fod pob rhith o hyn yn gwbl ofer; oblegid, "trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnhëir un cnawd yn ei olwg ef." Yna y mae efe yn troi at drefn gras, gan ddwyn ger bron "gyfiawnder Duw, yr hwn sydd trwy ffydd Iesu Grist i bawb ac ar bawb a gredant." Yn gyffelyb yr oedd Pedr ar y Pentecost. Wedi iddo gael ei wrandäwyr i deimlo barn angeu ynddynt eu hunain, nes gofyn, "Beth a wnawn ni?" a ydyw efe yn eu dysgu i farweiddio eu balchder, eu bydolrwydd, a'u gelyniaeth at ddaioni? Na, efe a wyddai mai nid hyny oedd eu gwaith cyntaf, ac am hyny mae yn eu galw i ddychwelyd at Dduw yn Nghrist. "Edifarhëwch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist er maddeuant pechodau. Edifarhëwch gan hyny a dychwelwch, fel y dilëer eich pechodau." Oddiyma, wedi cael maddeuant a heddwch Duw, y mae gwir sancteiddrwydd a marwhâd pechod yn tarddu. Yr oedd y Phariseaid yn rhoddi beichiau trymion ar ysgwyddau y bobl, yn dysgu ymprydiau a golchiadau yn ol y ddeddf, ac yn ol eu mympwy eu hunain. Ond nid oedd yr oll i ddim dyben; yr oedd y genedl yn pydru yn ei phechodau. Eithr wele Ioan Fedyddiwr yn dyfod allan yn ysbryd a nerth Elias, ac yn gosod y fwyell ar wreiddyn y prenau, yn dwyn y bobl oddiwrth eu hymarweddiad annuwiol at eu colledigaeth a'r llid a fydd, ac yn eu galw i edifarhâu, gan eu cyfeirio at Oen Duw yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd. Oddiyma y tarddodd diwygiad mawr. Yr oedd pob dosbarth yn dwyn ffrwythau addas i edifeirwch: y cyfoethog yn dyfod yn hael, y trethwr yn gyfiawn, a'r milwr yn heddychol a boddlawn i'r hyn oedd ganddo.

"Gwnewch y pren yn dda." Ni a'i glanhäwn ef, ac a'i tociwn, meddwch. Ni waeth i chwi heb; ni chewch chwi ddim ffrwythau

da ar bren drwg; rhaid ei newid o'r gwreiddyn, a'i wneyd ef yn bren da mewn trefn i gael arno ffrwythau da. Gwaith cyntaf, unig waith pechadur dan argyhoeddiad, ydyw dychwelyd at Dduw —credu yn Nghrist. Annigonol a diffygiol yw diwygiad buchedd tra byddo y cyflwr yn ddrwg, a'r galon heb ei chyfnewid. "Hyn yw gwaith Duw, credu o honoch yn yr hwn a anfonodd efe."

Dyna ddeiliaid dyledswyddau y testun, y rhai y mae ganddynt y pethau anhebgorol i'w cyflawni.

II. Y CYMHELLIADAU I'R DYLEDSWYDDAU A ANNOGIR.

Yn yr undeb â Mab Duw, wedi i bechadur trwy adenedigaeth a ffydd yn Nghrist gael dyfodfa i'r cyflwr grasol o heddwch a chymundeb â Duw, y mae marweiddio pechod, a pherffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw, yn dyfod yn waith bywyd yr enaid. Dyma orchymyn yr efengyl i bawb yn yr ystâd hon: "Marwhëwch eich aelodau y rhai sydd ar y ddaear." Ac y mae adsain i'r gorchymyn hwn yn mynwes pob credadyn: "Bwriwn oddiwrthym weithredoedd y tywyllwch," pob pechod ac ymarferiad annuwiol; "a gwisgwn arfau y goleuni," y grasusau cristionogol, sydd fel arfogaeth hylaw a dysglaer. Y mae hyn yn cynnwys ymdrech gwastadol, trwy ffydd yn Nghrist a nerth yr Ysbryd, mewn myfyrdodau a gweddïau yn erbyn pechod: craffu ar ei weithrediadau yn yr enaid, gwylio rhag yr achlysuron iddo, cau allan ei wrthddrychau o'r dychymyg, gwrthwynebu a darostwng pob cynhyrfiad llygredig yn y galon, ac, fel hyn, trwy gyson ymwrthodiad âg ef, ac ymlyniad y serchiadau wrth Grist a phethau sanctaidd, ei ddirymu a'i ladd yn raddol ymhob tueddiad pechadurus. Hawdd y gellir dangos mai dyma ddyledswydd fawr dyn duwiol, a bod galwad uchel a rhwymedigaethau cryfion arno i hynyma.

1. *Y mae hyn yn beth cwbl anghenrheidiol i gristion yn ei gyflwr presennol yn y byd.* Nid yw ystâd o ras yn ystâd o berffeithrwydd. Er fod condemniad pechod wedi ei symud oddiar y person, a llywodraeth pechod wedi ei ddinystrio oddiar yr enaid, eto y mae pechod yn aros yn y mwyaf ei gyrhaeddiadau, a chan hyny ei farweiddio yw dyledswydd fawr ei oes. Felly y mae Paul yn dangos i ni ei gyflwr ar y ddaear, a'i ymarferiad ynddo. Yr oedd yn profi nad ydoedd efe eto wedi ei berffeithio, eithr, i'r gwrthwyneb, fod drwg yn bresennol gydag ef—pechod, ïe, *y* pechod—yr hen lygr gwreiddiol—yn trigo ynddo, ac nid yn unig yn trigo

ynddo, ond yn gweithio o'i fewn, yn gwrthryfela yn erbyn deddf ei feddwl, ac yn ei gaethiwo i ddeddf pechod. Wel, beth yr oedd efe yn ei wneuthur yn y cyflwr hwn? a oedd efe yn cymmodi â'r anmherffeithrwydd yma? O nac oedd, nac yn digaloni dano ef chwaith; ond yr oedd yn ymestyn at y pethau o'r tu blaen, ac i'r dybenion hyny, yn cosbi ei gorff a'i ddwyn yn gaeth; ac y mae yn sôn am hyn fel gwaith cyson ei fywyd.

Rhaid yw i ni fod yn ddyfal i wrthsefyll a marweiddio pechod yn ei wrthwynebiad i Dduw a phob daioni. Mae y cnawd yn chwennychu yn erbyn yr ysbryd, fel nas gall y cristion wneuthur beth bynag a ewyllysio. Nid allasai Paul ddim. "Yr ewyllysio," meddai, "sydd barod genyf;" y mae yma dueddiad ymarferol parhäus at Dduw a'i wasanaeth; ond beth er hyny? "cwblhâu yr hyn sydd dda nid wyf yn medru arno." Paham? O herwydd "y pechod sydd yn trigo ynof fi—drwg yn bresennol gyda mi." Ni wnawn i yn fy myw yr hyn yr wyf yn amcanu ato; nis gallaf, er ceisio, gyrhaedd y pethau yr wyf yn dyheu am danynt. Os ydych chwithau yn dduwiol, fy nghyfeillion, yr ydych yn brofiadol o hyn. Pan y mae yr enaid yn sychedig am gymundeb â Duw a pherffaith gydymffurfiad â'i ewyllys ef, y mae yn profi nid yn unig ei fod yn methu cyrhaeddyd hyny, ond fod ynddo yn rhy aml ryw annhueddgarwch i weddïo am danynt, ac i ymestyn ar eu hol—rhywbeth yn nyfnder y galon yn gofyn, "Pa flinder yw? pa bryd yr ä y sabboth heibio?" Mae yn gohirio y ddyledswydd, yn chwilio am ryw esgus i'w gochel, yn rhedeg trwyddi yn ffurfiol, ac yn teimlo fod pob ymgais at ysbrydolrwydd yn faich a gorthrymder i'r galon. Pa beth yw hyn sydd ynof? meddi. Dyna y gelyn, fy enaid. Rhaid yw i ti ei ladd ef yn raddol bob dydd, neu efe a'th ladd di yn y diwedd. Os caiff yr annhuedd yna ei ffordd ei hun, diwedda mewn hollol ymadawiad yr enaid â Duw. Y ffordd i'w farweiddio ydyw ymladd âg ef bob dydd, ymhob dyledswydd, a mynu buddugoliaeth arno nes profi y weddi, oedd yn faich ar y galon yn y dechreu, yn troi yn hyfrydwch i'r ysbryd cyn y diwedd.

Y mae pechod hefyd i'w roddi heibio a'i farweiddio yn ei dueddiadau at bob drwg. "Na theyrnased pechod yn eich corff marwol, i ufuddhâu o honoch iddo yn ei chwantau." Y mae'r llygredd, hyd yn nôd mewn enaid duwiol, yn gweithio, yn ysu,

ac yn dwfn dueddu at ei bethau ei hun. A chwi synech glywed pa bethau ydynt. "Marwhëwch gan hyny eich aelodau y rhai sydd ar y ddaear, godineb, aflendid, gwyn, drygchwant, a chybydddod, yr hon sydd eilunaddoliaeth" (Col. iii. 5). Nid yw'r duwiol, mae yn wir, yn byw yn y pethau hyn; ond y maent hwy yn eu gwyniau a'u tueddiadau yn byw ynddo ef. A chan eu bod felly, y mae yntau i'w marweiddio. Nid oes genyt ddim amser i segura, ti a weli, fy enaid. Meddwl am y dinystr y mae'r drwg sydd yn dy galon di wedi ei wneuthur mewn byd ac eglwys. Lle y mae yn cael ei ffordd, y mae "holl fwriad meddylfryd y galon yn unig yn ddrygionus bob amser;" ac o'r galon hòno "y mae meddyliau drwg yn dyfod allan, lladdiadau, tòrprïodasau, godinebau, lladradau, camdystiolaethau, cablau," nes y mae'r byd yn cael ei ddyfetha trwy ei lygredigaethau ei hun. Marweiddiad pechod yw yr unig obaith am danat tithau, O enaid. "Os ydych yn marweiddio gweithredoedd y corff trwy yr Ysbryd, byw fyddwch." Nid oes, felly, achos i ti ddigaloni er yr uffern o'th fewn.

2. *Y mae hyn yn bosibl i gredadyn.* Y mae marweiddiad pechod, fel y dangoswyd, yn anmhosibl i'r dyn annuwiol ond trwy ei ddychweliad at Dduw yn Nghrist. Yn y cyflwr y mae ynddo, efe sydd yn farw mewn pechod, ac nid pechod yn farw ynddo ef. Os bydd yn ceisio at rywbeth tebyg i farweiddiad pechod dan gnofeydd ei gydwybod o'i herwydd, nid yw hyny, o bosibl, yn myned ddim pellach na gadael yr ymarferiad o ryw fai neillduol, a newid y naill fai am y llall, megys newid ewyllysiau y cnawd am ewyllysiau y meddyliau; newid yr hen Adda lygredig am yr hen Adda grefyddol. Hyd yn nôd pan y mae fel Saul wedi cyrhaedd càn uched mewn moesau da â bod yn ol y cyfiawnder sydd yn y ddeddf yn ddiargyhoedd, y mae yn yr amser hwnw yn byw yn y pechod mwyaf; gwrthod ac erlid Crist, gan ymorphwys arno ac ynddo ei hun. Ië, ac yn fynych wedi i'r ysbryd aflan fyned allan o hono, o ran rhyw fai neillduol, dan argyhoeddiad cydwybod, y mae yn dychwelyd drachefn, gyda saith ysbryd aflan eraill gwaeth, "ac y mae diwedd y dyn hwnw yn waeth na'i ddechreuad." "Nid oes obaith," medd y pechadur; "nac oes, canys cerais ddyeithriaid, ac ar eu hol hwynt yr âf fi." Nid oes wir angeu i bechod ond yn angeu Crist. Ond i'r credadyn, mae y peth yn bosibl. Y mae efe ynglŷn â threfn, amcan yr hon yw gwaredu

oddiwrth bechod, ac y mae yntau yn ei chofleidio i'r dyben hwnw.

Yn nhrefn gras, y mae Duw wedi ethol i sancteiddrwydd, Mab Duw wedi prynu ei bobl oddiwrth bob anwiredd i'w puro iddo ei hun, a'n hen ddyn ni wedi ei groeshoelio gydag ef, er mwyn dirymu corff pechod; y mae wedi ei gondemnio, a'i ddinystr wedi sicrhâu yn nghroes Crist; a'r fan y delo pechadur i gredu yn Nghrist, y mae yn marw gyda Christ, a hyny mewn trefn i fyw yr un bywyd âg yntau. Wedi ei ryddhâu oddiwrth rym condemniol pechod, a'i adferu i heddwch Duw yn y cyfiawnhâd, y mae gwir Dduw y tangnefedd yn ei sancteiddio; mae y dyfrddorau wedi eu hagoryd, a'r dylanwad sydd yn lladd pechod yn ffrydio i'r enaid. Yn ei undeb â Christ gwneir yr enaid yn gyfranog o'r dduwiol anian, ac y mae trwy hyny yn dianc oddiwrth lygredigaeth y byd trwy drachwant. Mae yr Ysbryd Glân yn cael ei roddi i'r pechadur, i fod ynddo yn ffynnon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol; a bydd ei ddylanwadau fel "afonydd o ddwfr bywiol yn dylifo o'i groth ef;" y groth o'r hon y deuai allan ffrydiau ffiaidd y tòrprïodasau, y godinebau, a'r lladdiadau; wele yr hen *sewers* bryntion wedi eu glanhâu. Megys mai Ysbryd Glân yw efe, glanhâu yw ei waith. Fel dwfr, y mae yn golchi, ac fel tân yn puro ac ysu llygredigaeth y galon. Pan y planodd efe ras yn yr enaid, rhoes yno elyniaeth dragywyddol yn erbyn pechod, a nerth yn ei erbyn. A phan y mae yn cryfhâu grasau yr enaid, ac yn eu dwyn i weithrediad yn nyledswyddau crefydd, y mae yn dirymu corff pechod. Gwinga hen ddyn pechod weithiau, fel y croeshoeliedig dan hoelion; ond y mae ei nerth yn gwanychu, ei waed yn rhedeg, ei ysbrydoedd yn pallu, a'i ymweithiadau yn myned yn llesgach, anamlach, a phellach oddiwrth eu gilydd; ac felly mewn cymhariaeth, bydd yn ddirym ac ar ddarfod am dano. Yn y cyfamser, wele yr orchwyliaeth yn myned ymlaen; angeu yn gweithio yn yr hen ddyn, ac einioes yn y newydd; edifeirwch yn tyneru yr enaid, ffydd yn y groes yn puro y galon, a gobaith bywyd tragywyddol a llawenydd y gobaith hwnw yn ei dyrchafu; yr enaid yn aros mewn cariad, ac felly yn aros yn Nuw, a Duw ynddo yntau; ïe, ynddo a thrwyddo fel tân trwy yr haiarn, nes ei droi i'w anian ei hun.

Y mae hyn yn rym i ymdrech yn erbyn pechod: cofio fod mwy

gyda yr enaid crediniol nag sydd yn ei erbyn. Pan yn amcanu at fywyd ei chwant, y mae efe yn gweithio yr un ffordd â'r arfaethau tragywyddol, ac angeu y groes, a gwaith yr Ysbryd. Mae cynllunio wedi bod, o flaen penderfyniadau'r cristion, yn erbyn bywyd pechod. Y Duw tragywyddol sydd yn gwthio ei elyn o'i flaen, ac yn dywedyd, "Dyfetha ef." Wedi i Paul dystiolaethu i gredinwyr nad arglwyddiaethai pechod arnynt, yr oedd yn eu galw yn hyf, "Na roddwch eich aelodau yn arfau anghyfiawnder i bechod, eithr rhoddwch eich hunain i Dduw, megys rhai o feirw yn fyw, a'ch aelodau yn arfau cyfiawnder i Dduw." Er fod yr apostol yn teimlo ei hun ymhell o fod wedi ei berffeithio, yr oedd eto yn dilyn ac yn ymestyn at hyny oddiar ei weled yn bosibl; ac y mae ei gŵyn o herwydd pechod, a'i hiraeth am waredigaeth, yn dybenu mewn gorfoledd: Er yn druan o ddyn, yn cario corff y farwolaeth hon, eto â'm golwg ar lawn ryddhâd oddiwrtho, "yr wyf yn diolch i Dduw trwy Iesu Grist ein Harglwydd! I Dduw y byddo y diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist!"

3. *Y mae bywyd o ymsancteiddiad ac ymwrthodiad â phechod yn gweddu i ystâd o iachawdwriaeth, ac, yn wir, i'w olygu fel yr unig brawf ein bod ni ynddi.* "Pan gredasom," ni a ddaethom i ryw ystâd ryfedd: o dywyllwch i oleuni, o feddiant Satan at Dduw, o gaethiwed i wir ryddid, ac o warth i wir anrhydedd. "Pan gredasom," ni a ddaethom "i fynydd Sïon, ac i ddinas y Duw byw, y Jerusalem nefol, ac at fyrddiwn o angelion, i gymanfa a chynnulleidfa y rhai cyntafanedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd, ac at Dduw, Barnwr pawb, ac at ysbrydoedd y cyfiawnion y rhai a berffeithiwyd, ac at Iesu, Cyfryngwr y testament newydd;" do! ni a ddaethom yn aelodau o'r un gymdeithas â myrddiynau o grëaduriaid gogoneddus na phechasant erioed, a myrddiynau eraill na phechant byth mwyach, y rhai sydd yn awr yn amgylchynu gorseddfainc y Tragywyddol, ac yn derbyn amlygiadau o'i ogoniant ef tu hwnt i gyrhaeddiadau daearolion; do! ni a ddaethom yn blant i Dduw y Barnwr, ac yn frodyr i'r Iesu y Cyfryngwr, "pan gredasom." Ond er y ddyfodfa a gawsom i'r ystâd hon, mae yn rhaid cyfaddef ein bod wedi dwyn llawer o bethau yr hen ystâd gyda ni. Mae egwyddorion, gwyniau, a thymherau yr hen deyrnas, trachwantau ein hen dad diafol, eto yn fyw yn ein myn-

wesau; ac nid gormod yw dywedyd fod llygredigaeth y galon yn barod i dòri allan ymysg y saint mewn pethau rhy fryntion i'w henwi ymysg y cenedloedd. Am hyny y mae ymwrthodiad â phechod yn waith oes y dyn duwiol. A'r hyn y mae'r Bibl yn ei ddwyn fel un o'r cymhelliadau mawrion i hyny ydyw fod ei gyflwr ef yn gofyn hyny. Mae yn galw pechodau yn ddillad y nos, yn weithredoedd y tywyllwch. Mae y tywyllwch hwnw wedi myned heibio ar gredinwyr; plant y goleuni, plant y dydd ydynt hwy. Rhodiwn ynte fel plant y goleuni; gwyliwn a byddwn sobr. "Yn y rhai hefyd," yn yr hen chwantau drwg, medd Paul wrth y saint a'r ffyddlawn frodyr yn Colossa, "y rhodiasoch chwithau gynt, pan oeddych yn byw ynddynt. Ond yr awr hon rhoddwch chwithau ymaith yr holl bethau hyn, digter, llid, drygioni, cabledd, serthedd allan o'ch genau. Na ddywedwch gelwydd wrth eich gilydd." Paham *yr awr hon?* onid felly y dylid bod yn wastad? Ië, ond felly yn llawer mwy yr awr hon. Yr oeddynt yn bethau gwrthun ynoch bob amser; eithr y maent yn nodedig felly yr awr hon. Dysgwylir i chwi ymarweddu a gweithredu "megys etholedigion Duw," *choice men* Brenin y nefoedd, "sanctaidd ac anwyl." Pan fyddo y credadyn yn edrych ar ei freintiau ac ar ei obeithion, y mae pechod yn annyoddefol iddo.

Yn unig trwy farweiddiad pechod a chynnydd parhäus mewn sancteiddrwydd y cedwir y duwiol mewn ysbryd ac agweddau prïodol i'w gyflwr o ras ac iachawdwriaeth; ac yn unig trwy hyn y gall efe brofi mai duwiol ydyw. Nid oes dim a fedd crefyddwr yn brawf o undeb â Christ os nad yw ymwrthod â phechod, ac yn meithrin ac arddangos sancteiddrwydd; ac o'r ochr arall y mae hyn yn cynnwys ynddo y prawf sicraf o hyny. Pa fodd y deuwn i wybod ein bod o Dduw trwy Grist? Caiff Ioan ddywedyd wrthych: "O blant bychain, na thwylled neb chwi. Yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn, megys y mae yntau yn gyfiawn. Pob un a aned o Dduw, nid yw yn gwneuthur pechod; oblegid y mae ei hâd ef yn aros ynddo ef; ac ni all efe bechu, am ei eni ef o Dduw." Pa le y mae'r dyn a fedr dystiolaethu, Nis gallaf fi ddywedyd celwydd, nis gallaf arfer twyll, nis gallaf feddwi, nis gallaf feithrin ymddïal; pa fodd y gallaf wneuthur y mawrddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw? dyna y duwiol. I'r perwyl hwn y llefara Paul wrth yr Ephesiaid. Wedi dywedyd fod

y cenedloedd eraill yn rhodio yn oferedd eu meddwl, wedi diddarbodi, yn ymroi i drythyllwch, i wneuthur pob aflendid yn un chwant, mae yn troi atynt hwy yn eglwys Ephesus, ac yn dyweyd, "Eithr chwychwi nid felly y dysgasoch Grist." Yr ydych chwi wedi "ei glywed ef, a'ch dysgu ynddo, megys y mae y gwirionedd yn yr Iesu." Beth yw yr effeithiau? "Dodi o honoch heibio, o ran yr ymarweddiad cyntaf, yr hen ddyn, yr hwn sydd lygredig yn ol y chwantau twyllodrus, ac ymadnewyddu yn ysbryd eich meddwl, a gwisgo y dyn newydd, yr hwn yn ol Duw a grëwyd mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd." Ac os yw y marweiddiad yn anorphen, y mae credinwyr, *am eu bod yn gredinwyr*, yn cael eu galw i gyflawni hyn fwyfwy. "Marwhëwch gan hyny eich aelodau y rhai sydd ar y ddaear." Gan hyny! gan ba beth? Gan eich bod wedi cydgyfodi gyda Christ—gan fod eich bywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw—a chan, pan yr ymddangoso Crist ein bywyd ni, yr ymddangoswch chwithau gydag ef mewn gogoniant; "marwhëwch gan hyny" bob chwant ansanctaidd. Profwch eich undeb â Christ trwy eich tebygrwydd iddo. "Yr hwn a ddywed ei fod ef yn aros ynddo ef, a ddylai yntau felly rodio megys ag y rhodiodd ef." Y mae enw Crist arnoch, megys enw tad ar ei blentyn, neu enw ei phrïod ar y wraig; "a phob un sydd yn enwi enw Crist, ymadawed oddiwrth anghyfiawnder." Gyda Christ yn y galon trwy ffydd, chwi a'i gwisgwch ef am danoch yn y byd, trwy ddangos ymhob ymddygiad y meddwl hwnw, yr hwn oedd yn Nghrist Iesu. Heb hyny, ofer a thwyllodrus yw eich holl broffes grefyddol; canys "od oes neb heb Ysbryd Crist ganddo, nid yw hwnw yn eiddo ef."

4. *Y cymhelliad olaf i ddyblu yr ymdrech yn erbyn pechod, ac i gynnyddu mewn sancteiddrwydd calon a buchedd, ydyw fod dydd y fuchedd dragywyddol yn ymyl.* Mae nos yr ystâd anmherffaith ar y ddaear wedi cerdded ymhell; a'r dydd o oleuni nefol a nesäodd. Y mae ein iachawdwriaeth yn ei pherffeithiad—ein iachawdwriaeth fel gwaredigaeth gyflawn a thragywyddol oddiwrth bechod, ac fel y cymundeb llwyraf a dedwyddaf â Duw—yn nês na phan gredasom. Gan hyny, "rhodiwn yn weddus megys wrth liw dydd; nid mewn cyfeddach a meddwdod, nid mewn cydorwedd ac anlladrwydd." Rhyfedd! paham y dywedir fel hyna wrth gredinwyr, ïe, wrth hen gredinwyr yn gwersyllu ar gyffiniau tra-

gywyddoldeb? Ni wn i ddim nad oes yma ryw awgrym y gallai cristion lacio yn ngorchwyliaeth y marweiddiad pechod yn ystod ei fywyd, ac felly i'r bwystfil roddi ysbonc cyn trengu a allai anafu yr enaid yn ymyl y bedd. O Dduw, pâr i mi grynu yn fy lle! Mae y Bibl yn gwneyd i mi feddwl mai nid peth anmhosibl yw i ddyn duwiol syrthio neu adfeilio, ïe, y naill a'r llall, a'r naill drwy y llall, a hyny yn ei hen ddyddiau. Beth yw y swn canmolus a roddir i "ffyrdd cyntaf Dafydd" (2 Cron. xvii. 4)? "Cofiais di, caredigrwydd dy ieuenctyd, serch dy ddyweddi, pan y'm canlynaist yn y diffeithwch," medd Duw wrth Israel wrthgiliedig. Beth yw y cyfeiriadau rhybuddiol at ddechreuad yr hyder—y ffydd gyntaf—y cariad cyntaf—y gweithredoedd cyntaf? A phwy a welwch chwi yn syrthio i bechodau cyhoeddus ond Noah, Lot, Dafydd, a Solomon—saint enwog, mewn amgylchiadau neillduol, ac ar brydnawn eu hoes? Ni a gawn Iesu Grist yn diweddu ei ddarluniad o orchwyliaethau ofnadwy y farn ar Jerusalem, gyda rhybudd i'r apostolion, "Edrychwch arnoch eich hunain, rhag i'ch calonau un amser drymhâu trwy lythineb a meddwdod, a gofalon y bywyd hwn, a dyfod y dydd hwnw arnoch yn ddisymwth." Pa beth! perygl i ddynion duwiol yn y fath amgylchiad syrthio i lythineb a meddwdod? Ië, dyna yr amser peryglaf. Yn ymyl y tân a'r brwmstan yr oedd Lot yn hwyrfrydig. Yn safn y brofedigaeth yr oedd Pedr yn cysgu. Tra yr oedd y Prïodfab yn aros yn hir y darfu i'r holl forwynion hepian a huno. Ydyw! mae y testun yn awgrymu y gallai hen broffeswr yn ymyl y cyfnewidiad mawr deimlo gwyniau a blysiau drwg yn gweithio o'i fewn, ïe, ac y gallent ymferwi allan yn gyhoeddus. Ai ci yw dy was? medd rhywun sydd wedi pasio y deng mlynedd a thriugain; nid oes achos i mi ofni y fath ffolineb a drwg. Wel, mi a appeliaf atat: Ai nid wyt yn teimlo cynhyrfiadau llygredig eto yn fyw yn dy fynwes? ac os felly, y mae galwad arnat am ymroi i farweiddio'r cnawd, a hyny yn fwy yn gymaint a bod dydd dy ymadawiad mor agos. Mae y Prïodfab yn dyfod; bydd effro gyda'th lamp yn oleu i'w ddysgwyl. Dyna di ar riniog tragywyddoldeb. Ië, ond nid âf fi i uffern. A wyt ti yn sicr o hyny, hen broffeswr, neu dydi hen swyddog eglwysig! Beth yw brefiadau y chwantau hyn yn fy nghlustiau, yr ymchwyddo, y tramgwyddo, yr ymddigio, neu y crintachrwydd a'r anmharodrwydd i ymhelaethu mewn haelioni?

Ond pe na byddai nemawr berygl i hen grefyddwyr ymlygru, y mae henaint ynddo ei hun yn galw am i saint oedranus ragori mewn sancteiddrwydd. Y mae llïaws heddyw sydd yn debyg i Israel gynt yn gwersyllu yn rhosydd Moab, a thaith yr anialwch ymron ar ben. Dyna yr oes ar ddarfod, natur ar ymollwng, y Barnwr wrth y drws. "Pa fath ryw ddynion a ddylech chwi fod mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb?" Y mae coffa llawer rhan o'r oes yn drwm. O angharedigrwydd, gwrthnysigrwydd, a gwrthryfel ein calonau yn erbyn ein Harglwydd a'n Hiachawdwr! Mae llwch llawer llo aur eto yn y cwpan, craith llawer codwm eto heb wella, yr anmhariaeth oddiwrth lawer nychdod heb ymadael â'r ysbryd; mae y chwantau a faethwyd pan yn ieuanc yn gwrthod marw yn yr hen ddysgybl. Ac ai dyma yr agwedd sydd arnat, fy enaid, pan yr wyt yn ymyl myned trwy angeu i ŵydd Duw a'i luoedd gogoneddus? Heb sôn am fyned i uffern, onid yw myned i'r nefoedd yn rhywbeth arswydol? Pan aeth Esaiah yno mewn gweledigaeth, bu yr hyn a welodd agos a'i ladd; yr oedd wedi ei orchfygu gan ofn a chywilydd. Wedi gweled y Brenin, Arglwydd y lluoedd, yn eistedd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig, y seraphiaid pur o'i amgylch, a sancteiddrwydd ar bob peth, efe a ddolefodd, "Gwae fi! gŵr halogedig ydwyf!" Mae yn dy fynwes dithau ddefnydd cywilydd, tra yr wyt yn ymyl myned at Dduw. Onid yw yn bryd i ti weithian ddeffroi? I ba le yr âf, meddi, yn wyneb euogrwydd hen feïau, a gwyniau drwg sydd eto yn fyw ynof? Nid oes genyf gynghor gwell na'th gymhell i fyned at y gwaed sydd yn puro y gydwybod, ac yn glanhâu oddiwrth bob pechod. Penderfyna a gwna gyda yr hen Williams o Bantycelyn,

"Minnau ddôf i'r ffynnon löew,
Darddodd allan ar y bryn;
Ac mi olcha'm henaid euog
Ganwaith yn y dyfroedd hyn:
Myrdd o feiau
Dafla'i lawr i rym y dŵr."

Hwyrach nad oes un ffordd mwy effeithiol tuag at ymbarotôi erbyn y cyfnewidiad mawr sydd yn ymyl nag adolygu taith bywyd hyd yma; edrych yn ol ar ein hynfydrwydd ein hunain, ac ar ddaioni a gras ein Duw. "Cofia yr holl ffordd yr arweiniodd yr Arglwydd dy Dduw ynddi y deugain mlynedd hyn trwy yr anial-

wch." Pa faint a fu dy anniolchgarwch am drugareddau, dy duchan dan brofedigaethau, dy anghrediniaeth am weled daioni yr Arglwydd yn nhir y rhai byw? O y balchder, yr ysgafnder, y cnawdolrwydd, a'r marweidd-dra, oedd yn ymgymysgu â'n dyledswyddau crefyddol, a thrwy ba rai yn rhy fynych yr halogwyd pethau sanctaidd Duw yn ein dwylaw! Er hyny, yn ei aml dosturiaethau, ni adawodd efe mo honom yn yr anialwch. Y mae trugaredd a gwirionedd wedi ein canlyn holl ddyddiau ein bywyd. Bellach mae yr anialwch o'r tu ol, a Chanaan yn ymagor o'r blaen; ac onid yw yr ystyriaeth hon yn codi aml ochenaid o ddyfnder y galon,

"O am ddyddiau
Pan ddarfyddo pechu'n lân!"

Gan ein bod yn teimlo dull y byd hwn yn myned heibio mor gyflym, a thragywyddoldeb mor agos, yn sicr ni a ddylem wylo megys heb wylo, llawenhâu megys heb lawenhâu, a meddu yr hyn sydd genym o'r byd megys heb feddu. Nesâwn at Dduw yn Nghrist; yn agos ato ef y gwywa pob llygredd, ac yr ymadfywia pob gras.

Yr ydym wedi cyfeirio ein sylwadau hyn yn benaf, os nid yn gwbl, at gredinwyr; a thybygem mai prïodol yn awr yw y cymhwysiad, "Os braidd y mae'r cyfiawn yn gadwedig, pa le yr ymddengys yr annuwiol a'r pechadur?" Yr annuwiol, mae yn bryd i ti ddeffroi yn wir! Wele di yn ymyl y farn, a'r cwbl a ddylesit ei wneuthur heb ei gyflawni. Mae dy ddydd gras wedi cerdded ymhell, a nos anobaith tragywyddol wedi nesâu. Pwy sydd yn dywedyd nad ydwyf fi yn Nghrist? Dy ddïotta, dy fydolrwydd, dy fyw diweddi, sydd yn dywedyd ymhob calon sydd yn dy adnabod mai dyn annuwiol ydwyt! Gwybydd yr amser, fod yn llawn bryd i ti ddeffroi o'th drymgwsg. Y mae dy angeu gerllaw; ond nid oes iachawdwriaeth i ti yn nesu gydag ef, o herwydd dyma ti eto heb y pethau sydd ynglŷn wrth iachawdwriaeth. Bechadur! yr amser hwn, pa fodd nad ydwyt yn ei ddeall? A raid wylo uwch dy ben, "Pe gwybuasit dithau, ïe, yn dy ddydd hwn, y pethau a berthynent i'th heddwch! eithr yn awr y maent yn guddiedig oddiwrth dy lygaid." Onid edifarhâi di am dy bechod ac onis credi yn Nghrist yn ebrwydd bellach, bydd tywyllwch eithaf yn dilyn hyny o oleuni a fu yn dy feddwl erioed,

i'r tragywyddol yn cymeryd lle pob tynerwch cydwybod, digofaint Duw yn dy drîn yn lle ei hir-amynedd, dinystr disymwth yn dyfod ar dy warthaf, "am nad adnabuost amser dy ymweliad." Cyn i'th ddydd fyned heibio, brysia i'th roddi dy hun iddo Ef sydd yn derbyn pechaduriaid; dôs ato yr awr hon, rhag ofn y bydd y drws wedi ei gau erbyn yr awr nesaf!

## PREGETH XV.

### GALLU YR ARGLWYDD I IACHAU PECHADUR.

MATTHEW viii. 2: "Ac wele, un gwahanglwyfus a ddaeth ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, os myni, ti a elli fy nglanhâu i."

YMAE yn sylw prïodol am oesoedd boreuol y byd, pan yr oedd meddyliau plant dynion yn anghynefin â syniadau manwl a rheolaidd, fod yr Arglwydd yn gweini iddynt addysg grefyddol trwy ymarferiadau allanol, ac felly yn cyfarch eu deall a'u rheswm drwy gyfrwng eu synwyrau corfforol. Yr oedd yr Israeliaid yn yr Aipht wedi cael eu hir gylchynu â defodau eilunaddolgar; ac yn eu hystâd o gaethiwed a gorthrwm mawr, yr oeddynt, fel y gallesid dysgwyl, yn ddwl iawn eu hamgyffredion, a thrwy hyny yn anghymhwys i dderbyn argraff oddiwrth wersi athrawiaethol a philosophaidd. Ac ar gyfer hyn, wele yr Arglwydd eu Duw yn ymostwng i'w dysgu am grefydd trwy arwyddluniau neu bethau gweledig. Yr oedd gwahaniaethiad bwydydd a chrëaduriaid i'r dosbarthiad o lân ac aflan yn dysgu iddynt y gwahaniaeth moesol rhwng drwg a da. Yr oedd sefydliad yr aberthau yn eu hyfforddi am euogrwydd eu pechodau, a'r angenrheidrwydd am yr iawn dros bechod oedd i gael ei roddi ryw ddydd gan y Messïah. Felly hefyd ordeiniwyd i gyfryw ddygwyddiadau â chyffwrdd â chorff marw, pla y gwahanglwyf, a phethau o gyffelyb natur, gael edrych arnynt fel yn halogi y rhai y dygwyddai felly iddynt, nes y byddai raid eu cau allan o blith dynion ac

oddiwrth addoliad Duw, er mwyn argyhoeddi y genedl am halogrwydd pechod, a'u dwyn i weled nad oedd ond trefn Duw a allasai eu glanhâu oddiwrtho.

O bob aflendid seremonïol, nid oes yr un, dybygid, yn cynnwys mwy o ystyr gysgodol na'r gwahanglwyf. Cawn y deddfau o berthynas iddo yn helaeth a manwl, yn trîn yr arwyddion o hono, yr ymddygiad at y clwyfus, a threfn ei lanhâd, fel nas gall neb sydd yn credu fod natur gysgodol i osodiadau Moses ammheu fod y gyfraith ynghylch y gwahanglwyf yn arbenig felly. Arweinir ni i farnu ei fod yn glefyd goruwchnaturiol. Duw yn ddigyfrwng oedd yn ei roddi, ac efe yn unig a allasai ei symud. At yr offeiriad, ac nid at y meddygon, yr elai y gwahanglwyfus yn Israel, ac ato ef fel un yn gweini dros Dduw, ac yn ol ei ewyllys. Nid oedd gan Aaron ddim ond edrych, na Moses ond gweddïo, nac Eliseus ond adrodd meddwl Duw, yn amgylchiad y gwahanglwyf. Duw yn unig mewn modd gwyrthiol oedd yn iachâu oddiwrtho.

Fel hyn yr oedd y truan yn y testun wrth ddyfod at Grist am lanhâd o'i wahanglwyf yn ei gydnabod yn un mawr; a Christ, wrth ei lanhâu â gair yn ddiatreg, yn profi ei fod uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd. Yr oedd yr Arglwydd Iesu y pryd hyn yn pregethu trwy wlad Galilea; ac ar ei waith yn dyfod i waered o ryw fynydd, ac yn nesâu at ryw dref, cyfarfu y dyn truenus hwn âg ef. Yr oedd efe, meddir, yn "un gwahanglwyfus;" gŵr llawn o'r gwahanglwyf; y gwahanglwyf bron âg ysu a chancro ei holl natur. Yr oedd math o wahanglwyf, os tòrai allan yn gèn sychwyn dros yr holl gorff, i'w farnu yn lân gan yr offeiriad. Ond os byddai cîg noeth byw ynddo, hen wahanglwyf o'r fath waethaf oedd hwnw, wedi cerdded trwy y corff, a'r cîg byw yn dangos fod yr holl waed wedi ei heintio. Dyma y gwahanglwyf mwyaf heintus, ffiaidd, ac anfeddyginiaethol; a'r cyfryw oedd cyflwr y truan hwn. Ond yr oedd clywed am wyrthiau Crist wedi cynnyrchu yn ei feddwl ffydd yn Nghrist; ac efe a ddaeth ato gan ei addoli ef, ac yn ol Marc a Luc, gan syrthio ar ei liniau ac ar ei wyneb, a dywedyd gan ymbil âg ef, "Arglwydd, os myni, ti a elli fy nglanhâu i."

Ystyriwn y dyn hwn,

I. Fel yn bortread o honom ni dan bechod.

Yn afiechyd echryslawn ei gorff, wele y gwahanglwyfus yn arwyddlun o ddyn mewn ystâd o bechod a than ei lywodraeth.

1. *Yr oedd y gwahanglwyf yn dechreu yn fychan iawn.* Byddai yr haint yn guddiedig yn y gwaed, ac yn tòri allan i ddechreu yn rhyw frychni diniwed yn rhywfan yn y croen; weithiau yn y pen, y farf, y talcen, neu y llaw, heb beri dim poen, na dwyn un nôd argoelus; ac felly byddai y dyn ei hun, a'r offeiriad hefyd, yn methu gwybod ai y gwahanglwyf neu rywbeth arall ydoedd. Cauid ar y claf saith niwrnod, a saith drachefn, cyn gallu penderfynu. Yr oedd yn anhawdd weithiau wahaniaethu rhyngddo â chraith y cornwyd, neu chwydd y llosgiad; yr oedd cymaint yn ymddibynu ar ansawdd y cnawd, a lliw y blewyn. Byddai weithiau yn troi allan yn hen wahanglwyf er ac wedi i'r offeiriad ei farnu yn lân; ac weithiau yn troi ar wellâu, neu ynte yn profi ei hun yn rhyw fath arall o glefyd, wedi i'r offeiriad ei farnu yn hen wahanglwyf. Gallasai y clwyfus edrych ar y fan heintus o'i gorff, gan ddywedyd gyda gobaith ac ofn, Beth a ddaw o hwn?

Yn debyg i hyn y mae llwgr y natur ddynol, yr hen afiechyd ysbrydol sydd yn guddiedig ynddi o'i ffurfiad (Psalm li. 5; Eph. ii. 3). Mae yn tòri allan yn fuan yn ol yr oedran, yr amgylchiadau, a'r ardymher; weithiau yn y pen mewn camfarnu, neu yn y llaw trwy gamweithredu, eithr yn y dechreu mewn rhyw esiamplau bychain ac ansicr iawn; nid mewn pethau sydd yn molestu rhïeni yn y baban gwirion, ond drwy ryw ledrith a ffuantwch diniwed; yr ystrywiau digrifol sydd yn peri i chwi chwerthin yn fwy na galaru. Dyna y pechod yn gweithio yn y llanc a'r gŵr ieuanc, nid mewn cyflawni ysgelerder, llawer llai mewn bywyd o ymroddiad i fawrddrwg, ond mewn brydiau oddifewn, cellwair â'r achlysuron, a chwareu â'r demtasiwn. Eithr beth fydd y diwedd? A baid ef a thòri allan yn hen wahanglwyf marwol? Yr adfeiliad sydd yn peri i ti ddifateru am y Bibl, esgeuluso gweddi a moddion gras,—gobeithio mai rhyw gramen ddiniwed ydyw, ond gwylia rhag mai y gwahanglwyf arswydus ydyw. "Edrychwch, frodyr, na byddo un amser yn neb o honoch galon ddrwg anghrediniaeth, gan ymado oddiwrth Dduw byw." Dichon, fy enaid, yr adferwyd llawer a aeth ymhellach na thi; ond cofia y diweddodd llawer mewn llwyr wrthgiliad a gychwynodd yr un

fath â thi. Gelli di wenieithio nad ydyw y dymher ddrwg, neu y coegddigrifwch, ddim mwy na gwendid anocheladwy, megys rhyw gramen ar y croen; ond gwylia gamgymeryd; y mae pechod yn alluog i deyrnasu i farwolaeth yn y ffordd yna. Nid oedd fy nghwymp ddim ond llithro mewn temtasiwn, medd rhywun. Ië, ond y mae temtasiwn yn fynych yn dynoethi y rhagrithiwr, tra y mae yn wir yn rhy aml wedi gorchfygu y duwiol. Temtasiwn a wywodd yr hâd ar y graig, ac a daflodd i lawr y tŷ ar y tywod. Y mae temtasiwn, meddi, wedi cwympo Dafydd gystal a Saul, Pedr gystal a Judas. Ydyw, ond os y naill a adferwyd, y llall a ddinystriwyd. Gwylia rhag na byddo dy gwymp di ddim ond llygredigaeth wedi tòri dros argae cydwybod, nes dybenu mewn marwolaeth. Beth yw y chwant sydd wedi gwneyd ei ffordd i'th feddwl a'th serchiadau—y cnawdolrwydd sydd yn rhyfela yn erbyn yr enaid—y balchder sydd yn bathu y meddyliau chwyddedig o annibyniaeth ar Dduw? ai temtasiwn achlysurol neu ynte ansawdd wastadol y meddwl? ai gwrthryfelwr neu ynte brenin? ai gwrthwynebwr yn erbyn deddf y meddwl ai ynte y chwant trwy yr hwn y mae pechod yn ymarfer ei lywodraeth yn yr enaid? Mae ynof wrthwynebiad i'r chwant, meddi. Ond pa un ai yn yr ewyllys y mae y gwrthwynebiad hwnw, ai yn y gydwybod? Ai gras sydd yn dyheu dan ormes llygredd, ynte ai goleuni cydwybod sydd yn condemnio ei lywodraeth yn y galon? Ymbwylla mewn hunanymholiad difrifol, ac arfer weddi daer am faddeuant a gras sancteiddiol.

2. *Yr oedd y gwahanglwyf yn profi ei hun yn ei gynnydd a'i ymledaeniad dros yr holl gorff.* Arwydd obeithiol mai nid y gwahanglwyf oedd ar y dyn, ydoedd ei fod heb ymledu a dyfnhâu yn y cnawd a'r croen. Ond am y gwahanglwyf ysol, yr oedd hwnw yn bwyta yn raddol ei holl wrthddrych. Os ymaflai yn muriau y tŷ, yn ystof neu anwe y dilledyn, yr oedd yn ysu o gàreg i gàreg, ac o edef i edef, nes cancro a difa y cwbl. Yn y corff dynol drachefn, yr oedd yn dyfnhâu yn y cnawd, yn ymledu yn y croen, yn goresgyn yn ddirgel y rhanau iach o'r corff, ac yn troi y gwaed yn ymborth iddo ei hun, nes gwneuthur y dyn yn un cruglwyth o lygredigaeth. Yr oedd y dyn hwn yn cofio pan yr oedd yn dechreu yn ddim ond rhyw frychni bychan ar ran o'i gorff; eithr erbyn hyn, dyma efe, druan, yn llawn o'r gwahanglwyf, o wadn y troed hyd y pen.

Yr ydoedd y gwahanglwyf yn hyn yn arwyddocäol iawn o bechod gwreiddiol a gweithredol. Y mae llwgr cwymp y dyn cyntaf fel gwahanglwyf Gehazi wedi glynu wrth ei hâd ef yn dragywydd. Ac megys y mae pob dyn yn llygredig, felly y mae yr holl ddyn. Yr un modd am bechod gweithredol. Crëadur rhesymol wedi ysgar oddiwrth ffynnon purdeb, nid oes ond llygredigaeth yn unig yn amcan mawr ei enaid ef. O'i ran ei hun, efe a ä rhagddo hyd gyrhaeddiad ei natur mewn drygioni. Y chwant gwylaidd, dybygid, sydd yn sibrwd yn nychymyg y dyn, os coleddir ef ganddo, a fydd yn sicr o orchfygu ei holl galon; wrth ei gyflawni unwaith, gedy awydd i'w gyflawni drachefn. Bydd y nerth i'w wrthwynebu yn llai, a'r awydd iddo yn fwy. Dyna efe yn ymborthi ar gyfoeth y dyn, neu ar ei ddoniau; mae yn myned yn ail natur iddo, nes y bydd mor anhawdd ei adael âg i'r llewpard newid ei frychni. Ymleda y chwant dros holl fywyd y dyn; pe cai efe fyw byth ar y ddaear, byddai byw yn ei fai, fel y diafol, yr hwn sydd yn pechu o'r dechreuad. Bydd ei esgyrn yn llawn o bechodau ei ieuenctyd yn ei hen ddyddiau; yr ynfydrwydd oedd yn rhedeg yn ei galon yn blentyn, yn trigo yn ei galon tra fyddo byw.

Ac y mae ei bechod yn myned rhagddo o chwant i chwant; y naill radd o bechu i radd arall, nes myned o'r diwedd o fod yn rhagrithiwr dirgel yn wrthgiliwr cyhoeddus—o fod yn wrthodwr Crist yn erlidiwr arno—o bechu gyda phoen i bechu gyda phleser—o rodio yn ffordd yr annuwiol i eistedd yn eisteddfa y gwatwarwyr. A ydyw awydd am fod yn fwy na'i gymydog yn chwant llywodraethol ar ddyn? iaith hwnw cyn hir a fydd, "Dringaf yn uwch na'r cymylau; tebyg fyddaf i'r Goruchaf." A ydyw y galon yn dechreu gostwng at gybydd-dod? ni ddigonir hona âg arian; ni orphwys nes boddi ei pherchen i ddinystr a cholledigaeth. A yw y llygad yn dechreu edrych ar y gwîn? aros a glynu wrtho fydd y diwedd; er ei guro a'i ddulio, efe a ddywed. "Af rhagof; mi a'i ceisiaf drachefn." A ydyw trythyllwch yn deffro yn y fynwes? ni ddywed byth, Digon, nes arwain y pechadur i ochain yn ddiobaith o'r diwedd, wedi i'w gnawd a'i gorff gurio. Beth fydd diwedd cyfeiliorni oddiwrth y gwirionedd? "Cynnyddu a wnant i fwy o annuwioldeb," o bwnc i bwnc, nes ysu yr holl gorff eglwysig fel cancr (2 Tim. ii. 16, 17). Y pechadur sydd bellach

yn llawn o'r gwahanglwyf: pob iawn deimlad wedi ei ddifa, y meddwl yn anghymeradwy, y gydwybod yn seriedig, y gwyniau yn warthus, yr ewyllys yn gadarn mewn gelyniaeth at Dduw a sancteiddrwydd, yn ymwerthu i bob drygioni.

3. *Yr oedd drygnod arbenig yn cael ei osod ar y gwahanglwyf os byddai yn tarddu allan yn mhenfoeledd y clwyfus.* Os gwelid "anafod gwyngoch yn y penfoeledd," dyna y penderfyniad, "Gŵr gwahanglwyfus yw hwnw, aflan yw; a'r offeiriad a'i barna ef yn llwyr aflan; yn ei ben y mae ei bla."

Hwyrach y gallem ni gymeryd yn addysg oddiwrth hyn, mai argoel ddrwg o deyrnasiad pechod ar y galon yw ei fod yn tòri allan yn ymwrthodiad â'r gwirionedd mewn barn; oblegid ansawdd bechadurus y galon sydd yn llygru y farn. Gelyniaeth at y gwirionedd yw yr achos o'i wrthodiad, pa un bynag ai yn nirgelwch ei athrawiaeth neu yn mhurdeb ei foesau. Mae yr efengyl yn cyhoeddi iachawdwriaeth o ras, ond y mae ar y balch ei heisieu o ddyled. Dyrchafa hi Grist a'i gyfiawnder, ac yntau sydd am osod ei gyfiawnder ei hun. Dywed hi yn erbyn pob pechod, ac am farweiddio'r cwbl; ond y mae efe am arbed ei chwant. Gwrthyd yr efengyl am ei fod yn ei chasâu. Mae grym pechod yn yr ewyllys a'r serch yn fawr pan yn gyru dyn yn groes i argyhoeddiad ei ddeall a'i farn; ond mae yn ei ddangos ei hun yn fwy grymus pan y mae yn difa pob iawn syniad, yn gwneyd y meddwl yn anghymeradwy, ac yn gosod dyn i bechu oddiar egwyddor. I ba annuwioldeb nid ä efe mwy? Tra yr oedd Duw yn y gair yn cael rhyw le yn y meddwl, yr oedd yno ronyn o attalfa i ddrwg. Ond "os bydd y goleuni sydd ynot yn dywyllwch, pa faint fydd y tywyllwch!" Ië, y mae dynion i'w cael sydd yn gwrthod y gwirionedd o bwrpas i bechu. Beth sydd yn peri iddynt wadu Duw, y farn, a'r byd tragywyddol? Am ymwerthu yn ddirwystr i ddrwg y maent. O ddynion ieuainc, gwyliwch y cam cyntaf o adfeiliad oddiwrth yr efengyl! gwyliwch i'w goleu hi fyned yn ddieffaith i chwi; o herwydd y mae yr act o ddirmygu yr efengyl yn gadael yn y meddwl duedd i bob drwg. I'r graddau y byddo hi yn colli tir yn eich meddyliau, y bydd llygredigaeth y galon a'r fuchedd yn cryfhâu. Ac os oedd Duw yn rhoddi dynion i fyny am wrthod goleu natur (Rhuf. i. 24—29), O pa beth a ddaw o honoch chwi wedi gwrthod y goleu mwyaf, unig oleuni'r byd, y goleuni olaf

a gŵyd ar y byd byth! Mallai hyny i chwi bob goleu llai. Ni chaiff rheswm, cydwybod, na natur, mo'r anrhydedd o gadw y dyn hwnw o fewn terfynau âg sydd wedi gwrthod unig iachawdwriaeth Duw. Gwareded y Duw trugarog chwi rhag y fath ddiwedd!

4. *Argoel ddinystriol iawn ar y gwahanglwyf oedd ei fod yn gwrthweithio moddion y feddyginiaeth, ac yn ail dòri allan ar y gwrthddrych wedi ei lanhâu.* Byddai y dyn weithiau â hen greithiau y llosg a'r cornwyd yn ymddangos wedi eu hiachâu, ei ddufrech wedi gwella, a'r offeiriad yn ei farnu yn lân, ond ar ol hyny ei hen greithiau yn chwyddo drachefn, a'r pla yn lledu ar ol ei lanhâu; ac yr oedd raid ar unwaith benderfynu fod hwnw yn aflan. Felly am ddilledyn ammheus yn cael ei olchi, a'r rhan heintus yn cael ei dòri allan, os byddai y pla yn ymddangos ynddo drachefn, gwelid mai gwahanglwyf ysol oedd yno, ac nad oedd dim i'w wneyd ond ei losgi yn llwyr. Yr un modd os ammheuid fod y pla yn muriau y tŷ, ac i'r offeiriad dynu y cèryg heintus ymaith, a gosod cèryg iach yn eu lle, gan grafu y morter oddiar y parwydydd, a'i briddo drachefn â morter newydd, os gwelid y pla wedi tarddu a lledu drachefn, dyna wahanglwyf ysol; a rhaid oedd tynu yr holl dŷ i lawr, a thaflu allan y cyfan i le aflan.

Beth yw yr addysg? "Os cuddiedig yw ein hefengyl ni, yn y rhai colledig y mae yn guddiedig." O pa faint o Gymry sydd, dybygid, o dan y glanhâd o'u mebyd! Dyma rïeni, athrawon, pregethwyr, megys yn golchi y dilledyn, yn crafu y muriau, trwy geryddon ac argyhoeddiadau, yn ceisio tòri ymaith arferion drwg, y naill ar ol y llall: y llyfr, y cwmni, yr egwyddorion drwg, yn cael eu tynu ymaith fel hen gèryg heintus o'r muriau, ac egwyddorion gair Duw, meini gwerthfawr y Jerusalem nefol, yn cael eu gosod yn eu lle. Ië, y mae Ysbryd Duw ei hun yn goleuo ac argyhoeddi, nes y mae'r dyn yn edifarhâu fel Ahab, yn llawenychu fel gwrandäwyr Ioan, hen greithiau y cornwyd fel yn iachâu, meddwdod ac anfoes yn myned o'r golwg, y tŷ wedi ei ysgubo a'i drwsio. Ond beth a welir ar ol hyny? Y dyn "wedi gollwng dros gôf ei lanhâu oddiwrth ei bechodau gynt." Yr arwydd drymaf o arglwyddiaeth pechod ar y galon yw fod dyn yn cymeryd ei rwystro drachefn, a'i orchfygu gan ei hen chwantau. Yr hen greithiau sydd yna yn ail chwyddo, a'r gwahanglwyf yn ail ymledu. Y perygl ydyw i un fel hyn gael ei roddi i fyny am byth; dyna y

moddion a arferwyd wedi methu. "Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth hi yn iach; gadewch hi" (Jer. li. 9).

5. *Yr oedd y gwahanglwyf yn cau allan o dabernacl yr Arglwydd.* Am hyny y gelwir ef y *gwahân*-glwyf; clwyf yn gwahanu y rhai oedd dano oddiwrth bawb a phob peth glân, ac felly oddiwrth wersyll yr Arglwydd.

Y mae pechod yn ysgar oddiwrth Dduw, yn gosbedigaethol ac yn naturiol; trwy y ddedfryd arno, a thrwy ei effeithiau uniongyrchol. Gan fod y credadyn wedi ei gyfiawnhâu, y mae ganddo ef heddwch tuag at Dduw, ac oddiar hyny gymdeithas âg ef. Ond y mae marwolaeth rhwng yr annuwiol a ffafr Duw. Gall gyflawni dyledswyddau, ond nid oes iddo ynddynt gymdeithas â Duw, gan ei fod yn rhodio yn y tywyllwch; nid oes iddo ddim hyfdra a dyfodfa mewn hyder; dim nesâd at Dduw fel hyfrydwch ei orfoledd. A phan y delo dydd angeu, "ni chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw." Nid â dim aflan i mewn i'r ddinas sanctaidd. Ac megys na chaiff yr annuwiol gymdeithasu â Duw, ni faidd, ac ni fyn hyny, am fod y galon yn euog a halogedig; y mae, fel Israel anwireddus, yn blino ar yr Arglwydd. Mae ei serchiadau, gwreiddiau ei feddyliau, yn ei gario at bethau croes i burdeb Duw, pechod yn gweithio mewn trachwantau at ei wrthddrychau, fel nas gall fod yn yr enaid flâs ar air, ordinhadau, a phethau yr Arglwydd. Ac nid yn unig y mae'r meddwl am dano yn ddiflas, ond y mae hefyd yn dwyn diflasdod ar ei bleserau eraill, swyn pechod yn colli, yr euogrwydd yn rhuo; y mae natur Duw yn ddychryn i'r meddwl, ac felly y mae yn ffoi oddiwrtho. Enaid, os äi di i'r byd arall â'r pla heb ei symud, fe'th wahana di byth oddiwrth Dduw. Nid gallu Duw yn gymaint a fydd yn bolltio'r nefoedd rhag yr annuwiol; eithr bydd tymher ei ysbryd ef ei hun yn ei fàrio allan yn dragywydd. Bydd daioni a sancteiddrwydd Duw, a serchiadau halogedig y pechadur, yn anghymmodlawn â'u gilydd byth. Yr amlygiadau sydd yn afonydd o hyfrydwch i bob crëadur sanctaidd a fyddant yn afonydd o frwmstan, yn ennyn uffern yr halogedig yn oes oesoedd.

Dyma y pla ysbrydol, drych o'r hwn a gedwid gan Dduw ger bron llygaid Israel trwy y clefyd mwyaf aflan ac echryslawn a allasai ddala y natur ddynol. Yr oedd rhagluniaeth y nefoedd yn cadw rhywrai o hyd i droi ymysg y genedl yn gruglwyth o

lygredigaeth, wedi eu dëol o bob cymdeithas, heb swydd na hawl na braint yn yr eglwys, o bwrpas i ddangos i'r bobl fel pechaduriaid gyflwr ac ansawdd eu heneidiau yn ngolwg Duw.

Wedi gosod y dyn hwn ger bron fel rhyw ddarlun o'n sefyllfa drwy bechod o ran ystyr gysgodol ei bla, ni a'i hystyriwn ef eto

II. Fel y mae yn esiampl i ni yn ei ffydd; fel y mae yn arddangos meddwl mawr am Grist, ac yn taflu ei hunan i freichiau ei benarglwyddiaeth a'i ewyllys da.

Yr oedd y rhai oll ag yr oedd ganddynt rywfaint o ffydd yn Nghrist, ac yn gweled ei eisieu, pan yr oedd efe ar y ddaear, yn dyfod ato ef; ond ni a welwn rai yn dyfod gyda mwy o hyder na'r lleill. Yr oedd rhai yn dyfod at Grist heb ammheu dim. "Yn unig dywed y gair," medd y canwriad, "a'm gwas a iachëir." "Bu farw fy merch yr awr hon," ebe Jairus, llywodraethwr y synagog; "eithr tyred a gosod dy law arni, a byw fydd hi." Yr oedd eraill yn ymddangos yn petruso rhyw gymaint ynghylch ei allu. Felly y dywedai tad y bachgen lloerig: "Os gelli di ddim, cymhorth ni, gan dosturio wrthym." Yr oedd efe wedi dwyn ei fab at ei ddysgyblion, ac yn eu gweled hwy yn methu bwrw allan yr ysbryd drwg; ac y mae efe yn awr fel yn mwy na hanner cwestiyna medr eu Meistr. Eithr ni a welwn nad oedd y gwahanglwyfus yn y testun yn ammheu dim am allu Crist i'w iachâu; ond y mae efe yn ymddangos yn ammheu ei ewyllysgarwch. "Os myni, ti a elli." Mi a glywais am dy enwogrwydd mawr a'th wyrthiau blaenorol; iachëaist, glanhëaist eraill; a'r un mor hawdd i ti a fydd fy nglanhâu innau o'm gwahanglwyf; ond a wyt ti yn barod i wneuthur hyny o ran ewyllys, nis gwn i.

Ond yn hytrach ni a allwn olygu geiriau y gwahanglwyfus hwn fel amlygiad o'i ostyngeiddrwydd ac o'i barchedigaeth i Grist. "Arglwydd" ydwyt ti; Penarglwydd, â chenyt hawl i drugarhâu wrth y neb y mynot; nid ydwyt dan unrhyw rwymau i mi; fel Arglwydd ar bawb, y mae genyt hawl berffaith i roddi neu attal dy gymwynasau yn ol fel y barnot oreu. Fel nad wyf yn petruso dim am dy allu i'm gwaredu allan o'm ffiaidd glwyf, nid wyf ychwaith am ryfygu ar dy ewyllys, fel un yn gallu dy orchymyn; ond os gweli yn dda, mi fyddaf ddiolchgar iawn i ti am fy nglanhâu, canys ti a elli bob peth a ewyllysi. Y mae yr Iesu, ni a welwn, heb oedi

dim, yn rhoddi i'r gwahanglwyf yr ateb mwyaf boddlonol a gras lawn, fel un yn ei ystyried ei hun yn cael ei anrhydeddu yn ei gais. "Mynaf, bydd lân;" ac yr oedd y rhinwedd glanhäol yn dyfod gyda ei eiriau yn y fan. "Ymadawodd y gwahanglwyf âg ef yn ebrwydd, a glanhäwyd ef."

Dyma fel y mae pechadur eto i nesu at Dduw am iachawdwriaeth. "Os myni, ti a elli fy" achub yn awr, a'm cadw byth. Beth a gynnwys dirnad y gall Duw, os myn, faddeu a gwaredu pechadur? mwy, hwyrach, nag oedd yn meddwl y dyn gwahanglwyfus hwn ar y pryd, a llawer mwy nag sydd yn meddwl y bobl anwybodus a diofal sydd yn dysgwyl cael myned i'r nefoedd am y gall Duw bob peth. Pan glywaf yr iach yn siarad felly, byddaf yn casglu, Dyna ddyn heb adnabod Duw, na gweled dryghaeddiant ei bechod. Peth mawr yw i'r pechadur argyhoeddedig ddirnad y gall Duw ei achub; mae hyny yn dangos ffydd sydd yn cynnwys ac yn cofleidio y gwirioneddau mwyaf eu pwys.

Pa bethau a gynnwysir yn y grêd y gall Duw, os myn efe, ein gwaredu?

1. Y mae hyn yn cynnwys *dirnadaeth nas gall fod yn ein hiachawdwriaeth ddim yn groes i natur Duw.*

Er nad oes neb oddi allan i'r Goruchaf a all osod terfyn iddo mewn dim, eto y mae ei natur yn derfyn a rheol iddo ei hun. Nis gall efe wneuthur nac ewyllysio gwneuthur dim ond sydd yn unol â phrïodoliaethau ei natur. Am ddim a'r a wyddom ni, gallasai efe beidio gweithredu oll mewn na chrëadigaeth, rhagluniaeth, na gras; ond os gweithreda efe, y mae yn rhwym o weithredu yn un â'i brïodoliaethau goruchel; nis gall efe ei wadu ei hun trwy wneuthur dim yn groes i'w natur.

Yn wir, y mae yn anhawdd gyru unpeth yn erbyn ei natur. Mae yn rhaid arfer rhyw gymaint o orthrech i gadw y wreichionen i lawr, ac i daflu y gàreg i fyny. Nid oes dim yn dangos grym pechod yn fwy na phan y gweloch ef yn gyru dyn yn erbyn ei holl natur. Mae yn rhaid ei fod yn nerthol pan y mae yn gyru y dyn yn groes i un ran o'i natur i foddio y rhan arall—yn ei yru yn erbyn ei ran uchelaf i foddio ei ran iselaf—yn erbyn ei reswm a'i gydwybod i foddhâu un o'i chwantau anifeilaidd. Ond y mae yn gryfach wedi hyny pan y gŷr ef i weithredu yn erbyn ei holl natur. Chwi a glywsoch, mi wn, am rywrai yn gadael yr arfer

naturiol ymysg pob crëadur o noddi eu rhai bychain, a magu a meithrin eu cnawd eu hun, ac yn myned yn erbyn holl rediad anian i ladd eu plant; ac eraill, yn erbyn y ddeddf naturiol o hunangadwraeth, a'u lladdasant eu hunain. Peth anhawdd, yn wir, yw cael dynion i wneuthur hyny. Ond y mae perffeithrwydd Duw y fath fel ag y mae yn anmhosibl iddo ef wneuthur dim croes i'w natur. Y mae efe yn Fôd anghenrheidiol, yn Fôd o anfeidrol berffeithrwydd, yn Fôd anghyfnewidiol; ac felly nis gall efe byth weithredu yn wrthwyneb iddo ei hun. O ganlyniad, mae yn anmhosibl i bechadur argyhoeddedig ddirnad fod yn bosibl i Dduw faddeu ei feiau a glanhâu ei enaid, nes y delo i'w adnabod yn Nghrist.

Nis gall efe, yn y lle cyntaf, weled dim yn natur Duw i ddyfod yn achos o iachawdwriaeth pechadur. Nis gwêl efe ynddo ddim a allai beri iddo ewyllysio maddeu. Y mae ffynnonau tragywyddol maddeuant yn guddiedig o olwg yr euog sydd heb ei oleuo am Grist, nes y mae fel Ismael yn marw o syched dan y goeden heb weled y pydew dwfr gerllaw. Gâd i mi ofyn i ti, bechadur, A wyt ti yn sicr dy fod wedi dirnad erioed i foddlonrwydd dy gydwybod yn awr marwolaeth fod yn y Duwdod pur y pechaist di yn ei erbyn rywbeth a all fod yn achos maddeuant—rywbeth a allo ei ysgogi i'r fath orchwyliaeth ryfedd â chodi yr anghenus o'r domen? Pa fodd yr oeddit yn gallu gwneuthur allan hyny? Pa beth a wnaeth efe fel ag i'th argyhoeddi fod yn ei natur ef achosion maddeuant? Edrych i'r grëadigaeth: mae ei anweledig bethau ef wedi dyfod i'r golwg yno, sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod; ond y mae achosion maddeuant i droseddwr oddiyno yn guddiedig. Edrych i'r gyfraith: y mae cyfiawnder a sancteiddrwydd yn amlwg ynddi; ond pa le y mae y gras? pa le y ceir heddwch? pa le y mae trigle maddeuant? Melldithio y troseddwr y mae'r gyfraith. Ymwrando ar lais dy gydwybod: y mae hi o fewn dy galon yn tystiolaethu am burdeb ac uniondeb Duw; ond ni ddywed air am ras a maddeuant i'r euog. Oddiar dy syniadau gwreiddiol fel pechadur am Dduw, yr wyt yn edrych arno fel y tân ysol—y Duw sanctaidd hwn—y Barnwr cyfiawn; oes, y mae rhywbeth ynddo sydd yn peri i ti edrych arno yn ŵr tost. Neu os oes rhyw ddirnadaeth am ei ddaioni yn y galon, oddiar olwg ar ddoniau natur a rhagluniaeth, nid oes yn hyny un

sicrhâd am faddeuant i enaid gwrthryfelgar. Y mae llywodraeth wladol yn gweini i gyfreidiau yr adyn dan gondemniad, er nas bwriedir maddeu iddo. Yr eithaf a all daioni Duw ei wneuthur yn nhrefn natur i bechadur ydyw ei arbed hyd ddydd dial; ei gadw yn fyw am enyd i'w ddwyn allan yn nydd digofaint; peri i'w haul godi arno ryw ychydig oriau, fel ar Sodoma cyn ei dyfetha. Dyna oddef trwy hirymaros lestri digofaint nes y byddont yn gymhwysach i golledigaeth. Ond pa le y mae trugaredd a gras, achosion maddeuant ac iachawdwriaeth? O ran yr amlygiadau hyn, y mae natur Duw fel yn dywedyd am iachawdwriaeth, "Nid yw hi ynof fi;" a chydwybod y pechadur hebddi yn ochain, "Nid ydyw hi gyda myfi;" a cholledigaeth heb glywed sôn am dani.

Ac, ymhellach, pe deuai pechadur i wybod fod trugaredd a gras yn Nuw, ewyllys da ynddo i ddynion, rhywbeth sydd yn peri nad ydyw yn ewyllysio bod neb yn golledig, nac yn ymhoffi yn marwolaeth yr annuwiol, ni byddai hyny, drachefn, yn ddigon i brofi y gall efe faddeu pechod, cyfiawnhâu yr annuwiol, a glanhâu yr ansanctaidd. Nid ydych chwi i fesur y peth a all Duw oddiwrth ryw un o brïodoliaethau ei natur, ond oddiwrth yr hyn a all efe wneuthur yn rhinwedd y brïodoledd hòno mewn undeb â phob perffeithrwydd arall. Y mae yr hyn a all trugaredd a gras, a'u golygu arnynt eu hunain, yn un peth; ond mae y peth a allant yn Nuw yn beth arall; oblegid y maent yma mewn cysylltiad â chyfiawnder, sancteiddrwydd, a doethineb; a chan hyny nis gall y Jehofah ymarfer ei drugaredd ond yn gyfiawn, yn sanctaidd, yn ddoeth, ac felly yn anrhydeddus iddo ei hun. Beth a all trugaredd yn y Cyfiawn odiaeth, yn yr Hwn y mae ei enw yn sanctaidd? yw y cwestiwn i ni. Od oes ynddo ryw berffeithrwydd goruchel sydd yn tueddu i helpu y truenus, mae ei natur yn ei rwymo hefyd i gosbi pechod. Nis gall edrych ond gyda dygasedd perffaith ar anwiredd, a hyny nid am na fyn yn unig, ond o herwydd glendid ei natur, a'i uniondeb o anghenrheidrwydd yn tueddu byth i'w gosbi. "Duw sancteiddiol yw efe; ni ddyoddef efe eich anwiredd na'ch pechodau" (Jos. xxiv. 19). Ei enw a'i natur yw Jehofah, y Duw na chyfrif yr anwir yn gyfiawn. Beth y mae efe yn ei hòni iddo ei hun fel Barnwr cyfiawn yr holl ddaear? "Myfi bïau dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd." Cyfiawn yw ger ei fron ef dalu

cystudd i bechadur euog; y mae hyny, nid yn beth y mae cyfiawnder yn ei oddef, ond yn ei dalu o anghenrhaid. Y mae hyd yn nôd athrofeydd drygioni "yn gwybod cyfiawnder Duw," fod y rhai sydd yn pechu "yn haeddu marwolaeth." Enw y gosb yw "cyfiawn daledigaeth." Pan y gweinyddir hi, bydd yr holl grëadigaeth, a chydwybod yr euog ei hun, yn dywedyd, Amen. Hwy a chwithent pe baech yn sibrwd mai anghyfiawn yw Duw wrth ddwyn ar y troseddwr ddigofaint. "Na ato Duw! Cyfiawn wyt ti, O Arglwydd, oblegid barnu o honot.Ië, Arglwydd Dduw Hollalluog, cyfiawn a chywir yw dy farnau di!" Am hyny y mae efe wedi sefydlu cosbi pechod yn y trefniad cyntaf rhyngddo â dyn, ac y mae ei benderfyniad yn hysbys mewn myrdd o fygythion, ac felly y mae gwirionedd yn ei rwymo i dalu i bechaduriaid yn ol eu gweithredoedd. Y mae efe yn aros yn ffyddlawn yn ei fygythion megys yn ei addewidion; nid all efe ei wadu ei hun.

Fel hyn dyma achos bywyd heb ei ddadguddio, pryd y mae ffynnonau cosbedigaeth, sef cyfiawnder a sancteiddrwydd y Duwdod, yn gerfiedig o fewn ac oddi allan i'r euog.Ië, meddi, y mae Duw yn drugarog. Ydyw, ond y mae efe yn gyfiawn hefyd. Nid yw gweinyddiad trugaredd ond peth o ewyllys da Duw; ond mae gweithredu yn gyfiawn yn naturiol iddo, ac yn anghenrheidiol arno. Gallasai fod yn Dduw y cariad ac yn Dduw trugarog, heb fod yn Dduw maddeuant ac iachawdwriaeth; ond nis gallasai fod yn gyfiawn—yn wir, nis gallasai fod yn Dduw, â chaniatâu i bechod fyned yn ddigosb. Nid yw cosbi pechod yn beth croes i drugaredd; ond mae maddeu heb iawn yn groes i gyfiawnder.

Ond yn Nghrist y mae yr holl anhawsderau hyn wedi eu symud; yma y mae holl brïodoliaethau y Duwdod mawr wedi eu hamlygu mewn perffaith gydgordiad uwchben achos yr euog. Y mae ffynnonau tragywyddol maddeuant wedi ymagor yn nghnawdoliaeth Emmanuel, ac yn rhedeg yn deilwng i natur Duw yn sianel ei gyfryngdod at y pechadur. Pan welo yr euog hyn, efe a ddywed yn ngeiriau y tesun, "Os myni, ti a elli." Wele gyfiawnder dy natur wedi cael iawn, deddf dòredig wedi cael anrhydedd, gwirionedd wedi ei gyflawni; ti a elli fy achub. Nid rhaid i mi ofni fod dim sydd ynot ar ffordd fy nghadw. Yn angeu y groes mae dy natur yn ymddangos fel moroedd o drugaredd a gras.

"Beth all'sai ddangos pwy wyt ti
Yn well nag angeu Calfari?"

Ti a elli! gwelaf dy holl ddaioni yn yr agen o fewn y graig. Beth nad all y gras a'r cariad a anfonodd y Mab, ac a'i gwnaeth ef yn bechod a melldith? Onid wyt yn gyfiawn? dangos hyny trwy faddeu i mi yn y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu. Onid wyt yn eirwir? maddeu yn ol dy addewid. Cei ddangos gwirionedd ddwywaith felly, a hyny mewn esiamplau hynod: cyflawni y bygythiad ar dy Fab, a chyflawni dy addewid i bechadur.

Wrth edrych ar Dduw yn Nghrist, cawn weled fod achub pechadur yn fwy cydnaws â holl natur Duw na'i gosbi. Yr ydym yn casglu oddiwrth dystiolaeth gair Duw fod cosbi pechadur yn groes i rywbeth yn y Duwdod. Mae fel pe byddai yn anhawdd ganddo roddi i fyny yr euog i farn. "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol." "Pa fodd y'th roddaf ymaith, Ephraim? y'th roddaf i fyny, Israel? pa fodd y'th wnaf fel Admah, ac y'th osodaf megys Seboim? trodd fy nghalon ynof, a'm hedifeirwch a gydgynneuwyd." Ond pan y mae yn achub pechadur, y mae yn gwneuthur hyny dan ganu—yn ei wneuthur â'i holl galon ac â'i holl enaid. Pan ddisgynodd yr Arglwydd i ddinystrio Sodom, efe a gychwynodd yn gynnar y dydd o'r blaen, fel un am gymeryd digon o amser ar y ffordd; a bu yn *loitran* am y rhan fwyaf o'r diwrnod gyda ei gyfaill Abraham yn ngwastadedd Mamre; yr oedd yn hwyr arno cyn cyrhaedd Sodom ddrygionus, ac nid aeth i wlawio dystryw arni hyd drannoeth. Ond mor wahanol y mae yn ymddwyn wrth drugarhâu ac achub! Gyda fod yr afradlawn yn codi i fyned at ei dad, "pan oedd efe eto ymhell oddiwrtho, ei dad a'i canfu ef, ac a dosturiodd, ac a redodd, ac a syrthiodd ar ei wddf ef, ac a'i cusanodd." Duw a welwn yn myned yn araf at waith nad yw yn ymhoffi ynddo, ac yn rhedeg i wneuthur yr hyn sydd yn hoff ganddo.

2. Y mae yn cynnwys *crêd nad oes mewn maddeu ac achub trwy Grist ddim yn groes i un penderfyniad o eiddo Duw.*

Y mae llawer o bethau yn groes i lw neu benderfyniad Duw âg nad ydynt ynddynt eu hunain yn groes i natur Duw. Gweithrediad ei rydd ewyllys yw ei benderfyniad; gall benderfynu neu beidio yn ol fel y gwelo yn dda. Ond pan dyngo iddo ei hun,

pan y gwystlo ei fywyd a'i hanfod i wneuthur unpeth, nid all efe droi oddiwrth hyny.

Heb i mi yma gyfeirio at fwriadau tragywyddol ynghylch neb o'i grëaduriaid, am yr hyn nas gwn ddim, gwybyddwch fod trafodiaethau difrifol yn pasio rhwng Duw âg eneidiau dynion mewn cysylltiad â moddion gras. Y mae y fath beth a bod y Duw mawr yn ymdrin âg enaid dyn ynghylch ei iachawdwriaeth; ac y mae'r fath beth hefyd â bod Duw yn peidio ymryson â dyn mwyach, mewn canlyniad i gyndynrwydd y dyn ei hun, gan benderfynu ei adael iddo ei hunan. Ac wedi i Dduw ddyfod i benderfynu ar rywbeth, wedi iddo unwaith ddywedyd y gair, ni eilw efe byth y gair hwnw yn ol. Pe gweddïai Noah, Daniel, a Job, neu Moses a Samuel, dros enaid y penderfynodd Duw ei adael, ni ffynai eu gweddïau drosto. Efe a benderfynodd fwrw ymaith Saul o fod yn frenin ar Israel. Ië, ond dacw Saul yn cydnabod ei bechod, a Samuel yn galaru o'i herwydd; a gall Duw gan hyny newid ei feddwl. Na wna! medd prophwyd yr Arglwydd; "Cadernid Israel ni ddywed gelwydd, ac nid edifarhâ; canys nid dyn yw efe i edifarhâu." Yr oedd Duw wedi penderfynu bendithio Israel oedd yn gwersyllu yn rhosydd Moab. Ond dacw Balaam, dan gyflog gan Balac, yn ceisio llwyddo gyda Duw i droi y fendith yn felldith; y mae efe yn troi ac yn trosi, yn myned o'r naill fryn i'r llall, yn offrymu aberthau drudfawr, a'r cyfan er mwyn cael caniatâd gan Dduw i felldithio Israel. Beth yw gair yr Arglwydd bellach, Balaam? a gei di felldithio Israel? Na châf: "pa fodd y rhegaf yr hwn ni regodd Duw? a pha fodd y ffieiddiaf yr hwn ni ffieiddiodd yr Arglwydd?" Y mae yn codi allorau eraill, ac yn offrymu eto; ond mae'r canlyniad yn gwbl fel o'r blaen. Pa fodd yr wyt ti eto heb lwyddo gyda Duw i gael y caniatâd a ddymunit ganddo? Am mai "nid dyn yw Duw i ddywedyd celwydd, na mab dyn i edifarhâu; a ddywedodd efe, ac nis cyflawna? a lefarodd efe, ac oni chywira? bendithiodd efe, ac ni thröaf fi hyny yn ol." Wedi i feibion Israel lawer gwaith bechu yn yr anialwch, yr oedd Moses yn cael lle i eiriol drostynt nes llwyddo gyda Duw ar eu rhan. Ond o'r diwedd, wele lwon Duw yn myned rhwng y genedlaeth wrthnysig â Chanaan. "Fel mai byw fi, yn y diffeithwch hwn y cwymp eich celaneddau." Ni cheisiodd Moses ar ol hyny am i'r Arglwydd ddwyn y rhai hyny i'r wlad dda. Mynent

hwy fyned yno ar draws y bygythiad. "Wele, ni a awn i fyny." meddynt. "Paham yr ydych fel hyn yn troseddu gair yr Arglwydd?" ebe Moses; "hyn ni lwydda." Ddoe yr oeddych yn gwrthsefyll yn erbyn Duw trwy sôn am ddychwelyd i'r Aipht; ond heddyw yr ydych yn gwrthryfela trwy geisio myned i Ganaan, pryd y mae llw Duw ar eich ffordd. Esau am un saig o fwyd a werthodd ei enedigaeth-fraint, a rhoes Duw ei Amen wrth y fargen. Jacob, ynte, a'i caiff, medd efe. Edifarhäodd Esau, ond ni cha'i Isaac edifarhâu. Er mor hoff oedd ganddo ef am Esau, rhaid oedd iddo bellach adael y fendith i Jacob. "Bendithiais ef," meddai; "a bendigedig hefyd fydd efe." Gwrthododd Duw dŷ Eli, am fod meibion Eli yn feibion Belial. Hwyrach y try Duw atynt eto. Na wna! y mae efe wedi tyngu. "Tyngais na wneir iawn am anwiredd tŷ Eli âg aberth nac â bwydoffrwm byth." Rhaid i minnau ddywedyd wrth y pechadur sydd yn ymgyndynu yn wyneb holl alwadau efengyl Duw arno: Os na ennillir di gan ras y nef, fe ddaw y foment arswydus pan y bydd y Duw mawr yn dy adael i ti dy hunan am byth! Ni churaf fi ddim wrth ddrws hwna eto, medd Iesu Grist. Nid ymrysonaf fi ddim â hwna mwyach, medd yr Ysbryd Glân. O ddyn anobeithiol! y mae Duw'r gwirionedd yn edrych dros ei regfeydd, ac yn dywedyd, Fel mai byw fi, fel y lleferaist yn fy nghlustiau, felly y gwnaf i ti. Nid oes genyf bellach ond dy roddi i fyny; ni'th lanhëir mwy; na thyfed dim sanctaidd ynot mwyach; na fwytäed neb ffrwyth da arnat ti byth!

Ond nid oes un penderfyniad o'r natur yna ar ffordd neb a fynai ddyfod at Grist am iachawdwriaeth, fel y gwahanglwyfus yn y testun am lanhâd. Beth os yw Duw wedi darfod â mi, meddit, fel â'r rhai a nodwyd genych yn awr? Nac ydyw, nac ydyw, os oes a fynoch di âg ef! Byddaf yn ofni fod yr Arglwydd wedi fy rhoddi i fyny. Na, y mae y cyfryw ofn yn profi i'r gwrthwyneb. Os oes yn dy galon y tynerwch lleiaf, y tuedd lleiaf i ymddarostwng o flaen Duw, y dymuniad lleiaf am ei drugaredd trwy Iesu Grist, dyna brawf digonol fod Ysbryd Duw heb adael dy enaid. Os ydyw "Os myni, ti a elli fy nghlanhâu," yn dy galon di, y mae "Mynaf, bydd lan," yn ei galon yntau, y Gwaredwr grasol. Pwy a gynnyrchodd y tynerwch yna, y dysgwyliad am ei drugaredd, yr awydd i nesu at ei draed, yn dy ysbryd di—pwy ond ei Ysbryd

ef ei hun? Ac, yn sicr, ni chynnyrchodd efe mo honynt i'w siomi. Ni osododd Duw nwyd mewn un crëadur heb ddarparu gwrthddrych i'w boddhâu; ac os oes arnat tithau syched am ddwfr y bywyd, gorfoledda am y gwahoddiad grasusol, "A'r hwn sydd â syched arno, deued; a'r hwn sydd yn ewyllysio cymered ddwfr y bywyd yn rhad." Tyred mewn hyder at Grist am dy fywyd, a thi a gei weled y dichon efe dy gwbl iachâu.

3. Mae y ffydd hon—y gall Duw, os myn, achub yr enaid—yn cynnwys *nad oes dim yn ei iachawdwriaeth yn anghyson â gogoniant Duw.*

Ei ogoniant ydyw amcan uchaf Duw yn ei holl weithredoedd. "Yr Arglwydd a wnaeth bob peth er ei fwyn ei hun," sef er peri y fath amlygiad o brïodoliaethau ei natur ag a fydd yn foddlonrwydd iddo ei hun, ac yn cynnyrchu iddo addoliad a mawl oddiwrth ei grëaduriaid. Felly y gwnaeth efe yn y grëadigaeth. Wedi gorphen ei waith, yr oedd efe ei hunan yn gorphwys mewn boddlonrwydd, a meibion Duw yn canu a gorfoleddu. "Teilwng wyt, O Arglwydd, i dderbyn gogoniant, ac anrhydedd, a gallu; canys ti a grëaist bob peth, ac o herwydd dy ewyllys di y maent, ac y crëwyd hwynt,"—dyna anthem fawr crëadigaeth. Yn arweiniad Israel o'r Aipht i Ganaan, gogoniant Duw a dôdd y nefoedd, a'r ddaear a lanwyd o'i fawl (Hab. iii. 3); ac yr oedd cofio am y gorchwyliaethau hyny gynt yn cadw yr eglwys mewn hwyl addoli trwy yr oesoedd. Ac os â Duw i osod pechadur mewn iachawdwriaeth, fe wna hyny mewn ffordd a fydd nid yn unig yn dïogelu ei ogoniant rhag sarhâd, ond yn amlygu ei ogoniant fwyfwy. Nid digon fydd ganddo gadw ei ogoniant sydd yn amlwg eisoes rhag myned dan gwmwl; ond os gwna efe waith newydd, rhaid i hwnw fod yn amlygiad newydd o'i ogoniant a fydd yn peri cân newydd o fawl iddo. Yr Hwn y mae ei ogoniant yn nôd iddo ymhob dim, nid â efe i'w ddiraddio ei hun wrth arbed ei elyn; ond os maddeua efe iddo, efe a fyn weinyddu y maddeuant, a chyfranu pob bendith yn ganlynol, mewn modd ac i fesur a fydd yn boddloni ei feddwl anfeidrol ef ei hun, ac yn rhoi tànnau newyddion yn nhelynau ei holl grëaduriaid sanctaidd.

A threfn yn sicrhâu ac yn estyn i Dduw ogoniant yw trefn achub trwy Grist. Y mae y drefn hon yn grëadigaeth newydd; a cheir yma y fath amlygiad o Dduw ag sydd yn taflu yr holl am-

lygiadau blaenorol i'r cysgod. Yma y mae ei ddoethineb yn fawr-amryw, ei allu mewn rhagorol fawredd, ei gyfiawnder fel mynyddau cedyrn, tra mai yma yn unig y gogoneddwyd ac y gogoneddir trugaredd, gras, a chariad Duw. Y mae pobpeth arall bellach megys heb ei ogoneddu, o herwydd y gogoniant tra rhagorol a ganfyddir yn nhrefn iachawdwriaeth. Mae yr angelion, sydd o'r dechreuad yn llawen syllu ar ogoniant Duw, yn troi oddiwrth bob amlygiad arall o hono, gan fel y maent yn chwennychu edrych ar Dduw yn ei ogoneddu ei hun trwy ei gymwynasgarwch i ni yn Nghrist Iesu. Y maent yn arganmawl yn y nefoedd uchod y cariad a'r gras a wnaeth y fath aberth ar y ddaear isod. "Teilwng yw yr Oen, yr hwn a laddwyd," seiniant â llêf uchel, "i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith." Yn y dydd olaf, daw Mab Duw i'w ogoneddu, nid yn ei waith yn peri i'r ddaear a'r nef ffoi oddiwrth ei wyneb, ond yn ei saint; myn fod yn rhyfeddol, nid wrth doddi yr elfenau gan wir wrês, ond yn y rhai oll a fyddant wedi credu ynddo. Yn y prynedigaeth y dysgleiria gogoniant penaf y Duwdod.

Y mae y drefn hon gan hyny yn ateb yn llawn i ddymuniad enaid grasol: dyma y gogoniant i Dduw, a bywyd tragywyddol iddo yntau. Nid yw efe am y naill heb y llall; ac yma y mae yn cael y ddau. Mae rhywrai wedi bod yn dywedyd fod duwioldeb yn peri i ddyn fod mor ymröedig i ogoniant Duw nes boddloni i fyned i uffern, os trwy hyny y caiff Duw ei ogoneddu. Ond nis gallaf fi gredu fod gras byth yn difodi natur; pa fodd bynag, y mae ynof rywbeth sydd yn peri i mi ddywedyd na chymmodaf byth â myned i uffern, hyd yn nôd er i Dduw gael ei ogoniant. Yn help Duw, boddlonaf i fod ar y ddaear yn dlawd, yn gystudd-iedig, neu yn ddirmygedig, os rhaid a fydd; ond byth nis bodd-lonaf i fyned i uffern. Ond o'r ochr arall, nis dymunwn fyned i'r nefoedd heb i Dduw gael gogoniant. Nis gallwn deimlo yn gysurus er cael fy nghadw, os byddai fy nghadwedigaeth yn gwthio o'r golwg ogoniant y Duw Goruchaf; ac nis gallaf ychwaith gymmodi â'r meddwl o fyned i ddystryw er mwyn ei ogoniant. O, medd yr enaid argyhoeddedig, na welwn ffordd i Dduw gael ei ogoniant, ac i minnau gael fy nghadw hefyd! Wele, medd Iesu, "myfi yw y ffordd;" trwof fi ceir gogoniant yn y goruchaf i Dduw

ac ewyllys da i ddynion. Yn yr un man—yn Nghrist—y mae enw Duw yn ddyrchafedig, ac enaid dyn yn gadwedig. Y fath ddadl yw hyn am faddeuant! "O Arglwydd, er i'n hanwireddau dystiolaethu i'n herbyn, gwna di er mwyn dy enw. Dilëa fy nghamweddau er dy fwyn dy hun!" Pwy bynag a fyno roddi i Dduw y gogoniant mwyaf, bwried ei hun ar ei drugaredd. Nid allasai trugaredd ddyfod i'r golwg, a dywedyd ei bod hi yn Nuw, heb gyfleusdra i faddeu i'r gwrthryfelwr, cyfiawnhâu yr annuwiol, a chadw'r colledig. Wel "Arglwydd, os myni, ti a elli fy nglanhâu i;" cymer di'r gogoniant, a chymeraf finnau iachawdwriaeth; yn unig dywed y gair, ac iach a fyddaf!

Bellach ni a welwn fod iachawdwriaeth pechadur yn unol â natur, âg ewyllys, ac â gogoniant Duw; ac os oes eisieu gallu yn yr ystyr o weithrediad ac effeithioldeb, y mae i Dduw fraich a chadernid; cadarn yw ei law, ac uchel ei ddeheulaw. A oes eisieu hollti y môr, tynu dwfr o'r graig dân, a pheri i'r nefoedd wlawio manna, tuag at hwyluso a chynnal etifeddion yr addewid ar eu taith? gyda Duw pob peth sydd bosibl. A oes arnat, fy enaid, eisieu symud euogrwydd, sydd i ti yn faich rhy drwm? gall Duw lefaru heddwch i'th gydwybod derfysglyd, a dywedyd wrth yr ystorm o'th fewn, Dystawa! nes y byddo tawelwch mawr. A oes eisieu adnewyddu dy rasau, gyru dy elynion i ffoi, ac arwain a chynnal hyd angeu? ymnertha yn yr Arglwydd; nid oes dim iddo ef yn anhawdd. Ac a wyt yn edrych ymlaen at godi dy gorff o'r bedd? Duw a wnaeth hyny eisoes i ti yn dy Gynnrychiolwr, ac efe a'i gwna i ti yn bersonol yn y dydd hwnw.

Erbyn y byddo y pechadur wedi ei weithio i fwrw ei holl achos i ddwylaw ewyllys penarglwyddiaethol Duw, y mae myrdd o ystyriaethau yn perswadio yr enaid, nid yn unig *y gall* yr Arglwydd, ond *y myn* efe ei dderbyn a'i waredu. Pwy yw efe? Y cyfoethog o drugaredd, a'r anchwiliadwy ei ras. Pe byddai genych gyfaill caredig a chymwynasgar, a allai eich gwaredu o gyfyngder, a ydych yn meddwl yr ymddygai efe yn groes i'w dymher a'i egwyddorion, i'ch gadael i syrthio heb gymhorth? Na, byddai cariad dyn, heb sôn am gariad Duw ynddo, yn ei rwymo i roddi ei allu ar waith i estyn ymwared i'w gyfaill? Beth na wna yr Hwn a roddodd ei Fab i farw drosom? Ni wrthododd erioed, ac ni wrthyd byth, neb a

droes ato yn enw ei Fab. Parotach yw efe i faddeu nag y bu pechadur argyhoeddedig erioed i dderbyn maddeuant. A chyda maddeu yr holl anwiredd, efe a iachâ yr holl lesgedd. Yn rhinwedd ei air "Bydd lân," gwelir yr enaid, a ddaeth ato dan ei wahanglwyf, ryw ddydd heb ôl ei anhwyldeb arno, heb arno na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw, ond yn sanctaidd a difeïus, wedi ei sancteiddio yn gwbl oll.

# PREGETH XVI.

## Y GREADIGAETH NEWYDD.

ESAIAH lxv. 17: "Canys wele fi yn crëu nefoedd newydd a daear newydd; a'r rhai cyntaf ni chofir ac ni feddylir am danynt."

Y MAE prophwydoliaethau y Bibl yn fynych yn cyfeirio at ryw ffeithiau neu amgylchiadau yn hanesyddiaeth y Bibl; ac felly y mae yr Arglwydd, wrth addaw gwneuthur pethau mawrion i'w eglwys mewn amser i ddyfod, yn troi llygaid ei bobl at bethau cyffelyb a gyflawnwyd ganddo mewn amseroedd blaenorol. Y mae hyn yn gwasanaethu i gryfhâu ffydd ei bobl yn yr addewid, ac yn fantais iddynt ddeall yn well yr hyn a gynnwysir ynddi. Prophwydoliaeth am rywbeth mawr a wneid eto gan Dduw i'w eglwys yw geiriau y testun; ac y maent yn cyfeirio at y pethau mawrion a wnaethai efe o'r blaen. Dyma grëadigaeth nefoedd newydd a daear newydd yn cyfeirio at y nefoedd gyntaf a'r ddaear gyntaf; a'r rhai cyntaf hyny ni chofid ac ni feddylid am danynt gan dra-rhagoriaeth y rhai newydd.

Y mae yma, yn ddïau, gyfeiriad yn gyntaf oll, at y grëadigaeth weledig yn nechreu amser, ymha un yr oedd yr eglwys yn nghyflwr natur wedi ei sylfaenu; sef, gwaith Duw yn crëu y nefoedd a'r ddaear a'u holl luoedd hwynt, yn gwneuthur dyn ar ei ddelw, ac yna yn gorphwys mewn boddlonrwydd yn ei weithredoedd, yn cyflwyno ei hunan yn yr amlygiad trwyddynt yn orphwysfa i'w grëadur, ac yn ordeinio y seithfed dydd yn sabbath i fyned i mewn i'r orphwysfa hono trwy gymdeithasu âg ef a'i wasanaethu, ac yn

wystl hefyd o orphwysfa dragywyddol gydag ef mewn buchedd uwch. Pa le bynag y sonia'r Bibl am Dduw yn ei ragluniaeth, neu yn ei ras, yn gwneuthur nefoedd a daear, cyfeirir yno at y grëadigaeth yn nechreu amser; a phan y sonir am ddyfetha nefoedd a daear, yr haul yn duo, y lleuad yn gwrido, a'r ddaear yn cael ei dinystrio trwy ddwfr neu dân, mae yno gyfeiriad, dybygid, at ddinystr y nef a'r ddaear elfenol yn niwedd amser.

Ond gallem feddwl fod yma gyfeiriad mwy penodol at y gwaith ymha un yr oedd yr eglwys Iuddewig fel y cyfryw wedi ei sylfaenu. Mae yr oruchwyliaeth trwy ba un y neillduwyd y genedl Iuddewig oddiwrth holl genedloedd y ddaear, i fod yn bobl gyfammodol yr Arglwydd, yn cael llefaru am dani fel crëadigaeth arbenig. Yr un iaith ag a arferir am ddwyn y bydoedd elfenol i fôd a arferir am wneuthuriad Israel yn eglwys i'r Jehofah. Yr oedd yma weithio, a gorphwysfa ar ol gweithio, a sabbath i gofio am y gwaith. "Myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a barthodd y môr pan ruodd ei dònau; ei enw yw Arglwydd y lluoedd. Gosodais hefyd fy ngeiriau yn dy enau, ac yn nghysgod fy llaw y'th döais, fel y planwn y nefoedd, ac y seiliwn y ddaear, ac y dywedwn wrth Sïon, Fy mhobl ydwyt" (Esa. li. 15, 16). Dyna sefydliad eglwys a gwladwriaeth Israel yn cael ei alw yn blanu'r nefoedd ac yn seilio'r ddaear, ac felly yn cael ei gymharu i grëadigaeth byd. Yr oedd rhan o'r gwaith yn rhag-barotöadol at berffeithiad, megys yr oedd mater y grëadigaeth gyntaf. Y gwaredu o'r Aipht, a'r dygiad trwy y Môr Coch i'r anialwch,—yr oedd yr Israel yma fel y ddaear yn afluniaidd a gwâg, yn rhyw *chaos* a chymysgfa; nid oedd gan y bobl ddeddfau, nac ordinhadau crefyddol, na swyddogion. Ond ar Sinai, perffeithiodd Duw ei grëadigaeth hon. Rhoddes ei eiriau yn eu genau, a sefydlodd ei addoliad a'i ordinhadau yn eu mysg. Gyda golwg ar y drefn hon, wedi iddynt sefydlu yn ngwlad Canaan, y dywed Duw, "Dyma fy ngorphwysfa yn dragywydd; yma y trigaf, canys chwennychais hi;" rhoes ei hun yn y breintiau neillduol yn orphwysfa o'u blaen, i ba un yr oeddynt i fyned i mewn, gan roddi y sabbath yn wystl o honi. Yr oedd y sabbath wedi ei sefydlu o'r dechreuad; ond rhoed ef yn awr i Israel i ddybenion neillduol eu cyfammod â Duw (Exod. xxxi. 16; Nehem. lx. 14; Ezec. xx. 10). Megys yr oedd gwaith Duw yn crëu dyn ar y cyntaf, a'i ddwyn i

gyfammod âg ef ei hunan, yn sail i ofyn gwasanaeth oddiwrtho, felly yr oedd crëu plant Israel yn eglwys, a'u dwyn i berthynas gyfammodol âg ef dan Sinai, yn sail i ofyn ufudd-dod neillduol oddiwrthynt hwy. Felly eu cymhellid: "Myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a'th ddŷg di allan o wlad yr Aipht, o dŷ y caethiwed. Na fydded i ti dduwiau eraill ger fy mron i, &c." Ar y cyfrifon hyn y mae yr Arglwydd yn ei alw ei hun yn Grëawdwr Israel. "Yr Arglwydd dy Grëawdwr di, Jacob, a'th Luniwr di, Israel; myfi yr Arglwydd yw eich Sanct chwi, Crëawdydd Israel, eich Brenin chwi." Wele efe yn crëu a llunio y genedl a fu yn nghaethiwed yr Aipht yn eglwys a phobl iddo ei hun.

Ond er y gelwir y gwaith hwn ynglŷn â'r Israel yn grëadigaeth, nis gelwir mo hono yn grëadigaeth newydd; o herwydd nid oedd ond parotöadol i'r newydd, yr hon a nodir genym eto, ac felly golygir y grëadigaeth hon ar Israel fel yn hen. Yr oedd yr hen gyfammod cyntaf, cyfammod Eden, wedi ei adnewyddu i fesur yn nghyfammod Sinai yn ei addewid a'i fygythiad—y "gwna hyn, a byw fyddi," yn cael ei ddwyn ymlaen ynddo, a dedfryd y cyfammod hwn yn cael ei arddangos yn nghosb eu deddf wladol. Yr oedd i'r pethau hyn ddylanwad hyd yn nôd ar gydwybodau dynion duwiol, fel yr oeddynt yn ddyeithr i'r rhyddid a'r llawenydd yn ngwasanaeth Duw ag sydd yn perthyn i saint y testament newydd, ac o dan ysbryd caethiwed yn peri ofn i fesur helaeth. Cawn Zacharias, tad Ioan Fedyddiwr, yn llawenychu am fod goruchwyliaeth gerllaw, pan y caent "wasanaethu Duw yn ddiofn, mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder ger ei fron ef, holl ddyddiau eu bywyd." Eto o herwydd fod holl oruchwyliaeth Sinai yn sylfaenedig ar yr addewid am Grist oedd wedi ei gwneuthur i Abraham er ys pedwar cant a deg ar hugain o flynyddoedd cyn hyn, a bod holl ddeddfau a bygythion cyfammod Sinai yn dangos yr angenrheidrwydd am Grist, a'r holl aberthau yn cyfeirio ato ac yn gysgodau o hono,—yr oedd pob gwir gredadyn yn Israel yn gadwedig yn yr un ffordd â ninnau. Dan bob cyfnewidiad goruchwyliaeth, y mae trefn cyfiawnhâd pechadur yr un o'r dechreuad.

Yr ydym yn awr yn addfed i fyned gam ymhellach. Dyna eiriau ein testun yn edrych yn ol ar ddau beth: yr amlygiadau o

Dduw yn ngweithredoedd y grëadigaeth weledig, achos crefydd natur, a'r amlygiadau o hono yn ei gyfammod â meibion Israel, gwreiddyn eu neillduolrwydd hwy fel eglwys. Y mae y grëadigaeth newydd gan hyny yn arwyddo y cyflawniad o'r holl waith ar ba un y mae yr eglwys gristionogol fel y cyfryw wedi ei sylfaenu. Ymgnawdoliad Mab Duw, cyflawniad gwaith y prynedigaeth ganddo, cwblhâd cyfammod Sinai yn ei holl gysgodau yn Mherson ac aberth y Cyfryngwr, cadarnhâd y cyfammod newydd yn ei holl addewidion trwy ei ddyfodiad, a chyflawniad yr ammod yn ei angeu, ac mewn canlyniad tynu ymaith y naill gyfammod, a'r gwasanaeth perthynol iddo, o'r eglwys, a gosodiad yr ail yn ei holl ordinhadau yn rheol ei haddoliad hyd y diwedd,—y mae y pethau hyn, fel y byddaf fi yn golygu, i'w cynnwys yn arbenig yn y grëadigaeth newydd. "Yn Nghrist Iesu," sef, yn ngoruchwyliaeth Iesu Grist, "ni ddichon enwaediad ddim, na dienwaediad, ond crëadur newydd." "Yr hen bethau a aethant heibio." Y ddeddf yn yr hen ddull o ufuddhâu iddi, sabbath y seithfed dydd, yr hen sacramentau, a'r drefn gyntaf o addoli,—y maent oll wedi myned heibio, ac "wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd:" cyfammod newydd wedi ei wneuthur â'r eglwys, yn ol addewid Duw trwy Jeremiah (Jer. xxxi. 31—34), addoliad newydd, gydag ysbryd newydd yn yr addolwyr; nid "ysbryd ofn," fel dan yr hen destament, "ond ysbryd nerth, a chariad, a phwyll"—gwasanaeth "mewn newydd-deb ysbryd, ac nid yn hender y llythyren;" a sabbath newydd, wedi ei sefydlu, nid i gofio am yr hen grëadigaeth, ond am waith newydd y prynedigaeth. Hynyma a eilw Duw yn "nefoedd newydd a daear newydd," a'r Iuddewon a'i galwent yn "fyd a ddaw."

Gall y grëadigaeth newydd yn y testun arwyddo, ymhellach, ddygiad yr eglwys dan oruchwyliaeth yr efengyl i'w gogoniant mwyaf yn y dyddiau diweddaf. Yn raddol y dygodd Duw y grëadigaeth gyntaf i berffeithrwydd; ni orphenwyd mo honi yn ei holl brydferthwch ar unwaith, ond cymerwyd chwe' diwrnod i'w gwneuthur. Duw a'i sylfaenodd y dydd cyntaf, ac a'i dygodd i berffeithrwydd erbyn y seithfed dydd. Ac yn gyffelyb y mae am y grëadigaeth newydd. Gosodwyd i lawr ei sylfaen yn nghnawdoliad a marwolaeth Crist, ac yn nhywalltiad yr Ysbryd ar y Pentecost; ac y mae Duw trwy ei ras a'i ragluniaeth yn dwyn ei eglwys

ymlaen yn barhäus at berffeithrwydd. Er fod Mahometaniaeth a Phabyddiaeth wedi cyfodi, ac er fod Paganiaeth, gydag Iuddewiaeth lygredig, yn parhâu, eto y mae eglwys Crist trwy y cwbl yn myned ymlaen yn ei rhediad tuag at ogoniant mawr y dyddiau diweddaf. Ac fel hyn yr ydym yn cael yr addewid am "nefoedd newydd a daear newydd" mewn cysylltiad â'r addewidion am ddadymchweliad teyrnas Satan, terfyniad ar drallodau yr eglwys, a goruchafiaeth efengyl gras yn yr holl fyd, pryd y bydd pob eilunaddoliaeth ac erlidigaeth wedi darfod, a phawb wedi dyfod, fel y dywedir yn yr adnod o flaen y testun, i "ymfendigo yn Nuw y gwirionedd," ac i "dyngu" iddo. "Mi a welais nef newydd a daear newydd," medd Ioan yn y Dadguddiad. Pa bryd y gwelaist ti hwy, Ioan? Wel, yr oedd yn flaenorol yr holl seliau wedi eu hagor, yr holl udgyrn wedi eu canu, a'r holl phiolau wedi eu tywallt; yr oedd y butain fawr wedi ei barnu, y bwystfil gyda'r gau-brophwyd wedi eu dal, a'r ddraig, yr hen sarph, yr hon yw diafol a Satan, wedi ei rwymo, a'i fwrw i'r pydew diwaelod, lle y cauwyd ac y seliwyd arno, i fod yno nes cyflawni y mil o flynyddoedd. Ac ar ol hyny, "mi a welais nef newydd a daear newydd," sef amseroedd newydd ar bob peth dan haul: barnau Duw wedi dadymchwel hen sefydliadau drygionus, a'r cwbl wedi eu hail lunio mewn agwedd newydd; effeithiau efengyl gras ar bob peth trwy'r ddaear, sef yn ol eu gallu i'w derbyn, hyd yn nôd y crëadur direswm, oedd wedi ei ddarostwng i oferedd, ac yn dyheu ac ocheneidio trwy yr oesoedd am ryddhâd o gaethiwed llygredigaeth, wedi cael ei adferu i gyrhaedd amcan ei grëadigaeth, sef i ogoneddu y Crëawdwr, ac i wneyd crëadur sanctaidd yn ddedwydd. Y pryd hwn, bydd y byd gwladwriaethol, ffurflywodraethau a chyfreithiau, yn dyfod megys yn "nefoedd newydd"—y cyfan yn wasanaethgar i achos Mab Duw, ac yn myned ymlaen ar egwyddorion gwirionedd, cyfiawnder, a thangnefedd; a'r bobl oll yn dyfod yn "ddaear newydd," wedi eu gwaredu oddiwrth anghrefydd a phob gau-grefydd, a Duw yn dywedyd, "Y bobl hyn a luniais i mi fy hun; fy moliant a fynegant."

Ac at y cwbl a nodwyd, fe allai y caiff geiriau'r testun ryw gyflawniad llythyrenol pan y dygir yr eglwys i'w hystâd dragywyddol. Mae llawer o esbonwyr sobrfrydig yn dëongli geiriau Pedr ynghylch dyfodiad dydd Duw, "yn yr hwn y nefoedd gan losgi a ymoll-

yngant, a'r defnyddiau gan wir wrês a doddant, a'r ddaear a'r gwaith a fydd ynddi a losgir; eithr nefoedd newydd a daear newydd yr ydym ni, yn ol ei addewid ef, yn eu dysgwyl, yn y rhai y mae cyfiawnder yn cartrefu," yn llythyrenol: y ddaear hon yn cael ei llosgi, nid i'w diddymu, ond i'w phuro, mor bell ag i ddileu ôl traed pechadur a gwaith ei fysedd oddiar ei hwyneb—y meusydd gwaed, trefi llygredig, tai arfau, carcharau, chwareudai, a'r cyffelyb, y rhai a allant sefyll hyd hyny yn gofarwyddion o'r cwymp a melldith pechod ar bob peth—trwy gyflafan y llosgiad mawr diweddaf, ceir awyrgylch newydd a daear newydd, lle y bydd cyfiawnder yn cartrefu. Pa wasanaeth a fydd Duw yn ei wneuthur o'r ddaear wedi ei hadnewyddu, os felly y bydd, nis gallaf ddywedyd. A fydd hi yn gartref i'r saint dros byth wedi yr adgyfodiad, neu a fydd hi yn lle i'r saint, gydag eraill o grëaduriaid sanctaidd a dedwydd Duw, i droi i mewn iddi yn achlysurol, nis gwn. Ond os bydd yr unrhyw deimlad mewn saint dynol wedi yr adgyfodiad âg sydd ynddynt yn y fuchedd hon, gallaf fi gredu y bydd yn hoff ganddynt ddyfod o leiaf i dalu ymweliad yn awr ac eilwaith â'r hen ddaear. Y mae rhywbeth fel deddf yn natur dyn sydd yn peri fod yn dda ganddo ddyfod i ymweled â'r man neu y manau lle bu yn trigo yn mlynyddoedd cyntaf ei fywyd, ac yn enwedig cael ymweled â'r lleoedd y derbyniodd ac y mwynhäodd ynddynt bethau mawrion. Myfi a allwn yn hawdd gasglu fod Jacob yn talu ei ail ymweliad â Bethel gyda theimladau angerddol; rhywbeth ynddo yn dywedyd wrth ei gweled, O yr hen lanerch anwyl! dyma lle y cefais yr ymweliad neillduol oddiwrth Dduw, lle y gwelais yr ysgol yn cyrhaedd o'r ddaear i'r nefoedd, a lle y gwnaeth Duw gyfammod â mi, a minnau âg yntau, nas anghofir byth mo hono! O fendigedig, gysegredig le! Yn hanes bywyd Mr. Charles o'r Bala, ni a'i cawn, wedi iddo fod yn Rhydychain, a chael ei urddo, yn ymweled â'i hen gartref, ac yn dywedyd ei fod yn edrych ar y conglau bychain yn nhŷ ei dad, a'r gwrychoedd yn y meusydd, gyda hyfrydwch annhraethol, wrth gofio y pethau oedd wedi pasio yno rhyngddo â Duw, ei ymdrech mewn gweddi, a'r fendith a gafodd. Yn yr adgof o'i brofiadau yno gynt, yr oedd yn edrych ar hen dyddyn ei dad megys â gwedd paradwys arno. Wele, ynte, os bydd teimladau o'r fath yn mhobl yr Arglwydd wedi yr adgyfodiad, rhaid y bydd yn dda iawn ganddynt dalu ymweliad â'r ddaear,

fel y fan lle y ganwyd y Gwaredwr, lle y bu efe byw a marw, ac y cyflawnodd ef waith ein hiachawdwriaeth, a'r fan lle yr ailanwyd hwythau, ac y cymhwyswyd hwy i ogoniant. Beth a wn i na fydd y seintiau nefol yn dyfod yn gwmnïau ar *excursions* i'r ddaear? nifer, dan ryw gyfarwyddyd, yn dyweyd wrth eu gilydd, Awn hyd Bethlehem, a gwelwn y fan lle y ganwyd ein Brenin a'n Ceidwad! neu angel, fel eu *guide*, yn dywedyd wrthynt, "Deuwch, gwelwch y fan lle y gorweddodd yr Arglwydd!" Ni wiw i chwi ddywedyd fod yn anmhosibl i'r saint ddyfod o'r nefoedd i'r ddaear. Os yw yn bosibl myned o'r ddaear i'r nefoedd, yr un mor bosibl, os nad haws, yw dyfod o'r nefoedd i'r ddaear. Onid oes genym esiamplau o saint wedi dyfod oddiyno? Yr oedd ysbryd Moses wedi bod yn y nefoedd am oesoedd lawer, ac Elias wedi bod yno yn ei gorff a'i enaid; ac eto daeth y ddau i lawr i gyfarfod â Christ ar fynydd sanctaidd y gweddnewidiad.

Ond mi adawaf yna y cyfryw dyb ac amcaniaeth. Pe baech yn credu y syniad olaf hwn, âg yntau heb fod yn wirionedd, ni wnelai nemor niwed i chwi; neu os ydyw yn wir, âg i chwithau ei anghredu, ni byddai llawer o ganlyniad i hyny ychwaith. Eithr ni a wnawn bellach sylwadau mwy ymarferol ar sail geiriau y testun.

I. Creodd Duw bob peth ar y cyntaf yn dda iawn.

Felly y cawn yn yr hanes ysbrydoledig am y grëadigaeth. Yr oedd gwaith pob dydd yn dda; dywedir am bob cyfran, "Gwelodd Duw mai da oedd." Ac am waith yr holl wythnos gyda'i gilydd, dywedir, "Gwelodd Duw yr hyn oll a wnaethai, ac wele da iawn ydoedd;" ac yna efe a gadwodd sabbath mewn boddlonrwydd. Yr oedd y daioni hwn yn gynnwysedig mewn tri pheth: y cwbl yn amlygu Duw i'r dyn—yn troi yn ogoniant i Dduw trwy wasanaeth a mawl y dyn—ac yn dwyn dedwyddwch ar lwybr ufudd-dod i ddyn.

Nis gallasai y grëadigaeth ogoneddu Duw heb y dyn, o herwydd ni feddai hi alluoedd i hyny; ac nis gallasai y dyn wneuthur hyny heb yr amlygiadau o Dduw yn y grëadigaeth; oblegid yr oedd y tragywyddol allu a'r Duwdod yn anweledig bethau iddo ef heb eu hegluro mewn gweithrediad. Dacw y Duw mawr yn rhoddi terfyn, megys, ar dragywyddoldeb, yn britho y gwagle anfesurol â bydoedd heb rifedi. Y mae efe yn sefyll uwch ben y tryblith

anelwig, ac yn ei ddwyn i drefn a phrydferthwch—yn sefyll uwch ben marwolaeth, ac yn peri i bob math o fywyd ferwi drwyddi oll, yn dyfol, teimladol, a rhesymol—ac yn sefyll uwch ben y tywyllwch, ac yn crëu goleuni, gan ymwisgo ynddo i'w ddangos ei hun. Trwy hyn, efe a wnaeth y fath amlygiad o ogoniant ei brïodoliaethau, nes y dywedir, "Y nefoedd sydd yn dadgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen sydd yn mynegu gwaith ei ddwylaw ef. Arglwydd ein Iôr ni, mor ardderchog yw dy enw ar yr holl ddaear, yr hwn a osodaist dy ogoniant uwch y nefoedd!" Ond beth yw goleuni os na bydd llygad i'w weled, neu beth yw peroriaeth os na bydd clust i'w chlywed? Beth yw offeryn cerdd o werth os na bydd neb i'w chwareu, neu lyfr heb neb i'w ddarllen? A pha beth a atebasai amlygiad o Dduw mewn gweithredoedd heb rywun yn meddu dirnadaeth i ganfod, a gallu i addoli a moliannu? Ac am hyn, tuag at berffeithio y grëadigaeth, wele y Crëawdwr yn dywedyd yn y diwedd, "Gwnawn ddyn!" Dyma y palas wedi ei wneuthur; gwnawn y preswylydd bellach. Dyma y delyn wedi ei ffurfio; gwnawn y cerddor weithian. "Gwnawn ddyn ar ein delw ni;" crëadur cymhwys i weled y Gweithiwr Dwyfol yn ei waith, ac i'w addoli; un galluog i ganfod trefn, deddfau, a defnyddioldeb y grëadigaeth, dylanwad y naill beth ar y llall, gweithrediad prïodol pob rhan, a chyd-darawiad y cyfan, ac oddiwrth bob peth i droi at y Duw a'u gwnaeth, a gwaeddi, "Mor llïosog yw dy weithredoedd, O Arglwydd! gwnaethost hwynt oll mewn doethineb; llawn yw y ddaear o'th gyfoeth."

"Felly Duw a grëodd y dyn ar ei ddelw ei hun." Bellach y mae yn brïodol galw ar haul a lleuad, yr holl sêr goleuni, dyfroedd, tân, cenllusg, eira, tarth, gwynt, mynyddoedd, coed, bwystfilod a phob anifel, ymlusgiaid, ac adar asgellog, "Molwch yr Arglwydd" (Psalm cxlviii.); byddwch dànnau yn nhelyn y dyn; gwelwch Dduw trwy ei lygaid ef; clodforwch Dduw trwy ei dafod ef; addolwch Dduw trwy ei enaid ef; a gogoneddwch Dduw trwy ei wasanaeth ef. Dyn yw y cyfryngwr rhwng y cyfan â Duw; trwyddo ef y derbynia y Lluniwr gogoneddus ei ogoniant mynegol oddiwrth ei weithredoedd. Ac fel yr oedd y cwbl yn troi yn ogoniant i Dduw trwy y dyn, yr oedd y cwbl, hefyd, yn dwyn dyddanwch Duw i'r dyn.

Wedi i'r Jehofah osod yr oll fel hyn i'w ogoniant ei hun trwy

ufudd-dod dyn, a threfnu i ddyn ar lwybr ufudd-dod gerdded i dragywyddol ddedwyddwch, wele efe yn adolygu yr hyn a wnaethai, ac yn dywedyd am y cwbl, Da iawn! Dyma y cyfan, medd efe, yn ddarostyngedig i'r dyn, a'r dyn yn ddarostyngedig i minnau; mae y cwbl yn ei wasanaethu ef, ac yntau yn fy ngwasanaethu innau. Nis gallaf fi ddymuno mwy na gogoniant, na dyn ddymuno mwy na dedwyddwch; ac wele yr oll yn dwyn dedwyddwch iddo ef, a thrwyddo ef ogoniant i minnau. Da iawn! Myfi, yr achos cyntaf, sydd yn ddyben eithaf y cwbl. Wele, "teilwng wyt, O Arglwydd, i dderbyn gogoniant, ac anrhydedd, a gallu; canys ti a grëaist bob peth, ac o herwydd dy ewyllys di y maent, ac y crëwyd hwynt!"

II. Trwy gwymp dyn, taflwyd y greadigaeth i annhrefn, a dyryswyd, mor bell ag yr oedd hyny yn bosibl i ddiafol ac i ddyn, amcanion y Goruchaf ynddi.

Amcan Duw yn y cwbl oedd cael gogoniant iddo ei hun, a dwyn dyn i fwynhâd o hono ei hun; a'r ffordd yr oedd y ddau beth yna i'w cyrhaeddyd a'u dïogelu ydoedd trwy sancteiddrwydd ac ufudd-dod y crëadur. Trwy gwymp dyn, ymddengys y ddau yn myned ar goll: Duw yn colli ei ogoniant mynegol, a dyn yn colli ei ddedwyddwch tragywyddol. Os gwnaed dyn i arddangos yn ei natur ddelw Duw, dyna yr amcan hwnw wedi ei ddyrysu. Mae y ddelw odidog wedi ei cholli; a bellach y mae yr hen *frame* a fu yn cario llûn Duw yn dal pictiwr ei elyn. Os gwnaed dyn i gael trwyddo ef ogoniant i Dduw oddiwrth y rhanau difywyd a direswm o'r grëadigaeth, aeth yr amcan hwnw, fel y mae yn ymddangos, yn ofer. Dyna'r dyn oedd i droi yr oll yn ogoniant i Dduw, yn eu troi yn arfau i'w erbyn—yn foddion i'w ddianrhydeddu a'i waradwyddo. Os gwnaed dyn i fwynhâu Duw fel ei ddedwyddwch, dyna yr amcan wedi ei golli. Nid ymddengys fod ffordd i Dduw gael ei ogoniant ond trwy ddwyn gwae tragywyddol ar y crëadur a wnaed i wynfyd tragywyddol.

Yr ydym ni yn rhy dueddol i edrych yn ysgafn ar gwymp dyn. Ond, i'n galluogi i weled ychydig o'i ddrwg a'i niwed, tybiwn fod pen coronog, âg yr oedd gelyn galluog yn ymosod ar ei deyrnas, yn casglu holl ymadferthoedd ei lywodraeth, yn gwario ei drysorau, yn troi allan flodau ei ddeiliaid, gogoniant ei wlad o ran urddas, talent, a medr, ac yn eu hymddiried i ofal un cadfridog, fel tywysog

y llu, i fyned allan i'r maes yn erbyn y gelyn, a bod sefydlogrwydd yr orseddfainc a rhyddid y bobl yn ymddibynu ar y frwydr; ond pan yr oedd yr holl deyrnas mewn pryder, yn dysgwyl bob awr am y newydd fod y frwydr wedi ei hymladd, y fuddugoliaeth wedi ei hennill, a'r wlad yn ddïogel, dyma yr hysbysiad yn dyfod fod y maeslywydd wedi troi yn fradwr, gan werthu ei fyddin i'r gelyn, ac felly fod y wlad nid yn unig yn colli ei milwyr, ond yn debyg o gael ei dyfetha gan ei harfau a'i nerth ei hun! Oni chofid am y fath fradwr, ac oni theimlid oddiwrth y fath frâd, am oesoedd? Dyna a wnaeth dyn, o'i ran ef, trwy y cwymp. Wele Dduw wedi gwneuthur y ddaear hon, a'r oll sydd arni, i'w ogoniant ei hun, ac yn rhoddi ei ogoniant hwnw yn ngofal dyn; y cyfan yn ddarostyngedig i'r dyn, i'w defnyddio ganddo ef yn ngwasanaeth ac er gogoniant Duw; ond dyna'r dyn yn ymuno â'r diafol, prif elyn Duw, ac yn troi y cyfan i ymladd yn erbyn yr Hwn a'i gwnaeth! Dyna rai rhanau o grëadigaeth Duw yn cael eu cymeryd yn dduwiau i'w haddoli yn lle yr Arglwydd eu Crëawdwr; ac am y rhanau eraill o'r grëadigaeth, y maent yn cael eu defnyddio fel ymborth i chwantau pechadurus. Y mae digonedd bara, a thrugareddau eraill, yn cael eu cymeryd i gynnal dyn i dòri deddfau Duw. Echryslawn yw gweled y Bôd anfeidrol yn cael ei ddianrhydeddu gyda a thrwy waith ei ddwylaw ei hun! "Gwnaethost i mi wasanaethu â'th bechodau," medd efe; nid oes genyt ddim i gyflawni dy bechodau ond yr eiddof fi; y tafod a wnaethum i sydd genyt i fy nghablu; y galon a luniais sydd genyt i'm casâu; myfi a bïau y cwbl; ac wele di yn fy nhroi i yn fy erbyn fy hun!

Mor siomedig a fydd dyn pan fyddo rhyw ddyfais, ar ba un y bu efe yn gwastraffu ei ddoethineb, yn rhoddi allan ei feddiannau, ac yn dysgwyl pethau mawr oddiwrthi, yn troi iddo yn ddinystr, ac nid yn lles! O fawr ddrwg cwymp dyn! y mae, hyd y gallodd y dyn ei hun, wedi taflu cwmwl ar ddoethineb a gallu Duw, a'i yspeilio o'i ogoniant yn y grëadigaeth; ac os yw Duw eto yn berffaith ddedwydd a gogoneddus, nid i ddyn y mae'r diolch o'r herwydd. Ysbryd Duw a ddangoso i chwi, bechaduriaid, ddrygedd gwrthryfel pechod! Na theflwch yr holl fai ar Adda; canys yr ydych eich hunain yn gwneuthur yr un peth ag a wnaeth yntau. Wrth ddiystyru rhagorfreintiau a chamddefnyddio trugareddau, yr

ydych yn cyhoeddi argraffiadau newyddion o hen waith Eden; yn sarhâu, yn lle gogoneddu Duw, trwy ei ddoniau ei hun!

III. Ar gyfer y fath annhrefn ar yr hen greadigaeth, mor werthfawr yw mynegiad Duw, "Wele fi yn creu nefoedd newydd a daear newydd!"

Yr oedd Duw wedi rhagweled yr holl ddrwg a'r difrod, ac yn ei gynghor tragywyddol wedi bwriadu goruwchreoli y cyfan er mwy o ogoniant iddo ei hun. Ac felly pan yr oedd y diafol yn ymffrostio yn llwyddiant ei amcan ef i ddyrysu amcanion Duw—pan yr oedd wedi boddloni ei genfigen at ddedwyddwch dyn, a'i falais a'i lid yn erbyn gogoniant Duw—pan yr oedd wedi rhwygo y byd oddiwrth Dduw, llamu i'r adwy, a dyfod ei hunan yn dduw i'r byd yn lle ei Wneuthurwr,—dyma Dduw yn cyhoeddi yr hyn nas anghofiodd y diafol byth, "Wele fi yn crëu nefoedd newydd a daear newydd!"

Wrth hyn y golygir genym ni yn awr, y drefn i adferu dyn trwy Grist, a holl effeithiau daionus yr adferiad hwnw ar grëadigaeth Duw. Er mwyn dangos mai defnyddiau yr hen grëadigaeth a gymerir gyda'r gwaith hwn, gelwir ef yn "adferiad pob peth;" ac er mwyn dangos natur y gwaith ei hun, gelwir ef yn "grëu o newydd."

Gwnawn rai sylwadau ar y grëadigaeth newydd hon trwy ei dal mewn cyferbyniad â'r hen, a dangos y cyffelybrwydd sydd rhwng y ddwy â'u gilydd, yn gystal a rhagoriaeth y naill ar y llall.

1. Mae *achosion* y grëadigaeth newydd, megys achosion yr hen grëadigaeth, *yn gorwedd yn y Duwdod mawr.* Nid oedd y grëadigaeth gyntaf yn bôd erioed, onidê nid crëadigaeth a fuasai; ond yr oedd ei hachosion, neu ei ffynnonau, yn Nuw erioed. Oni buasai fod daioni, doethineb, a gallu yn Nuw erioed, ni buasent i'w gweled mewn dim arall byth. Yr oedd yr holl fôd, y gallu, y doethineb, a'r daioni, yn y Duwdod yn wreiddiol ac yn anfeidrol. Dyma ogoniant hanfodol y Jehofah. I amlygu y gogoniant hwn yn y dechreuad, wele anfeidrol ddaioni, trwy anfeidrol allu, mewn anfeidrol ddoethineb, yn rhoddi bôd i bethau eraill, y rhai a elwir yn genedlaethau y nefoedd a'r ddaear: "Dyma genedlaethau y nefoedd a'r ddaear pan grëwyd hwynt, yn y dydd y gwnaeth yr Arglwydd Dduw ddaear a nefoedd" (Gen. ii. 4). Duw ei hun, heb neb na dim arall, oedd yn nhragywyddoldeb; nid oedd bôd na daioni

ond oedd ynddo ef. Pa fodd y daeth bodau i ymddangos a gweithredu allan o hono? Yr ateb yw, "Yn y dechreuad y crëodd Duw y nefoedd a'r ddaear."

Yr un modd y mae am y grëadigaeth newydd, neu drefn iachawdwriaeth; yr oedd holl achosion hon yn y Duwdod mawr. Ni wyddai angelion, cythreuliaid, na dynion, ddim am dani nes ei dadguddio gan Dduw. O'r cynghor tragywyddol o barth iddi yn y tragywyddoldeb diddechreu hyd y perffeithiad o honi yn y tragywyddoldeb diddiwedd, cariad a gras Dwyfol ydyw ffynnon y cwbl. Yr oedd yr *idea* am dani yn ei feddwl erioed; ac yn nghyflawnder yr amser, dacw yr achosion tragywyddol yn cynnyrchu eu heffeithiau. Beth sydd yn myned ymlaen? "Crynhoi ynghyd yn Nghrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear ynddo ef—mabwysiadu trwy Iesu Grist iddo ei hun—maddeu pechodau—gwneuthur yn gymeradwy yn yr Anwylyd." O ba le y tarddodd hyn? Gweithredir y cyfan "yn ol boddlonrwydd ei ewyllys ef, yn ol cyfoeth ei ras ef." Edrychwch ar ddefnyddiau y grëadigaeth newydd yn ystâd natur. "Oeddych feirw mewn camweddau a phechodau—rhodiasoch gynt yn ol helynt y byd hwn, yn ol tywysog llywodraeth yr awyr—heb obaith genych, ac heb Dduw yn y byd." Gwelwch y cyfnewidiad rhyfedd a ddaeth ar y fath wrthddrychau. Dyna hwynt wedi "eu cydfywhâu gyda Christ, eu cydgyfodi, a'u gosod i gydeistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu—eu gwneuthur yn agos trwy waed Crist—eu cydadeiladu yn breswylfod i Dduw trwy yr Ysbryd." Pa fodd yr achoswyd hyn? Nid o ddyn: "nid o weithredoedd, fel nad ymffrostiai neb; canys ei waith ef ydym;" ac nid ei waith yn ymgeleddu a gwella rhywbeth oedd ynom o'r blaen, ond ei waith yn "ein crëu yn Nghrist Iesu;" ac efe a wnaeth hyn, "o herwydd ei fawr gariad trwy yr hwn y carodd efe ni."

2. Mae y grëadigaeth newydd, fel y gyntaf, *yn cael ei gwneuthur trwy Iesu Grist.*

Yr oedd lluniaethiad y grëadigaeth gyntaf yn perthyn i'r Tad; ond y gweithrediad uniongyrchol, yr hyn a ddŷg y cwbl i fod ydoedd trwy y Gair Tragywyddol. "Trwyddo ef y gwnaethpwyd pob peth, ac hebddo ef ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd. Duw a grëodd bob peth trwy Iesu Grist." Ac megys na wnaeth

Duw ddim yn yr hen grëadigaeth ond trwy Grist fel ei Fab tragywyddol, felly nid yw yn gwneuthur dim yn yr ail ond trwyddo ef fel Cyfryngwr. Y mae efe yn blaenori yn y ddwy grëadigaeth. Efe oedd "dechreuad crëadigaeth Duw;" ac felly eto: "efe yw pen corff yr eglwys, efe, yr hwn yw y dechreuad." Efe, "cyntafanedig pob crëadur" yw "y cyntafanedig oddiwrth y meirw," a'r "cyntafanedig ymhlith brodyr lawer." Trwyddo ef ar y cyntaf y gwnaed nefoedd a daear, a'r hyn oll sydd ynddynt; a chan i bechod beri anghydfod rhwng nefoedd a daear, wele Dduw eto "trwyddo ef yn cymmodi pob peth âg ef ei hun, pa un bynag ai pethau ar y ddaear ai pethau yn y nefoedd." Cofia, fy enaid, mai trwyddo ef y gwnaed di yn grëadur; a thrwyddo ef yn unig y'th wneir yn grëadur newydd. Nid trwy Grist fel offeryn yn llaw y Tad a olygir, ond trwyddo ef fel gweithredydd mawr yr hyn a gynlluniwyd gan y Tad. Mae efe yn gweithio gyda yr un gallu, awdurdod, ac ewyllys, â'r Tad; "canys beth bynag y mae'r Tad yn ei wneuthur, hyny hefyd y mae'r Mab yr un ffunud yn ei wneuthur." Rhinwedd neu effeithiolrwydd ei waith yn y ddwy grëadigaeth, sydd yn dyfod oddiwrth Ddwyfoldeb ei Berson; canys yr oedd raid i Grëawdwr pob peth fod yr un "sydd uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd." Ac nis gallasai neb llai na'r Duw a grëodd y byd yn y dechreuad, achub y byd o ddinystr y cwymp. Trwy y gwaith a wnaeth fel Cyfryngwr, efe a blanodd ei nefoedd, ac a seliodd ei ddaear. Gosododd yn gadarn a pharhäus sylfeini y grëadigaeth newydd. Anrhydeddodd y ddeddf, cadarnhäodd y cyfammod, cafodd i ni dragywyddol ryddhâd, gorchfygodd Satan, a derbyniodd yr Ysbryd i'w roddi i ddynion, ïe, i rai cyndyn hefyd, fel y maddeuai eu cyndynrwydd trwy gariad. Wedi cwblhâu y gwaith a roddwyd iddo i'w wneuthur, efe a edrychodd ar yr hyn oll a wnaethai, ac wele, da iawn ydoedd. Ei gnawd a orphwysodd yn ngwely tawel y bedd; ac wrth ddeffroi o gwsg marwolaeth, melus oedd ei hûn ganddo; ac efe a neillduodd ddydd ei gyfodiad i gofio byth am ei waith.

3. Mae *perffeithiad* y grëadigaeth newydd, fel yr hen, *yn perthyn i'r Ysbryd Glân.*

Ni a welwn mai yr un yw trefn y Personau Dwyfol o weithredu yn y ddwy grëadigaeth: lluniacthiad y cwbl gan y Tad, y

gwneuthuriad gan y Mab, a'r perffeithiad gan yr Ysbryd Glân. Wedi i'r Tad wneuthur y nefoedd trwy ei Fab, "efe a addurnodd y nefoedd â'i Ysbryd." A'r Ysbryd sydd yn addurno y grëadigaeth newydd â bywyd, goleuni, a threfn. Cyn ei weithrediad ef, y mae defnyddiau'r newydd yn debyg fel yr oedd defnyddiau yr hen: "A'r ddaear oedd afluniaidd a gwâg, a thywyllwch oedd ar wyneb y dyfnder." Nid oedd daear felly yn abl i ddwyn ffrwyth. Ond wele "Ysbryd Duw yn ymsymud ar wyneb y dyfroedd," yn trosglwyddo rhinwedd bywiol, hadau ac egwyddorion bywyd o bob math, nes, ar orchymyn Duw, eu bod yn berwi allan i addurno wyneb y ddaear. Er arfaeth y Tad, ac er prynedigaeth y Mab, yr hyn sydd wedi parotôi defnyddiau y grëadigaeth newydd, y mae daear pechadur eto yn wâg ac afluniaidd, fel y gymysgfa yn y dechreu. Y mae melldith pechod ar yr enaid, afreolaeth ar y nwydau, tywyllwch ar y meddwl, heb egwyddor o fywyd ysbrydol na thueddiad iddo. Ond dyma Ysbryd Duw yn rasol yn ymsymud ac yn gweithio yn nghanol y fath dryblith, ac yn trosglwyddo goleuni a bywyd i'r enaid, nes dwyn y grëadigaeth newydd i drefn a harddwch. Oddiyma y ceir y goleuadau dysglaer i ffurfafen y nefoedd newydd, y prenau ffrwythlawn i harddu paradwys, y morfeirch mawrion i chwareu yn nghefnfor iachawdwriaeth. Yr Ysbryd a addurnodd y nefoedd weledig, a addurna feddwl hen bechadur nes y llewyrcha fel dysgleirdeb y ffurfafen. Efe a drosglwydda ac a faetha hadau rhinwedd a gras yn hen ddaear y felldith, nes y ceir arni ffrwythau peraidd "cariad, llawenydd, tangnefedd, hirymaros, cymwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest." O y mae'r defnyddiau yn afluniaidd ar hyd ein gwlad yn awr! ond, "Pan ollyngych dy Ysbryd, y crëir hwynt, ac yr adnewyddi wyneb y ddaear." Efe a lunia anelwig ddefnydd i fod yn aelodau byw yn nghorff dirgeledig Crist. O na byddai mwy o ddyheu yn ein calonau am waith yr Ysbryd Glân!

4. Mae y ddwy grëadigaeth yn gyffelyb o ran *llwybr eu dygiad i fôd*, ac oddiar hyn eu gelwir yn grëadigaeth: "Wele fi *yn crëu.*"

Y mae tri pheth yn cael ei alw yn grëu: gwneuthur defnydd o ddim—gwneuthur o hen ddefnydd beth nas gallasai neb ond Duw ei gyflawni—a gwneuthur rhywbeth hynod, anarferol. "Os yr Arglwydd a wna newyddbeth," medd Moses gyda golwg ar y ddaear yn agor ei safn i lyncu Corrah a'r gwrthryfelwyr eraill; ac

yno ar ymyl y ddalen darllenir, "Os yr Arglwydd a grëa grëadur," yr hyn, meddir, yw y cyfieithiad llythyrenol (Num. xvi. 30). Gwneuthur pridd o ddim, dyna grëu: gwneuthur dyn o'r pridd, a gwraig o asen y dyn, dyna grëu hefyd. Pa fodd y cafwyd yr holl ddefnyddiau i fôd? Trwy grëu: "ei holl waith, yr hwn a grëasai Duw i'w wneuthur" (Gen. ii. 3). Nid oedd gwneuthur ar ddim a wnaed heb eu crëu, gan nad oedd defnydd at hyny; os gwneuthur, rhaid oedd crëu i wneuthur.

Felly am iachawdwriaeth dyn: crëadigaeth yw hon o'r dechreu i'r diwedd. Dacw rwyg wedi ei wneuthur rhwng dyn â Duw. Nid oes trwy yr holl grëadigaeth neb i fyned rhyngddynt i gyfanu y rhwyg, nac oddiallan o honi, tu hwnt iddi, yn y Duwdod mawr ychwaith, canys nis gall Duw ufuddhâu na dyoddef. Nid oes obaith ynte, medd y pechadur; "nid oes rhyngom ni ddyddiwr a all osod ei law arnom ein dau." Ond dyma'r Goruchaf yn ateb, "Wele fi yn crëu." Os na wna dyndod ar wahân y tro, na Duwdod ar wahân, myfi a grëaf nes dwyn dyndod a Duwdod at eu gilydd. Ac os na wna crëu yn ol y drefn gyntaf y tro, myfi a grëaf beth newydd ar y ddaear. Crëais ddaear o ddim; ond ni thâl hyny heddyw. Crëais ddyn o'r ddaear; ond nis gallai hyny ateb y dyben yn awr. Rhaid cael cyfathrachwr, un o'r teulu, asgwrn o'u hesgyrn hwy; "gan fod y plant yn gyfranogion o gîg a gwaed," rhaid i Dywysog eu hiachawdwriaeth hwy fod yr un modd yn gyfranog o'r un pethau. Rhaid ei gael ef gan hyny o Adda. Ië, eithr onid yw Duw yn crëu plant Adda trwy offerynoldeb cenedliad? Ydyw, ond ni fuddia hyny heddyw, canys felly byddai y cenedledig yn dyfod o Adda â'i lwgr gydag ef. Beth a wneir gan hyny? Sefwch draw, ail achosion; rhoddwch le i Allu Dwyfol dan arweiniad Doethineb Ddwyfol wneuthur peth newydd. Yr Ysbryd Hollalluog a fu yn ymsymud ar wyneb y dyfroedd nes dwyn y grëadigaeth gyntaf i drefn, am hwnw y dywed yr angel Gabriel wrth forwyn o dŷ Dafydd, "Yr Ysbryd Glân a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gysgoda di; am hyny hefyd y peth sanctaidd a aner o honot ti a elwir yn Fab Duw." Dyma ddwyn peth glân allan o beth aflan; un yn meddu ein natur ni o ran sylwedd, eto heb ein llwgr ni. Yr oedd ffurfiad dynoliaeth y Cyfryngwr o fru gwyryf yn weithrediad gwyrthiol a newydd gallu Duw. Ei gael ef o'r un cyff â ni, fel y mae efe yr un ffunud â

ninnau, eto heb bechod, a ddengys fedr doethineb Duw. A pha beth am uno natur plentyn Mair yn moment ei ffurfiad â Pherson Mab Duw, nes y daeth Duw yn beth nad ydoedd, ac eto yn aros y peth oedd? Dyna weithred sydd hwnt i holl weithrediadau crëadigol Duw, dirgelwch sydd yn llyncu y gwyrthiau oll, crëadigaeth newydd a deifl yr hen i anghof byth!

Gan fod y seiliad mor ogoneddus, rhaid y bydd y perffeithiad felly. Beth yw gwneuthur pechaduriaid yn saint? Eu crëu o newydd. Gall addysg a philosophi ddofi mesur ar eu natur; ond mewn gras, wele Dduw yn crëu nes newid eu natur. Nid oes dim i'w wneyd âg esgyrn sychion iawn ar wyneb y dyffryn ond eu claddu o'r golwg. Oes! "Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth yr esgyrn hyn, Wele fi yn dwyn anadl i'ch mewn, fel y byddoch byw. Gïau hefyd a roddaf arnoch, a pharaf i gîg gyfodi arnoch, gwisgaf chwi hefyd â chroen, a rhoddaf anadl ynoch, fel y byddoch byw, ac y gwypoch mai myfi yw yr Arglwydd." Y mae yr Iuddew a'r Groegwr mewn gelyniaeth â'u gilydd fel nas deuant byth ynghyd. Deuant! fe grëa yr Emmanuel y ddau ynddo ei hun yn un dyn newydd, gan wneuthur heddwch. Y mae Saul yn chwythu bygythion a chelanedd yn erbyn dysgyblion yr Arglwydd; ac felly y pery hyd y diwedd. Nage! y mae Duw yn myned i grëu calon dysgybl Iesu yn Saul ei hun. Pa ddefnydd goleuni sydd mewn tywyllwch? ond gall Crëawdwr orchymyn i'r goleuni lewyrchu o dywyllych; ac ni a wyddom am rai y gallwn eu hanerch, "Yr oeddych chwi gynt yn dywyllwch, ond yr awr hon goleuni ydych yn yr Arglwydd.

5. Mae *yr amlygiad a wnaeth Duw o hono ei hun* yn y grëadigaeth hon, fel yn y llall, *yn wreiddyn a chymhelliad i addoliad a gwasanaeth iddo.*

Y Bôd Dwyfol ynddo ei hun yw achos a gwrthddrych cyntaf crefydd. Ond y mae efe ynddo ei hun yn anhysbys; ac felly rhaid iddo roddi amlygiad o hono ei hun tuag at gymhell a dwyn ei grëadur i'w wasanaethu. Beth yw crefydd ond cymeryd Duw yn Dduw? a pha fodd y gwneir hyny heb ei adnabod? Beth yw crefydd ond anrhydeddu Duw megys Duw? a pha fodd y gellir gwneuthur hyny heb i'w anweledig bethau ef ddyfod i'r golwg? Beth yw crefydd ond gweithrediadau enaid mewn cariad, ofn, ymddiried, a mawl? eithr "pa fodd y credant yn yr hwn ni chlyw-

sant am dano? a pha fodd y clywant heb bregethwr?" Ac i'r dyben o gael Adda i'w addoli, anfonodd Duw allan bregethwyr, y rhai yr aeth eu sŵn hwy trwy yr holl ddaear, a'u geiriau hyd eithafoedd y byd. Yr amlygiad a wnaeth Duw o brïodoliaethau ei natur yn yr oll oedd oddiamgylch y dyn a'r oll oedd o'i fewn, ynghyda'r cyfammod a wnaeth Duw âg ef, ydoedd gwreiddyn ac achos uniongyrchol ei holl grefydd. Felly ar sylfaeniad y grëadigaeth weledig, dacw angelion yn canu, a dyn yn ebrwydd yn eu dilyn. Ond yn fuan wedi dechreu yr oedfa, wele bechod yn gwneuthur rhwyg rhwng yr addolwr â Gwrthddrych addoliad—rhwng y gwas a'i Feistr. Y mae gwrthryfel yn tòri allan, a phob cydfod a thrafodaeth yn darfod rhwng yr orseddfainc â'r gwrthryfelwr. Aeth teml Dduw yn ogof lladron, y gogoniant a ymadawodd, y lampau a ddiffoddwyd, y canwyllbren a symudwyd, ffieidd-dra anghyfanneddol a osodwyd i fyny yn y lle sanctaidd; chwantau o bob math, fel anifeiliaid gwylltion yr anialwch, a'r cathod, yn ymgyfarfod yn yr adeilad a gyfodwyd yn gysegr i'r Jehofah. Y mae Duw yntau wedi darfod gofyn am addoliad o'r fath le, ac yn bygwth, "Gwnaf i'r tŷ hwn megys y gwnaethum i Siloh;" cyfiawn yw i mi ymddwyn at ddyn syrthiedig fel at angel syrthiedig, o law yr hwn nis gofynaf ac nis derbyniaf addoliad.

Oni buasai i Dduw grëu o newydd, buasai addoliad i'w enw wedi darfod o fysg dynion fel o fysg cythreuliaid—wedi ei golli o'r ddaear megys o uffern. Ond mewn crëadigaeth newydd, y mae efe yn sicrhâu addoliad newydd. "Megys y saif ger fy mron y nefoedd newydd a'r ddaear newydd, y rhai a wnaf fi, medd yr Arglwydd, felly y saif eich hâd chwi a'ch enw chwi. Bydd hefyd o newyddloer i newyddloer, ac o sabbath i sabbath, i bob cnawd ddyfod i addoli ger fy mron i, medd yr Arglwydd" (Esa lxvi. 22, 23). Pan y mae yr Arglwydd yn addaw gwneuthur ei waith mawr hwn, mae yn galw ar yr holl ddaear i ganu ac i addoli. "Mynegu yr ydwyf fi bethau newydd." Pa bethau, Arglwydd? Y pethau am "fy ngwas yr hwn yr ydwyf yn ei gynnal, fy etholedig, i'r hwn y mae fy enaid yn foddlawn;" rhoddais ef "yn gyfammod pobl, ac yn oleuni cenedloedd; i agoryd llygaid y deillion, i ddwyn allan y carcharor o'r carchar, a'r rhai a eisteddant mewn tywyllwch o'r carchardŷ." A pha beth a deilyngir gan hyn? "Cenwch i'r Arglwydd gân newydd, a'i fawl ef o eithaf y ddaear.

Rhoddant ogoniant i'r Arglwydd, a mynegant ei fawl yn yr ynysoedd" (Esa. xlii. 1, 6, 7, 9—12). Ar sylfaeniad y grëadigaeth newydd yn nghnawdoliad Crist, dacw addoli o'r nefoedd i'r ddaear. Mae llïaws o lu nefol yn moliannu Duw, ac yn dywedyd, "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw," a'r "bugeiliaid a ddychwelasant, gan ogoneddu a moliannu Duw am yr holl bethau a glywsent ac a welsent." Simëon, gyda'r dyn bach Iesu yn ei freichiau, a fendithiodd Dduw. Anna oedd "yn gwasanaethu Duw mewn ymprydiau a gweddïau ddydd a nos; hon hefyd yn yr awr hòno a foliannodd yr Arglwydd, ac a lefarodd am dano ef wrth y rhai oll oedd yn dysgwyl ymwared yn Jerusalem." Mair, Zecharïas, y doethion o'r dwyrain,—y maent oll yn addoli a bendithio yr Arglwydd; o herwydd efe a wnaeth beth newydd ar y ddaear. Gwelodd Ioan yr eglwys trwy y nef a'r ddaear yn un gynnulleidfa ar fynydd Sïon yn addoli. Pwy a addolir? Duw a'r Oen: Duw, nid fel Crëawdwr, ond fel y mae yn eistedd ar orseddfainc y gras, a Christ fel Cyfryngwr o flaen yr orseddfainc. "I'r Hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac i'r Oen, y byddo y fendith, a'r anrhydedd, a'r gogoniant, a'r gallu yn oes oesoedd." Clywir yn eu mysg "lais angelion lawer." Wel, y maent hwy yn cadw at eu hen gân yn y bore? Na, prynedigaeth dyn sydd wedi dwyn eu bryd hwythau. "Teilwng yw yr Oen, yr hwn a laddwyd," yw eu cân hwy heddyw (Dad. v. 11, 12).

Fel hyn yr amlygiad o brïodoliaethau Duw yn Nghrist, ac adferiad pechadur at Dduw trwy Grist, ydyw sylfaen, cymhelliadau, a dechreuad addoliad yr eglwys. Ië, syllu ar Grist, a phrïodoliaethau Duw yn ei wyneb, a chyfranogi o'r effeithiau grasusol, a rydd y nefoedd yn fflam o fawl yn dragywydd. Yr wyt ti, enaid crediniol, yn cofio dy ysbryd mor ddiaddoli Duw â'r cythreuliaid. Buost fyw hyd y medraist mewn anghof o hono a gelyniaeth ato. Pan y daeth deddf Sinai i dy ddal ger bron Duw, gwallgofi a ffoi yr oeddit, gan waeddi, "Pwy a drig gyda'r tân ysol? pwy a breswylia gyda'r llosgfeydd tragywyddol?" Ond pan y cefaist olwg ar y drefn i achub trwy Grist, toddwyd dy ysbryd i addoli; daethost i gredu, caru, gobeithio, ac ymhyfrydu. Y drefn fawr yw'r cymhelliadau i'r cwbl. "Yr ydym yn ei garu ef," a dyna addoli. Paham? "Am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." Er i ni ddywedyd mai Duw a wnaeth dafod y pechadur, ni wna hyny

iddo fendithio Duw âg ef. Er i ni ei hysbysu mai Duw a wnaeth ei gorff a'i enaid, nid yw hyny yn peri iddo ymgysegru i'r Arglwydd. Ond safaf ar fryniau'r grëadigaeth newydd, ac a waeddaf, "Oni wyddoch chwi nad ydych yn eiddoch eich hunain? canys er gwerth y prynwyd chwi; gan hyny gogoneddwch Dduw yn eich corff ac yn eich ysbryd, y rhai sydd eiddo Duw. Yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, er trugareddau Duw," trugareddau gras yr efengyl, "roddi o honoch eich cyrff yn aberth byw, sanctaidd, cymeradwy gan Dduw, yr hyn yw eich rhesymol wasanaeth chwi." O y mae digon wedi ei wneuthur i roddi i ddyn destynau addoliad! ond y mae eisieu ei grëu ef ei hunan i hyny. Er gwneuthur y cwbl yn y bore, nid oedd ar y ddaear ddim addoli nes gwneuthur dyn; ac ni bydd addoli eto ar ddaear y cwymp nes gwneuthur y dyn o newydd.

6. *Mae Duw wedi gorphwys byth yn y grëadigaeth newydd, fel am dymmor yn yr hen, a threfnu drwyddi orphwysfa i bechadur.*

Yr oedd yr hen grëadigaeth yn orphwysfa i Dduw (Gen. ii. 2, 3). Llawenychu yr oedd yn ei weithredoedd, am fod y cwbl yn ei amlygu, a thrwy y dyn yn ei ogoneddu. Ymhyfrydai Duw ynddo ei hun erioed; ac yn awr y mae yn gweled gradd o hono ei hun allan o hono ei hun, gan fod yr oll a wnaeth yn amlygu ei drysorau. Ac yr oedd yn cyflwyno gorphwysfa i ddyn ynddo ei hun yn ol yr amlygiad hwnw. Yr oedd y dyn i weled, addoli, a mwynhâu Duw, ac ar y llwybr hwnw i ddyfod i dragywyddol fwynhâd o hono. Ond chwalodd pechod yr orphwysfa hon. Dyna ogoniant Duw oddiwrth ddyn, dedwyddwch dyn yn Nuw, ac felly yr orphwysfa ymhob golygiad, yn colli ar un ergyd. Safai Duw uwch ben y cwbl bellach, a gofynai, "Mae y fan y gorphwysaf?" 'Dyma fy nelw wedi ei cholli, a'r holl ddaear yn ôl am fy ngogoniant.' Edrychai ar y dyn a wnaeth, a dywedai, "Edifarhäodd arnaf wneuthur o honof ddyn ar y ddaear; ac yr wyf yn ymofidio yn fy nghalon" (Gen. vi. 6). Ac wele ragluniaeth Duw, yn gystal a'i air, yn gwaeddi ar blant dynion yn y lleoedd y ceisiant orphwyso, "Codwch ac ewch ymaith, canys nid dyma eich gorphwysfa." Y mae dyn wedi colli ffafr Duw, a phob hyfrydwch yn ei gymdeithas, a'i wobr gyda Duw ar ffo. Mae ei ddallineb yn ei ddyeithro oddiwrth Dduw, a'i syniad cnawdol yn ei lanw â gelyniaeth ato; felly y mae fel y môr yn dygyfor, pan nad allo

fod yn llonydd, ac, fel yr ysbryd aflan yn y ddammeg, yn rhodio ar hyd lleoedd sychion, gan geisio gorphwysdra, ac nid yw yn ei gael; ac y mae ei wyneb ar y wlad mewn byd arall nad oes ynddi orphwysdra na dydd na nos yn oes oesoedd.

Ond pan y mae dyn yn nghanol dyryswch a thrueni, clywaf ras Duw yn dywedyd wrtho, Enaid, oni cheisiaf orphwysdra i ti, fel y byddo da i ti? Pa fodd y ceir hyny? Duw sydd yn myned i grëu nefoedd newydd a daear newydd yn sylfaen gorphwysfa dragywyddol. Yn ngwaith y prynedigaeth y mae Crist yn gorphwys, Duw yn gorphwys, a phechadur yn gorphwys. Wedi i Grist weithio o'i gnawdoliad i'w fedd, efe "a orphwysodd oddiwrth ei weithredoedd ei hun, megys y gwnaeth Duw oddiwrth yr eiddo yntau." Ac yr oedd yma y fath amlygiad gogoneddus a chyflawn o Dduw a'i briodoliaethau, fel y dywedai efe, "Y mae fy enaid yn foddlawn." Yma y mae Duw wedi mynegu ei holl galon, ac yn gorphwys heb ganddo ddim sydd fwy i'w ddywedyd. Y ddoethineb oedd yn dyfeisio rhywbeth ardderchog a rhyfedd o hyd, sydd yma yn arddangos dyfnder ei golud, ac yn gorphwys "yn yr Hwn y mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig." Y daioni oedd wedi ymwasgaru yn ei effeithiau trwy'r grëadigaeth, yma a grynhöwyd—yr holl ddaioni yn myned heibio i ni fel yr edrychem arno, heb ddim rhyfeddach gan Dduw i'w amlygu mwyach. A'r cariad a'r gras na chawsant eu dangos yn yr hen grëadigaeth, sydd yma yn byrlymu yn fôr ar unwaith, a Duw yn llonyddu yn ei gariad, fel wedi myned yn ben-llanw arno. Bellach y genadwri at grwydriaid Eden ydyw, Deuwch i mewn i'm gorphwysfa i! Mynasai Job, yn nyfnder ei adfyd, fyned o'r byd i'r bedd i gael gorphwys; ond gorphwysfa nacäol, ddideimlad, ddifwynhâd, yw gorphwysfa'r bedd. Os ydym ni am orphwysfa i'w mwynhâu, awn trwy borth yr aileni o'r hen grëadigaeth i mewn i'r newydd.

IV. Mae y greadigaeth newydd yn dyfod i le yr hen, ac yn rhagori cymaint arni, fel na chofir hi.

Os oedd y grëadigaeth gyntaf yn gyfrwng i ddadguddio gogoniant Duw, ni chofir mo honi fel y cyfryw gan y gogoniant tra rhagorol a amlygir yn y newydd. Yr oedd gwaredigaeth yr Aipht yn cael ei llyncu gan waredigaeth Babilon. Ond cesglwch ynghyd holl waredigaethau cysgodol yr eglwys, y maent yn

diflanu yn wyneb iachawdwriaeth angeu y groes. O na bait, fy enaid, yn gweled gogoniant Duw yn wyneb Iesu Grist! un drem arno yma a lwnc i anghof bob dadguddiad arall o hono. Y mae gogoniant y ddeddf yn myned o'r golwg yn wyneb gogoniant yr efengyl. Beth oedd gweled yr archoffeiriad Iuddewig yn myned trwy y tabernacl o waith llaw at yr arwyddion o Dduw, wrth weled ein Harchoffeiriad ni, yn holl ogoniant ei Berson, yn myned trwy y tabernacl uwch a pherffeithiach i'r nef ei hun, i bresennoldeb gwirioneddol Duw, ac yn derbyn yno fendithion sylweddol a thragywyddol i'r eglwys?

Wrth gofio yr hen grëadigaeth, rhaid cofio ei dirywiad yn annhrefn a melldith y cwymp. Ond pan welir y grëadigaeth newydd yn ei pherffeithiad, "pob melldith ni bydd mwyach!" Yn adferiad dynion at Dduw, adferir pob peth arall i drefn a chysur; "rhyddhëir y crëadur yntau hefyd o gaethiwed llygredigaeth;" a bydd pob peth yn wasanaethgar i ogoniant gras a chariad Duw yn iachawdwriaeth yr efengyl. Daw y dydd pan y bydd yr holl eglwys heb arni ddim o ôl y cwymp, a phan y bydd pechod a'i holl effeithiau wedi eu dileu o bob man ond o uffern.

Ymgysured pobl Dduw yn y dyddiau hyn yn eu Duw fel Crëawdwr ffyddlawn. Y mae efe, nid yn unig gyda golwg ar yr holl eglwys, ond gyda golwg ar bob un yn bersonol a gedwir, yn crëu o'r newydd. Os ydych yn gweled Sïon bron myned heb neb yn ei cheisio, gelwch ar Dduw Sïon; gall efe eto beri y fath chwanegiad at ei eglwys, nes y gofynir mewn syndod, "Pwy yw y rhai hyn a ehedant fel cwmwl, ac fel colomenod i'w ffenestri?" Pe buasai y fath beth ag i Dduw yn y dechreuad, cyn iddo wneuthur neb na dim, grëu angel yn gyntaf oll, a'i fod yn dal yr angel ar ben ei fŷs yn nghanol y gwagle, yn yr ehangder anfeidrol, ac yn gofyn iddo, 'Beth a weli di?' atebasai yr angel, 'Ni welaf fi ddim, Arglwydd, canys nid oes dim i'w weled.' Wel, ebe Duw, bydd yma yn fuan fydoedd ar fydoedd, heuliau ar heuliau, a chrëaduriaid, bychain a mawrion, heb rifedi. O ba le y deuant hwy? meddai yr angel. O ba le y daethost ti? atebai Duw. Efe, yr hwn a'th luniodd ac a'th grëodd di, bydd mor hawdd iddo ef eu crëu hwythau. Dichon fod rhai hen grefyddwyr da yn barod i wylo wrth feddwl am gynifer o dadau a brodyr, mawr eu duwioldeb, a dysglaer eu talentau, yn eu côf hwy, sydd wedi eu colli o'r

ddaear, ac wrth weled diffygion lawer ynglŷn â'r achos y mae eu calon yn glymedig wrtho, a'u bod weithiau yn dywedyd, Wel, wel! wedi marw ychydig bobl dduwiol eto, fe fydd gwir grefydd wedi darfod o'r tir. Ond, fy anwyl frodyr, o ba le y daethoch chwi? Yr Hwn a'ch adgenedlodd chwi, a all grëu eto o'r newydd yn Nghrist Iesu lïaws dirif. "Wele fi yn crëu," medd Duw; a digon ydyw. Credwch yn y Duw a ddichon o'r meini godi plant i Abraham. "Y rhai ydych yn cofio yr Arglwydd, na ddystewch, ac na adewch ddystawrwydd iddo, hyd oni sicrhäo ac hyd oni osodo Jerusalem yn foliant ar y ddaear."

Bechadur, gelli fyned gyda chalon aflan at Dduw, o herwydd fe dâl i ti weddïo, "Crëa galon lân ynof, O Dduw; adnewydda ysbryd uniawn o'm mewn." Gallem ni dybied mai golwg tra diobaith sydd ar gyflwr y neb y dywed Duw am dano, "Am anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais, ac y tarewais ef; ymguddiais a digiais; ac efe a aeth rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon." Y mae cybydd-dod wedi gwywo ysbryd hwna; digofaint Dduw yn ei gydwybod wedi ei chwerwi, a'i ymguddiad rhagddo yn peri tywyllwch; mae yn ymgyndynu dan ergydion yr Arglwydd; rhaid ei fod yn afiach trwyddo, a pha fodd y bydd efe byw? Gwrandewch yr hyn a ddywed Duw am dano ymhellach! "Ei ffyrdd a welais, a mi a'i iachâf ef; tywysaf ef hefyd, ac adferaf gysur iddo." Pa fodd y gwnei hyny, Arglwydd mawr? Wele, Crëawdwr ydwyf fi. "Myfi sydd yn crëu ffrwyth y gwefusau: Heddwch, heddwch i bell ac i agos, medd yr Arglwydd, ac mi a'i iachâf ef." Nid oes achos i neb ddywedyd na meddwl nad oes obaith am dano; er heb wneuthur daioni, ac heb ynddo ddefnydd daioni, gall Duw ei grëu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da. Edrychwch am grefydd oddiwrth Dduw, ac oddiwrtho ef yn unig. "Gweithiwch allan eich iachawdwriaeth eich hunain trwy ofn a dychryn; canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef."

## PREGETH XVII.

### RHWYMEDIGAETH PLANT I'W RHIENI.

#### CYFARCHIAD I BOBL IEUAINC.

EPHESIAID vi. 1—3: "Y plant, ufuddhewch i'ch rhïeni yn yr Arglwydd; canys hyn sydd gyfiawn. Anrhydedda dy dad a'th fam, yr hwn yw y gorchymyn cyntaf mewn addewid, fel y byddo yn dda i ti, ac fel y byddech hirhoedlog ar y ddaear."

YMAE epistolau Paul yn dangos fod y plant yn yr eglwys gristionogol yn nyddiau yr apostolion. Yr oedd rhai o honynt, o bosibl, wedi eu dychwelyd oddiwrth baganiaeth trwy yr efengyl, ac eraill wedi eu meithrin ynddi o'u mebyd gyda'u rhïeni duwiol. Yn ei gyfammod â'i bobl, addawa yr Arglwydd fod yn Dduw i'w hâd hwy. Mae Crist yntau yn sicrhâu mai eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd; ac felly mae Paul yn eu cyhoeddi yn "sanctaidd" yn eu mabandod (1 Cor. vii. 14); hyny yw, yn ddosbarth o bobl neillduedig yr Arglwydd ar y ddaear. Mae yn iawn i gredinwyr synied fel hyn am eu plant, oddieithr eu bod hwy yn profi i'r gwrthwyneb; ac os byddant, yn lle hyny, yn rhoi arwyddion, wrth dyfu i fyny, fod y ffydd ddiffuant, yr hon a drigodd yn gyntaf yn eu rhïeni duwiol, ynddynt hwythau hefyd, mae y syniad yma yn cael ei gadarnhâu. Yr oedd y cyfryw, dybygid, i'w canfod yn eglwys Ephesus; ac felly mae Paul, yn ei epistol ati, yn eu cyfarch hwy, mewn undeb âg eraill, o dan yr enw "saint yn Ephesus, a ffyddloniaid yn Nghrist Iesu." Ac

wedi dangos, mewn tôn nefolaidd, y rhagorfreintiau sydd yn perthynu i'r ffyddloniaid hyny, y mae, yn y rhanau olaf o'i lythyr, yn eu cymhell i'r holl dymherau dyrchafedig ag sy'n gweddu i'r fath bobl, ac yn eu galw, yn ngwahanol amgylchiadau bywyd, i rodio yn addas i'r alwedigaeth eu galwyd iddi. Yn y ddwy bennod olaf, y mae yn dysgu y gwahanol ddosbarthiadau yn eu dyledswyddau perthynasol a theuluaidd. Pell oedd Paul o roddi cefnogaeth i'r dyb fod codi credinwyr i berthynas ysbrydol â'u gilydd yn Nghrist Iesu yn dattod perthynasau natur. I'r gwrthwyneb, mae efe yn eu cadarnhâu hwy, ac yn gwneyd rhagorfreintiau y berthynas ysbrydol hòno yn gymhelliad i gyflawni y dyledswyddau ag sydd yn cyfodi oddiwrthynt. Yr ydym ni, yn awr, yn dychwelyd at y dosbarth a nodir yn ein testun: y plant yn eu rhwymedigaeth i'w rhïeni. Hyderwn nad anfuddiol i'n cyfeillion ieuainc fydd gair o addysg o barth i ddyledswydd mor bwysig. Mae naturiaeth a gras yn cydrwymo plant i gyflawni hon; y mae y Bibl yn wastad wrth eu cyfarch hwy yn disgyn arni yn gyntaf, ac yn dangos mai yn y cyflawniad dyfal o honi y mae eu hymarferiad hwy o dduwioldeb i fesur mawr yn gynnwysedig.

Cyn dyfod, pa fodd bynag, i ymdrin â'r ddyledswydd hon, dymunem alw sylw at un hynodrwydd a berthyn i'w gwrthddrychau. Plant, ni a welwn, yw deiliaid y ddyledswydd; ond y maent yn cael eu cyfarch yma nid yn unig fel plant i'w rhïeni daearol, ond hefyd fel plant i Dduw yn Nghrist Iesu; ac y mae bod felly mewn gwirionedd yn gymhwysder anhebgorol i iawn gyflawniad y ddyledswydd hon fel pob gwasanaeth arall a berthyn i grefydd. Nid ydym yn dywedyd hyny am nad ydym yn credu fod yn ddyledswydd ar bob plant anrhydeddu eu rhïeni: na, mae hyn allan o ddadl; ac y mae yr esiamplau a geir o'r cyfryw rinwedd ar dir natur yn dra dymunol i edrych arnynt, ac o werth mawr i deuluoedd. Nid yw crefydd byth, cofier, yn diystyru serchiadau a rhinweddau naturiol; ond yn hytrach megys y mae gogoniant yn perffeithio gras, felly mae gras, pan ddelo i'r galon, yn eu perffeithio hwythau; a thrwy gysylltu wrthynt yr ystyriaeth o rwymedigaeth i Dduw, a'u troi yn wasanaethgar i'w gogoniant, mae yn adferu iddynt eu gwir urddas. Dengys hyn i chwi, bobl ieuainc, y prïodoldeb o'u meithrin hwy. Chwi a ellwch fod yn sicr y bydd i grefydd, pa bryd bynag i delo i'ch calonau, gadarn-

hâu eich holl ymarferiadau daionus. Fel lefain, hi a ymgymysga â phob iawn deimlad ag ydoedd yno cyn ei dyfodiad, gan eu puro a'u dyrchafu, a gosod ei naws fendigedig ei hun ar y cyfan. Bydd yn llawer o help i chwi hefyd i ymarfer duwioldeb ar ol ei chael, os byddwch wedi eich meithrin a'ch sefydlu mewn tymherau ac arferion canmoladwy o'ch mabandod. Bydded i rïeni a phlant gofio hyn. Ar yr un pryd, yr ydym, wrth ddysgu dyledswyddau crefydd i'n gilydd, i ofalu am wneuthur hyny yn ffordd Duw. Dylem ddangos y pwysigrwydd o fod yr egwyddorion yn efengylaidd, a bod pob dyledswydd o ran natur, ysbryd, a dyben, yn cyfateb i reol y gwirionedd. Yn gymaint a bod gwir sancteiddrwydd ac ufudd-dod yn ffrwyth undeb â Christ, ni ddylent byth gael eu trîn yn ysgaredig oddiwrth eu gwreiddyn; ac yr ydym i fod yr un mor ofalus am beidio camgymeryd cynnyrchion natur am ufudd-dod ffydd ag ydym i beidio gosod yr ufudd-dod hwnw yn lle cyfiawnder mawr yr efengyl. Darllenwch yr adnodau cylchynol i adnodau y testun, a chwi gewch weled fod yr apostol, wrth gymhell i'r dyledswyddau cymdeithasgar, yn gorchymyn eu cyflawni "yn yr Arglwydd—yn ofn Duw—yn symlrwydd y galon—o gariad at Grist—gan wneuthur pa peth bynag a wnelom o'r galon i'r Arglwydd, ac nid i ddynion." Dyma wir ysbryd ufudd-dod. Gall cymhell dyledswyddau crefydd ar ddynion yn y wêdd hon fod yn foddion nid yn unig i adeiladu y saint, ond i ddychwelyd yr annuwiol. Oblegid, mae yr athraw wrth eu pregethu yn dwyn awdurdod Duw yn ei air at gydwybodau ei wrandäwyr, yn egluro i'w meddyliau ysbrydolrwydd rheol eu dyledswyddau, ac yn dangos yr anghenrheidrwydd am y bywyd tumewnol hwnw, oddiwrth yr hwn y mae gwir ufudd-dod yn deillio; ac fel hyn mae tuedd yn yr holl ymdriniaeth i argyhoeddi y mwyaf dichlynaidd ar dir natur o ddiffygion ei gyflawniadau, ac felly i'w ddwyn o hono ei hunan at Grist, ac i weled fod yn rhaid ei aileni cyn y gall wneuthur dim ag a fyddo yn gymeradwy gan yr Arglwydd.

Yn gyson â'r ystyriaethau uchod, dymunem geisio athrawiaethu ein cyfeillion ieuainc yn y ddyledswydd sydd o dan ein sylw yn bresennol. Nid am y mynem i chwi oedi ei chyflawni nes dyfod i sicrwydd eich bod yn dduwiol. Pa beth? oedi anrhydeddu eich rhïeni! pa beth ynte a wnewch chwi? Maent hwy yn rhwym o gael parch neu anmharch oddiar eich dwylaw bob dydd; a

thybygid fod yn ddigon eglur i bawb fod y cyflawniad mwyaf anmherffaith o ddyledswydd yn well na'i hesgeuluso neu ymddwyn i'r gwrthwyneb. Os yw y gwall, yr hwn, yn naturiol, sydd ynglŷn wrth y dymher hoff a'r ymddygiadau caruaidd, yn peri ei bod yn bechadurus, pa faint mwy pechadurus ydyw cyndynrwydd ac anufudd-dod? Mae drwg y naill yn y dull a'r amgylchiad yn unig; ond mae y llall yn ddrwg ynddo ei hun. Yn y naill ffordd yr ydych yn pechu yn erbyn Duw, ac yn y llall yr ydych yn pechu yn erbyn Duw a'ch rhïeni. Mae yn wir y gall plentyn o'r nodweddiad cyntaf fod yn ddigrefydd, ac felly fod yn wrthodedig yn y diwedd; ond y mae plentyn o'r nodweddiad olaf yn ddrygionus ac anfad, ac yn aml yn syrthio o dan farn y Goruchaf yn y byd hwn, yn gystal âg yn yr hwn a ddaw. Eich penderfyniad, gan hyny, a ddylai fod, nid oedi cyflawni eich dyledswyddau, ond gochel eu cyflawni oddiar egwyddorion deddfol a gau, a byw heb gariad Duw yn eich calonau. Ceisiwch dduwioldeb, ond ceisiwch hi yn ffyrdd ufudd-dod, megys Dafydd, yr hwn a ddywedai, "Dysgwyliais wrth dy iachawdwriaeth di, O Arglwydd, a gwnaethum dy orchymynion."

Bellach, gan obeithio eich bod yn awyddus am wasanaethu Crist yn y ddyledswydd dan sylw, ni a ddangoswn yn gyntaf,

I. Pa fodd yr ydych i wneuthur hyn; neu, ychydig o gyfarwyddiadau i gyflawni y ddyledswydd: "Anrhydedda dy dad a'th fam."

1. *Anrhydedda hwy â'th gariad.*

Cariad yw y gwreiddyn o'r hwn y tardd pob dull arall o'u hanrhydeddu—yr ysbryd sydd yn rhoddi bywyd ymhob ymddygiad. Heb hwn ni chyflawnir un ddyledswydd yn iawn tuag atynt; ac o'r ochr arall, os bydd hwn yn gwresogi y fynwes, ni adewir un heb ei chyflawni. Mae cariad yn llygad yn mhen y plentyn i weled pa beth i wneyd, ac yn barodrwydd yn y galon i ymaflyd ynddo. Ymddengys yn sirioldeb y wynebpryd, a mwyneidd-dra y llais, yn nhynerwch yr ymadroddion a'r ymddygiadau, a thŷr allan mewn llïaws o fân-gymwynasau na buasai plentyn digariad byth yn meddwl am danynt.

Mae naturiaeth ei hun yn dysgu plant i garu eu rhïeni; ond y mae gras yr efengyl, fel yr ydym wedi sylwi eisoes, yn ymgeleddu y teimlad naturiol, ac yn codi y plentyn i ymarfer cariad o ufudd-

dod i Dduw. Felly, os bydd efe yn cael ei demtio i anghariad-oldeb, mae cofio yr Arglwydd yn ei gymhell i'w wrthsefyll. "Ni wnaethum i felly rhag ofn Duw," medd y plentyn duwiol; 'mae cariad Crist yn fy nghymhell i'r gwrthwyneb; fe garodd Efe ei elynion, ac mae yn gorchymyn i minnau wneuthur yr un modd; ac os felly, pa faint mwy i garu fy nhad yr hwn a'm cenedlodd, a'm mam yr hon a'm hymddŷg?' Teulu crefyddol ydyw eglwys y plentyn bach: dyma lle dysgir ef gyntaf, nid yn unig i addoli Duw, ond i garu y brodyr. Mwynhâ yma gymun y saint o'i fab-andod, yn nghymdeithas ei rïeni duwiol—y rhai rhagorol, ac iddo ef, ar y pryd, yr unig "rai rhagorol, yn y rhai y mae ei holl hyfrydwch." Yn yr eglwys yn y tŷ, mae yntau yn cael ei ymarfer i ddyosg llid, a dig, a llefain, ac i wisgo cariad; ei holl weithred-oedd bychain ef yn cael eu gwneuthur mewn cariad; natur a gras yn cydweithio, ac yn tòri allan mewn pob arwyddion o serchog-rwydd tyner. Na feddylied neb fod y pethau hyn i'w diystyru: mae gwir werth ynddynt; oblegid os bydd plentyn wedi ei fagu yn ddiserch i'w rïeni yn ei febyd, mae yn peryglu bod felly ymhob perthynas arall dros y gweddill o'i oes. Y gymdeithas deuluaidd, fel y dywedai un, yw cryd tynerwch; a'r cariad a feithrinir yma, a dỳr allan yn y man, fel y byddo y galluoedd yn ymehangu, a'r gwrthddrychau yn dyfod yn adnabyddus i'r meddwl, yn garedig-rwydd at yr holl frawdoliaeth sanctaidd, ïe, at holl deulu dyn. Er nad yw y plentyn eto yn gwybod ond ychydig am yr Arglwydd a'i bobl, eto, wrth garu ei rïeni duwiol, mae yn caru y cyfan.

Am y dynion ag y mae eu clod am dduwioldeb yn uchel yn yr ysgrythyrau, mae lle i gasglu am lawer o honynt, pa fodd bynag, eu bod yn hynod o'u mabandod am y rhinwedd hwn. Nid oedd gan Isaac, fe wyddys, ddim mwy o barch i'w ddangos i Rebeccah ei wraig na'i dwyn hi i babell Sarah ei fam. Yr oedd tair blyn-edd, bellach, er pan y buasai hi farw; ac eto yr oedd ei lle yn wâg yn serchiadau ei bachgen; ond yn awr, wele y llaw ag oedd wedi ei amddifadu ef o fam dyner, yn ei gynnysgaethu â gwraig ffyddlawn, ac yntau yn troi i ymserchu ynddi; ac felly, wedi cael Rebeccah i'w phabell hi, a dim yn gynt, fe ddywedir, "Ac Isaac a ymgysurodd ar ol ei fam." Ofer gollwng y meddwl i grwydro dros derfynau yr hanes, onide, gallem ddychymygu iddo adrodd llawer o ymddyddanion ei fam wrth Rebeccah. Gallasai ddywedyd,

yn ddiammheu, 'Mae arnaf hiraeth eto wrth gofio am dani pan yn fachgen, fel yr eisteddai yn nrws y babell, yn hwyr y dydd, i adrodd wrthyf gyfiawnderau yr Arglwydd. Yr oedd ei ffyddlondeb ef i'w addewid, ei ofal tyner am dani, a'i waith yn ceryddu breninoedd o'i phlegid, ac yn y modd hwnw yn ei gwaredu fwy nag unwaith o'r maglau ag yr oedd hi a fy nhad, trwy eu hanymddiried yn yr Arglwydd, wedi eu dwyn arnynt eu hunain, yn llenwi ei chalon o ddiolchgarwch. Ond yn awr y mae hi wedi marw; ac wele Ragluniaeth dirion wedi darpar ymgeledd gymhwys i minnau yn ei lle. Tyred, fy anwyl Rebeccah, eistedd yn mhabell fy mam.'

Yr un modd am Joseph: yr oedd serchogrwydd i'w rïeni yn hynodrwydd mawr yn ei nodweddiad yntau. Yn lle lleithio ei gariad, ni ddarfu dyrchafiad bydol, na blynyddau o ysgariaeth oddiwrth ei dad, ddim ond ei godi i weithredu yn fwy angerddol. Mae hanes yr ymdrafod rhyngddo â'i frodyr yn swynol, a'r cyfan yn dangos mynwes orlawn o dynerwch. Bu dros dymmor yn ffugio cymeriad Aiphtwr pendefigaidd; ac y mae yn rhaid cydnabod iddo ei chwareu yn dda; ond gorchest fawt ydoedd iddo; erioed ni bu dyn yn gweithredu yn fwy annhebyg iddo ei hun. Gofynai, dybygasid, yn ddigon sych-foneddigaidd, "Ai iach yr hen ŵr eich tad chwi, yr hwn y soniasoch am dano? ai byw efe eto? Ai dyma eich brawd ieuangaf chwi am yr hwn y dywedasoch wrthyf?" Gallasech feddwl ei fod yn gwbl ddifater. Ond aeth y galon yn rhy lawn i aros am atebiad. Yr oedd trem ar ei frawd Benjamin, "mab ei fam ei hun," wedi cynhesu ei holl ymysgaroedd. "Duw a roddo ras i ti, fy mab," ebe efe; ac ymaith âg ef i geisio lle i wylo. O'r diwedd, mae yr argae yn ymollwng, a'r Aiphtwr anhyblyg yn cael ei fradychu, megys, gan ei deimlad ei hun. "Myfi," meddai, gan godi ei lef mewn wylofain, "myfi yw Joseph eich brawd. Ai byw fy nhad eto?" Ac wedi dywedyd "Fy nhad" unwaith, Fy nhad, fy nhad, sydd ar ei wefusau ar ol hyny ar ben pob ymddyddan yn barhäus. Cyfeiria ato mewn ymadroddion tynerach nag olew, gan brysuro ei frodyr i'w gyrchu ato ei hun. "Efe a gaiff drigo," meddai, "yn ngwlad Gosen, a bod yn agos ataf fi," i dreulio gweddill ei oes drallodus. Ac O y fath ymgyfarch a fu rhyngddynt yn Gosen! Ar ei waith yn ymddangos i'r hen batriarch, efe a syrthiodd ar ei wddf, ac a wylodd ar ei

wddf ef enyd; yr oedd rhwysg y penaeth yn diflanu, a dim ond serchogrwydd plentyn i'w dad yn y golwg. Ac nid ias drancedig a diffrwyth oedd cariad Joseph ychwaith; na, fe garodd mewn gweithred a gwirionedd, ac a barhäodd yn serchog hyd y diwedd. Yn yr hanes, chwi a'i cewch yn dwyn ei dad, mewn parch, i ŵydd Pharaoh, yn ei gyfleu yn y cŵr goreu o wlad Gosen, yn gwylio arno yn ei gystudd diweddaf, ac, hyd yn nôd ar ol i'w ysbryd ymadael, mae yn cofleidio ei weddillion trancedig, ac yn eneinio ei lwch ef â'i ddagrau.

Ond rhaid i ni ymattal. Mae serch i'w henafiaid, dybygid, i'w glywed yn fynych yn swnio yn lleferydd saint yr Hen Destament. "Duw fy nhad," yw eu hoff enw hwy ar y Goruchaf. Yr oedd y llw, yr addewid, y deml, a'r cyfan, yn gwisgo gwêdd mwy hoffus yn eu golwg hwy o herwydd eu perthynas â'u tadau. Mynai yr hen batrieirch eu hunain wrth farw orwedd gyda'u henafiaid: yr oedd natur a ffydd, serch eu bod yn anghyttuo yn aml, yn cyd-gordio yma. Yr un modd cawn eu hiliogaeth yn serchog ymlynu wrth Jerusalem a'u gwlad, a hyny, yn un peth, fel y dywed Nehemiah, o herwydd mai Jerusalem oedd "ddinas tŷ beddrod eu tadau." O'r ochr arall, yr ydych yn cofio, pan y mae y Bibl yn darlunio dynion mwy drygionus na'r cyffredin o'u cydryw, mai rhai o nodau duaf y cyfryw ydynt, "bod yn ddiserch i'r rhai da, yn anufuddion i rïeni, ac yn angharedig," neu, fel y gellid darllen y gair—bod heb serchiadau naturiol. Yma y mae annuwioldeb wedi dyfod i'w addfedrwydd eithaf: grym llygredigaeth wedi difa tynerwch a phob iawn deimlad o'r fynwes, a gadael y crëadur yn fwy tebyg i ellyll nag i ddyn.

Hwyrach y gofynwch, A oes gan ddyn lywodraeth ar ei serch-iadau ei hunan? A all efe garu y neb y myno? Os nad all, pa fodd y gellir ei orchymyn i hyny? Hyderwn, yn wir, nad dryg-naws y galon tuag at rïeni sydd yn eich dysgu i ofyn y fath gwestiwn. Mwy naturiol o lawer fuasai eich bod yn ammheu fod yn bosibl i ddyn lai nag ymserchu yn ei dad a'i fam. Gwyddoch fod yr Arglwydd, yn y gair, yn eich dysgu i'w caru, ac, o gan-lyniad, mae yn rhaid fod hyny yn ddyledswydd arnoch; a gweddïwch am ras i'w chyflawni. Os nad ydyw y serchiadau cariaidd yn deffro ar alwad uniongyrchol rheswm, gwybyddwch eu bod yn tyfu ac yn cryfhâu yn raddol trwy amaethiad cyson y galon. I'r

dybenion yma, chwi a ddylech goledd meddyliau caredig am eich rhïeni, cofio eich rhwymedigaethau iddynt, a chymhell cariad a diolchgarwch i weithrediad tuag atynt hwy, trwy eu cadw ger bron eich meddyliau mewn cysylltiad â'r ystyriaeth o'u gofal am danoch, a'r cymwynasau dirif a dderbyniasoch oddiar eu dwylaw o'ch mebyd i fyny. Yr un modd, gochelwch bob ystyriaeth a fyddo yn tueddu i suro eich meddyliau tuag atynt. Maent yn llawer o rwystr i chwi, mae yn rhaid cyfaddef, ond rhwystr ydynt i chwi ddinystrio eich hunain; a chwi a fyddwch yn bendithio Duw am hyny eto, marciwch chwi. Ac am eu gwir golliadau, pe byddech chwi yn gwybod y cwbl, chwi a fyddech yn fwy parod yn aml i dosturio wrthynt ac i'w hesgusodi nag i chwerwi ac ymddigio yn eu herbyn. Y gwirionedd, gyfeillion ieuainc, ydyw, os bydd teimlad o'ch rhwymedigaethau i'ch rhïeni yn cael ei gadw yn fyw yn eich cydwybodau, a'ch ewyllys, yn y mater yma, wedi ei sefydlu yn nghyfraith yr Arglwydd, fod cariad a serchogrwydd yn sicr o ddilyn. Mae un ysgrifenydd yn dyweyd ei fod ef wedi arfer, o'i febyd, adrifo yr anrhegion a dderbyniasai gan ei gyfeillion, i'r dyben o dalu iddynt ei deyrnged o ddiolchgarwch. "Mae pob peth o'm cwmpas, fel hyn," meddai, "yn cael eu bywhâu yn fy ngolwg, ac yn dyfod i gysylltiad â thyner goffadwriaeth. Ac felly mae fy meddwl ar yr amser presennol yn cael ei ddyrchafu a'i gyfoethogi trwy y côf am yr amser a basiodd; fy nychymyg a ail eilw i'm calon awdwyr y daioni yr ydwyf yn ei fwynhâu, a melus gofion a ddilyna yr adfyfyrdod; ac yr ydwyf yn cael fy ngwneuthur yn analluog i fod yn anniolchgar." Gwnewch chwithau yr un modd, gyfeillion ieuainc, er meithrin iawn deimlad tuag at eich rhïeni.

2. *Anrhydedda dy dad a'th fam â'th ufudd-dod.*

Mae adnodau ein testun, dybygid, yn dangos fod ufudd-dod yn un o'r ffyrdd trwy yr hon yr ydym i anrhydeddu ein rhïeni. Oblegid mae Paul yma yn seilio yr alwad am ufudd-dod ar y gorchymyn, yn yr hwn yr ydym yn cael ein rhwymo i'w hanrhydeddu. "Blant, ufuddhewch i'ch rhïeni yn yr Arglwydd;" ac yna mae yn canlyn, "Anrhydedda dy dad a'th fam;" hyny yw, Anrhydedda hwynt â'th ufudd-dod. Mae yn ddiammheu fod hon yn ffordd arbenig o gyflawni y ddyledswydd. Oblegid mae yn anmhosibl i blentyn gydnabod teilyngdod personol ei rïeni yn

fwy, amlygu ei ofal am eu teimladau, a thalu chwaneg o barch i'w hoedran, eu hawdurdod, a'u doethineb, na thrwy fod yn ddarostyngedig iddynt. Ond dylem wybod pa fath ydyw yr ufudd-dod a ofynir i rïeni. Mae yn cynnwys, yn ddiammheu, bod at eu gorchymyn hwy ymhob peth: dyfod pan y dywedo y rhïeni, Tyred—myned pan y dywedo y rhïeni, Dos—a chyflawni yn ebrwydd a pharod, pan y dywedont hwy, Gwna hyn. Mae y plentyn ufuddgar tuag at ei dad daearol yn gyffelyb, i ryw fesur, i gerubiaid y gogoniant yn eu hymddygiadau tuag at Dad yr ysbrydoedd—yn wastad yn barod i gymeryd ei adenydd i wneuthur ei air ef.

Mynem i chwi ddeall, bobl ieuainc, fod Duw yn gofyn chwaneg oddiwrthych i'ch rhïeni na chydymffurfiad â'u hewyllys hwy pan y byddo hyny yn cydgordio â'ch ewyllys chwi eich hunain; ïe, ac yn gofyn mwy na'r ymaberthiad hwnw i'w hewyllys, a'r hunanymwadiad hwnw er eu mwyn, nad yw yn myned ddim ymhellach nag y mae mympwy a thueddiad naturiol yn cymhell neu yn caniatâu. Yn hyny, yr ydych yn gwasanaethu eich hunain yn hytrach na'ch rhïeni. Nid ufudd-dod ydyw hyn yma; ond ufudd-dod ac ymddarostyngiad, sylwch, y mae'r gorchymyn yn ei ofyn. Mae yn rhaid i chwi ymwrthod â'ch ewyllysiau eich hunain, hyny yw, â'ch chwaeth, eich teimladau, a'ch boddhâd, mewn trefn i gydymffurfio â'r eiddynt hwy, yn ol ewyllys Duw. Gwybyddwch fod eich tueddiadau a'ch dyledswydd yn ddau beth gwahanol. Os byddant yn dygwydd cydgordio, mae hyny yn burion; ond ymhob amgylchiad ag y byddont yn wrthwyneb i'w gilydd, ac y maent felly yn aml, mae crefydd i'ch dysgu, cofiwch, i benderfynu o blaid ufudd-dod a dyledswydd, ac yn erbyn eich tueddiadau. Y gwirionedd yw—a chwi a ddylech ei wybod—fod pob ufudd-dod i grëadur llygredig yn cynnwys ynddo hunanymwadiad; mae yn dechreu yn marwolaethiad hunan-ewyllys. Hwyrach y dywedwch, Yr ydym yn foddlawn i ufuddhâu, ond Duw yn unig gaiff ein hufudd-dod. Bydded felly. Ond pa fodd y gellwch chwi ufuddhâu i Dduw ond yn ei orchymynion? a dyma y cyntaf, ac mewn rhyw ystyr, y gorchymyn mawr, i chwi: "Blant, ufuddhewch i'ch rhïeni." Nis gall un plentyn fod yn ufudd i Dduw ac yn anufudd iddynt hwy. Pa bryd bynag yr eloch i ymofyn âg Ef ynghylch eich dyledswydd, mae yn eich danfon yn ol at eich rhïeni, megys y cynnrychiolwyr cyntaf o hono i chwi, a pha rai

sydd i'ch hyfforddi yn ei ewyllys; ac yn dywedyd wrthych yn gyffelyb ag y dywedai Pharaoh gynt wrth yr Aiphtiaid, "Ewch at Joseph;" ewch at eich rhïeni, a'r hyn a ddywedont hwy wrthych, gwnewch. Mae eich cydwybod yn tystiolaethu i chwi fodanufudd-dod iddynt hwy yn wrthryfel yn erbyn Duw; ac o'r ochr arall, nid ydych byth yn profi y fath foddlonrwydd tu mewnol, na mwy o sicrwydd meddwl eich bod yn rhyngu bodd Duw, ac yn ufudd-hâu iddo mewn gwirionedd, na phan y byddoch, o barch i'w orchymyn ef, yn ymwadu â'ch teimladau eich hunain, i gyflawni ewyllys eich rhïeni.

Yr ydym yn cydnabod fod yr ufudd-dod a ofynir oddiwrthych yn amrywio o ran graddau y rhwymedigaeth yn ngwahanol amgylchiadau bywyd. Yn y mebyd, y mae i fod yn hollol a diymofyn; oblegid y mae y plentyn, yn yr oedran hwnw, yn gwbl anabl i farnu drosto ei hun, ac am hyny yn disgyn yn naturiol a hollol i feddiant ei rïeni. "Cymer, a maga ef i mi," medd Duw wrth y tad neu y fam. 'Yr ydwyf yn dy osod di yn lle doethineb a barn iddo ef ag sydd wedi ei eni fel llwdn asyn gwyllt. Tydi sydd i gyfarwyddo ei feddwl, i ffrwyno ei chwantau, i'w feithrin ac i'w sefydlu mewn arferion da. Ac am mai tydi ydwyf yn ddal yn gyfrifol am ei ymddygiadau, yr ydwyf yn rhoddi i ti awdurdod arno, hyfdra lawer i orchymyn iddo y peth sydd weddus, ac i fynu ufudd-dod oddiar ei law.' Gwelwch yma ddoethineb a gofal y Crëawdwr. Os yw yr awdurdod arnoch yn fawr yn eich ystâd ddigymhorth, eto i ddwylaw tad a mam yn unig mae yn disgyn. Mae naturiaeth ei hun yn cymhell i'w hiawn ddefnyddio yma. Mae yn wir nad ydynt ond crëaduriaid ffaeledig, eto y mae eu cydymdeimlad â chwi yn fawr; maent yn wylo pan y byddoch chwithau yn wylo, ac yn llawenhâu pan y byddoch chwithau yn llawenhâu; ïe, serch bod yn ddrwg, nis gallant lai na rhoddi rhoddion da i'w plant. Mewn gair, nid oedd eich rhoddi o dan awdurdod eich rhïeni ddim amgen na'ch gosod dan ymgeledd doethineb a phrofiad, a hyny mewn amgylchiadau lle yr oeddynt mor sicr o geisio eich lleshad, ac o gael eu cysegru i'ch gwasanaeth, â phe buasent genych chwi eich hunain o'ch mabandod. Pa beth gan hyny yw dyledswydd plentyn yn yr amgylchiadau hyn? Gellir ateb mewn gair: ufuddhâu. Eich rhïeni, cofiwch, sydd i edrych pa wêdd y maent yn llywodraethu, ac nid chwychwi. Mae

o bwys iddynt hwy wybod pa beth i'w orchymyn, a pha mor bell i gario eu hawdurdod arnoch, ac am y modd goreu i gymhwyso eu dysgyblaeth at eich meddyliau yn ol eich gwahanol oedran a'ch tymherau. Ond am danoch chwi, os gwyddoch pa fodd i ufudd-hâu, yr ydych yn gwybod y cyfan ag sydd yn anghenrheidiol. Am bryderu a gofyn, "Pa beth a fwytäwn, a pha beth a yfwn, ac â pha beth yr ymddilladwn?" nid oes neb yn dysgwyl genych. Na, chwi a gewch adael y gofalon ar eich rhïeni; dim ond bwyta yn ddiddig yr ymborth a fyddont hwy yn ei drefnu, a gwisgo y dillad a fyddont hwy yn ddarpar—darllen y llyfrau, cadw yr amser, a dilyn yn unig y cymdeithion a fyddont hwy yn eu cymeradwyo, gan fod yn barod yn wastad i roddi heibio eich chwaryddiaethau a'ch amcanion eich hunain, i redeg ar negeseuau. Yr ydych yn cofio am Joseph, yr hwn, pan y galwodd ei dad ef i fyned ar orchwyl peryglus, a ddywedai, "Wele fi."

Mae ufudd-dod plant i'w rhïeni hefyd i fod yn ufudd-dod parhäus. Mae yn wir nad yw i fod mor hollol wedi i'r dyn ddyfod i oedran âg o'r blaen, oblegid y mae efe bellach yn alluog i farnu drosto ei hun, ac yn gyfrifol i Dduw am ei weithredoedd. Ac mae yn ddiammheu na ddylai gyflawni yr hyn a ystyria yn bechod yn ei erbyn Ef, hyd yn nôd ar gais ei rïeni, nac ychwaith ddrygu ei hunan, o bosibl, mewn un ystyr bwysig i'w boddhâu, yn enwedig os bydd eu heirchion yn codi oddiar fympwy ofer. Ond, o'r tu arall, fe ddylai ddewis daioni ei rïeni o flaen ei esmwythyd ei hunan, a bod yn barod yn wastad i aberthu llawer o'i gysuron i'w lleshâd. Dylai deithio, gweithio, gwylio, a chosbi natur lawer ffordd, os bydd achos am hyny, er eu mwyn. Ië, ddyn ieuanc, serch bod yn nymuniad yr hen wraig, dy fam, lawer o fympwy plentynaidd, mae yn ddyledswydd arnat ei boddhâu, os na bydd dim yn cael ei aberthu drwy hyny ond ychydig o'th lesiant personol di dy hunan. Aberthodd hi lawer o'i chysuron i'th nwyth anwadal a dy ddrwg-ystranciau di yn dy febyd; ac yn awr, nid yw i tithau ymwneyd yn bob peth iddi hithau yn mhlentyneidd-dra ei henaint, yn ddim amgen na "thalu y pwyth." Weithiau, mae rhïeni yn dygwydd bod yn wrthwynebol i blentyn mewn materion pwysig, â pha rai, ysgatfydd, y mae a wnelo cydwybod. Mewn amgylchiadau felly, er, o bosibl, na ddylai ymostwng iddynt, eto y mae eu gwrthwynebiad yn ddigon o reswm i beri iddo ym-

bwyllo. Mae yn gweddu i blentyn ystyried a gweddïo llawer cyn cymeryd un cam yn groes i ewyllys tad neu fam. Ac os gorfydd arno wneuthur hyny, dylai, yn yr holl amgylchiad, fod yn dyner o'u teimladau, a chyflwyno ei resymau dros ei ymddygiad gyda phob gostyngeiddrwydd ac addfwynder.

Mae genym esiampl brydferth o hyn yn y ddadl rhwng Jacob a'i feibion. Ni ollyngai efe, er dim, mo Benjamin i'r Aipht gyda hwy; ac yr oeddynt hwythau, yr ochr arall, yr un mor benderfynol nad aent yno hebddo ef. Ond yn lle mòni a gwrthod myned o gwbl, neu gipio eu brawd Benjamin, a myned ymaith heb ganiatâd eu tad, maent yn oedi y daith; ac, i'r graddau y goddefai ei deimladau, ceisient ei berswadio ef, gan ymattal a gadael iddo ar y pryd, pan elai ei ysbryd yn rhy anniddig a llesg i ddal y dirgymhelliad. Yn y man, drachefn, cynnygient arno eilwaith; ac fel hyn, mewn tynerwch a doethineb, arferent bob moddion i ennill ei feddwl. O'r diwedd llwyddasant; ac wedi yr holl ymddadleu, maent yn cael yr hyfrydwch o gychwyn i'w taith â bendith yr hen batriarch ei hunan ar eu penau. "Os rhaid yn awr felly," meddai yr hen ŵr trallodus, "gwnewch hyn: cymerwch eich brawd, a chyfodwch, ewch eilwaith at y gŵr. A Duw hollalluog a roddo i chwi drugaredd ger bron y gŵr, fel y gollyngo i chwi eich brawd arall a Benjamin. A minnau fel y'm diblantwyd a ddiblentir." Pwy na chwanegai ei Amen, gan ddymuno iddynt siwrnau dda, oblegid yn rhagorol y gwnaethant. Ewch chwithau, gyfeillion ieuainc, a gwnewch yr un modd.

Cofiwch fod yn rhaid i'ch ufudd-dod fod yn barod ac ewyllysgar; nid yn athrist na thrwy gymhell, eithr o barodrwydd meddwl. Mae yr anrhydedd a roddwch i'ch rhïeni yn ymddibynu nid yn gymaint ar wneyd yr hyn maent yn ei orchymyn, ond ar yr ysbryd yn yr hwn yr ydych yn ei gyflawni. Y cariad y buom yn sôn am dano ydyw enaid ufudd-dod. Os bydd hwn genych, fe all eich rhïeni fod yn dawel y bydd i'w dymuniadau gael eu cyflawni, a chyflwyno pob cais i'ch sylw yn ngeiriau Paul wrth Philemon, "Gan hyderu ar dy ufudd-dod, yr ysgrifenais atynt, gan wybod y gwnei, ïe, fwy nag yr wyf yn ei ddywedyd."

3. *Yr ydych i anrhydeddu eich rhïeni â phob arwyddion o barch.*

Megys y mae y Duw mawr, nid yn unig yn gofyn am barch iddo ei hun yn y galon, ond am amlygiadau o hono hefyd mewn

addoliad allanol, megys plygu ein gliniau iddo, canu ei fawl, a'i ddyrchafu â'n tafodau,—felly mae yn gofyn yn gyffelyb oddiwrth blant i'w rhïeni. Nid yn unig dylid mynwesu meddyliau caredig a theimladau tyner tuag atynt hwy yn y galon, ond y mae yn ofynol hefyd arddangos y teimladau hyny mewn pob ymddygiad parchus yn allanol. Mae yn wir y bydd yn naturiol i chwi wneuthur hyn os bydd y galon mewn cywair dyladwy; eto mae yn ddyledswydd gofalu am yr ymddygiadau eu hunain, oblegid dyma y ffordd mae eich rhïeni i gael prawf a mwynhâd o'ch caredigrwydd; ac heblaw hyny, mae pob teimlad daionus yn cynnyddu wrth ei ymarfer.

Mae y Bibl yn nodi moesau tra gwahanol i hynyma, megys dirmygu tad, diystyru mam pan heneiddio, taro neu felldithio tad neu fam; ac y mae y dull pendant a llym yn yr hwn y maent yn cael eu gwahardd a'u bwgwth yn y gwirionedd, yn dangos fod y cyfryw ymddygiadau yn dra phechadurus yn ngolwg yr Arglwydd. Ymysg y pechodau ag oedd yn cael eu melldithio oddiar fynydd Ebal gynt, y cyntaf a nodir, yn nesaf at ddelwaddoliaeth, yn yr hyn y mae dynion yn dirmygu y Duw mawr ei hun, ydyw y pechod o ddirmygu rhïeni. "Melldigedig yw yr hwn a ddirmygo ei dad neu ei fam. A dyweded yr holl bobl, Amen." Mae y dirmyg hwn yn dangos ei hunan mewn plentyn lawer ffordd, a thrwy rai o honynt yn foreu ar ei ddyddiau. Gwelir ef weithiau yn chwerthin am ben ymddygiadau ei rïeni; yn cymeryd eu cynghorion a'u gorchymynion yn destynau gwawd. Yn ei gyndynrwydd am ei ffordd ei hun, mae yn ymryson yn erbyn eu hawdurdod, ac hwyrach, fel y mae yn dygwydd yn aml, yn diweddu yr ymrysonfa gyda llais chwerw, ac ymadroddion sarug a thrahäus, os nad eu gwatwar hwy trwy ysgwyd pen, a llaesu gwefl, a phob ystum corfforol ag sydd yn dangos anmharch a drygnaws y galon. Fel y delo uwchlaw eu hofn, ä yn fwyfwy diystyr o honynt beunydd. Mae ei ddrygfoesau yn orthrwm ar eu calonau, a'i afradlonrwydd yn difa eu bywyd; ac yn aml, wedi eu dwyn yn eu hen ddyddiau i warth ac anghen, mae yn ychwanegu at eu gofidiau trwy fod yn galed a drwg yn ei ymddygiadau tuag atynt, neu drwy gefnu arnynt a'u hesgeuluso.

Mor dyner mae y Bibl yn annog yn erbyn hyn! "Gwrando ar dy dad a'th genedlodd, ac na ddiystyra dy fam pan heneiddio."

Sylwch ar y gair hwn: "Na ddiystyra dy fam pan heneiddio." Edrych arni: mae yn cario nodau ei chur a'i gofal am danat yn ei hwyneb. Yn lle ei dirmygu, dylai yr olwg ar ei chorff gwywedig, a'i gruddiau crychlyd, ddadgloi holl dynerwch dy fynwes tuag ati. *Na ddiystyra dy fam pan heneiddio!* Hwyrach eich bod yn barod i waeddi, Och Dduw! a ydyw bai mor annaturiol yn bosibl i blant dynion? A ydyw yn anghenrheidiol i'r Duw mawr warchod "mam," a "mam pan heneiddio," rhag syrthio yn wrthddrych diystyrwch i'w phlentyn ei hunan? Onid yw ei galon yn gwrthod y fath ymddygiad, ac yn cyffroi i'w mawrhâu hi, ïe, pe na byddai addewid na bygythiad i'w gymhell na'i ddychrynu? Bendithiwch Dduw, gyfeillion ieuainc, os ydych yn teimlo felly. Ar yr un pryd, cofiwch fod y pechod hwn yn barod i'ch amgylchu. "Mae cenedlaeth," medd y gair, "a felldithia ei thad, a'i mam ni fendithia." Oni welsoch chwi esiamplau o hyny ymysg eich cyfoedion? Ië, caniatëwch i ni yn awr appelio at eich cydwybodau chwi eich hunain, a gofyn, A ydych chwi ddim yn rhy euog, weithiau, o gynnwys meddyliau a gwyniau tuag at eich rhïeni, pa rai sy'n sawru yn ormodol o ddiystyrwch arnynt, ac o wrthryfel yn erbyn eu hawdurdod? Pa fodd bynag, astudiwch eich dyledswydd yn dda ar y pen hwn. Mae plentyn, cofiwch, nid yn unig i deimlo yn barchus, ond i amcanu dangos parch i'w rïeni bob amser, ac i ofalu am eu hanrhydeddu hwy ger bron pawb, trwy bob gair ac ymddygiad moesgar a theilwng. Dylai ymagweddu yn eu gŵydd gyda gwylder ac ofn, cadw ei syniadau yn wastad yn ddarostyngedig i'w barn, cyflwyno ei ddymuniad i'w sylw gyda gostyngeiddrwydd, a chymeryd ei nacâu, os bydd raid, gyda sirioldeb.

Pa mor isel bynag y byddo amgylchiadau ei rïeni, neu pa mor ddiffygiol bynag mewn gwybodaeth a dysg, mae y plentyn, nid yn unig i beidio a chywilyddio o honynt a'u dirmygu, ond i ddangos yn ddibetrus ei fod yn ystyried ei dad a'i fam ei hunan yn deilwng o bob anrhydedd a pharch. Yr ydym yn darllen am Joseph yn ymddyosg o'i holl uchafiaeth, ac, yn groes i'w freuddwydion a'r cyfan, yn ymgrymu hyd lawr ger bron ei hen dad dall a methedig. Yr un modd Solomon, yntau: yr ydoedd hwnw o dan ei holl ogoniant yn anrhydeddu ei fam gyda llawer o hoffder. Gwyddai Adoniah ei frawd yn dda mor barchus ydoedd o honi; ac am hyny pan y mynai gael Abisag gan Solomon yn wraig iddo ei

hun, mae yn gosod Bathseba ei fam i gyflwyno ei ddymuniad o flaen y brenin; "canys," medd efe, "ni ommedd efe dydi." Ac yr ydym yn cael, pan aeth hi at y brenin ar y neges hòno, iddo godi oddiar ei orsedd i'w chyfarfod hi, ymostwng iddi, a'i gosod i eistedd ar ei ddeheulaw. Mae yn amlwg ei fod yn ymhyfrydu yn ei hanrhydeddu, ac yn cyflawni, hyd yr oedd yn bosibl, ei dymuniadau. "Gofyn, fy mam," medd efe, "canys ni'th ommeddaf." Teimlai megys yn anesmwyth ar ei orseddfainc ei hun heb gael gorsedd hefyd iddi hithau ar ei ddeheulaw. Fel pe y dywedasai, 'Ni chaiff fy mam eistedd islaw fy ystôldroed i: fy mam, ag yr oeddwn yn dyner ac yn anwyl yn ei golwg o fy mebyd, yr hon a ddysgodd i mi athrawiaeth dda—ni buaswn i mor gymhwys i'r lle yr ydwyf ynddo heddyw oni bae fy mod wedi fy meithrin wrth ei thraed hi; am hyny, os gorsedd i mi, gosoder gorsedd hefyd i fam y brenin.'

Caniatëwch i mi, fy nghyfeillion ieuainc, wrth adael y mater hwn, eich annog i wneyd esiamplau prydferth o'r fath yma yn rheol eich ymddygiadau. Gwyliwch ar bob temtasiwn i anmharchu eich rhïeni a ddichon godi oddiwrth wahaniaeth amgylchiadau. Weithiau, y mae yn dygwydd fod plant yn uwch eu sefyllfa yn y byd, neu ymhell o flaen eu rhïeni o ran amaethiad eu meddyliau; ac y mae y gwahaniaeth yma, yn achlysurol, fel y sylwa un, yn arwain i ddiffyg parch tuag at lywodraethwyr y teulu ag sydd ar unwaith yn annyoddefol ac yn gywilyddus. Chwychwi, gan hyny, ag sydd yn y brofedigaeth, gwyliwch ar ymweithiad y balchder hwn yn eich calonau. Gwybyddwch, er teilyngu parch oddiar eich dwylaw, nad yw yn anghenrheidiol i'ch rhïeni fod yn ddim ond rhïeni. Mae yn wir nad ydych i'w mawrhâu o herwydd eu diffygion, nac ar gyfrif talentau nad ydynt yn eu meddu; eto pa mor isel a diddysg bynag a fyddont, eich rhïeni, cofiwch, ydyw eich rhïeni. Nid yw eich parch a'ch anrhydedd ddim amgen na dyled naturiol iddynt; a chwi a wyddoch fod dyled i'w thalu pa fath bynag fyddo cymeriad yr echwynwr. Mae eu lle, eu hoedran, a'u profiad, yn galw am eich anrhydedd. Maent yn cofio amser pryd nad oeddych chwi mewn bôd, ac wedi byw i weled llawer tro ar fyd, a diwedd llawer dechreuad. Buont yn teithio y tir yr ydych chwi arno yn awr cyn eich geni chwi; ac y mae ganddynt adnabyddiaeth a phrofiad

o hono, yn gystal ag o fyd arall o bethau ag yr ydych heb eich geni iddo eto. Am hyny chwi a ellwch fod yn sicr, pa faint bynag ydynt yn ol i chwi mewn rhyw ganghenau o wybodaeth, bod eu profiad yn gofyn am sylw ac ufudd-dod; ïe, a phan byddo henaint wedi eu hamddifadu o'r cyfan, y mae hyd yn nôd eu plentyneidd-dra yn rhy gysegredig i'w ddirmygu. A phwy, attolwg, a wnaeth ragor rhyngoch chwi a hwythau o ran amaethiad meddwl? Pwy ond eich rhïeni eu hunain, fel offerynau? a hyny o bosibl trwy lawer o hunanymwadiad a llafur. "Telwch, gan hyny, i bawb eu dyledion; ofn i'r hwn y mae ofn, a pharch i'r hwn y mae parch yn ddyledus." Ymddygwch yn barchus tuag at eich rhïeni, nid o orfodaeth, ond o egwyddor. Gwnewch y peth sydd yn iawn, am ei fod yn iawn; a gelwch reswm, cydwybod, ac ofn yr Arglwydd, i'ch cynnorthwyo. Yr ydym yn gadael hyn, i alw eich sylw at bwnc arall pur agos o'r un ystyr.

4. *Yr ydych i anrhydeddu eich tad a'ch mam trwy gydymddwyn â hwy, a bod yn ddoeth a gofalus i guddio eu gwendidau.*

Nid yw eich rhïeni, chwi a wyddoch, ond crëaduriaid ffaeledig ar y goreu. Buoch chwi, unwaith, mae yn wir, yn ddigon gwirion a diniwed i'w hystyried yn berffaith; ac yn yr oedran ag yr oeddych y pryd hwnw yr oedd hyny yn deimlad têg a phrïodol; ond erbyn heddyw, y mae llawer o honoch yn gwybod amgenach pethau. Mae eu gwendidau yn aml, ac fel y byddont yn heneiddio, mae yn ddigon peryglus y bydd rhai o'r gwendidau hyny yn dyfod yn fwy amlwg. Mae lle yma, gan hyny, i dduwioldeb mabaidd ymarfer ei hunan. Y serchogrwydd a'ch cadwai gynt heb feddwl fod dim anmherffeithrwydd yn bosibl i'ch rhïeni, mae hwnw yn awr, mewn oedran mwy addfed, i'ch dysgu i guddio eu hanmherffeithrwydd a'u gwendidau, ac yn wir, i beidio eto a'u tybied yn bosibl, hyd y byddo modd; oblegid "cariad ni feddwl ddrwg, eithr y mae yn credu pob dim, yn gobeithio pob dim, ac yn ymaros â phob dim." Ac os ydyw cariad efengylaidd yn gweithio felly mewn amgylchiadau eraill, pa faint mwy, gellid dysgwyl, yn mynwes plentyn tuag at ei rïeni, lle mae tynerwch cynhenid, a chynifer o gymhelliadau naturiol, i'w cynnorthwyo? Yr ydych chwi a'ch rhïeni yn y fath gysylltiad â'ch gilydd, na byddai eu dynoethi hwy yn ddim amgen na chywilyddio eich

hunain, a phrawf, nid yn unig o ddiffyg gras, ond o ddiffyg synwyr a serchiadau naturiol. Pwy a gydymdeimla â hwy, ac a guddia eu gwendidau, yn y byd athrodgar hwn, oni wna eu plant eu hunain?

Yr wyf yn cydnabod y dichon y ddyledswydd hon fod yn anhawdd i'w chyflawni yn aml. Llawer o wendidau anhyfryd sydd yn cylchynu dyn, yn enwedig 'wrth heneiddio. Mae tynerwch y plentyn hwnw yn hoffus yn wir, pa un, hwyrach, dros flynyddau, sydd yn cyd-ddwyn â'r edliwiant diachos, ac â'r nwyth anwadal, yr hon sydd yn ceisio heddyw yr hyn a wrthodid ddoe, ac yn troi yn fwyfwy gwrthnysig o dan ddwylaw cariad ei hunan—y plentyn hwnw, meddwn, ag sydd yn cyd-ddwyn âg anniddigrwydd ei hen dad profedigaethus, yr hwn, o dan y doluriau mae yn ei gael oddiwrth eraill, sydd yn aml yn tywallt ei ddrygnawsedd arno ef, ac eto y mab yn gweled yn y cyfan ddim ond prawf o wendidau a thrallodion einioes, ac felly galwad uwch am gydymdeimlad ac ymgeledd. O! pan mae cariad Duw yn cynnyrchu y fath ysbryd at rïeni, mae yn fendigedig yn wir! Er mor hawddgar ydyw gras ymhob ffurf arno, nid yw byth yn fwy felly nag yn y wêdd yma, na byth ychwaith yn fwy dïogel o ddwyn gwobr i'w berchen; ïe, mae y cyfryw dymher yn ddedwyddwch a gwobr ynddi ei hun. Dygwydda weithiau fod rhïeni wedi dwyn anaf arnynt eu hunain rywbryd yn eu bywyd. Mewn amgylchiadau felly, mae yr enllibgar ar bob achlysur yn barod i edliw iddynt eu beïau, os nad i'w taflu i wyneb eu hiliogaeth ar eu hol. Ond tra mae eraill fel hyn yn hustyng ac yn sibrwd, gan estyn bŷs at y brycheuyn sydd yn nghymeriad tad neu fam, mae y plentyn tyner yn teimlo ac yn tewi. Hyd y mae ynddo ef, ymdrecha yn wastad i arddangos y rhagoriaethau a berthyn i'w nodweddiad, a hyny i'r fantais oreu, a'r un ffunud i wneyd pob esgus dichonadwy dros eu diffygion. Os clyw hwy yn cael eu dirfrïo ar gam, fe gyfyd gyda soriant i'w hamddiffyn; ac mewn amgylchiadau nas gall eu difeïo yn gwbl, nid oes un ymdrech na wna, cyson â gwirionedd, i esgusodi a lliniaru pob camgymeriad o'r eiddynt, ac i osod allan eu hymddygiadau yn y goleuni mwyaf cymeradwy. Pa bethau bynag a ystyria efe fel y rhanau anmharchedicaf o'u cymeriad, ynghylch y rhai hyny y gesyd efe ychwaneg o barch. Os galluoedd gweiniaid, meddyliau anwybodus, ac arferion isel,

neu pa wallau bynag ydynt megys eu haelodau anhardd hwy, mae efe yn ofalus i daflu drostynt fantell cariad, a thrwy bob ymddygiad doeth a thyner i roddi parch ychwaneg i'r hyn sydd ddiffygiol.

Cawn esiampl hoffus ar y mater yma yn ymddygiad Sem a Japheth, meibion Noah. Yr oedd yr hen ŵr, eu tad, yn anwyliadwrus wedi llithro, ac ar y pryd wedi colli hunan-lywodraethiad a gweddeidd-dra cyffredin. Felly yr ydym yn darllen iddo "feddwi ac ymnoethi yn nghanol ei babell." Ond yn lle tosturio wrth ei dad ei hun, ac ymdrechu i guddio ei wendid ef, wele Cam, ei fab ieuangaf, pan ei gwelodd yn ei ystum adgas, yn edrych arno yn ddirmygedig, a chyda phleser drygionus ac annaturiol yn gwneyd gwawd o hono yn yr heol. Ond nid felly Sem a Japheth. Pan glywsant hwy am y dygwyddiad anhapus, mae eu heiddigedd dros eu hen dad anrhydeddus a duwiol yn ennynu, ac, mewn ffordd nas gallasai ond parch a gwylder mabaidd ei ddyfeisio, maent yn cuddio ei anharddwch ef. "A chymerodd Sem a Japheth ddilledyn, ac a'i gosodasant ar eu hysgwyddau ill dau, ac a gerddasant wysg eu cefn, ac a orchuddiasant noethni eu tad, a'u hwynebau yn ol fel na welent noethni eu tad." O mor garedig! Os oedd ymddygiad Cam i'w ffieiddio, mae ymddygiad ei frodyr yn dra chymeradwy. Yr oedd eu gofal am anrhydedd eu tad mor fawr, a'u teimladau o'u rhwymedigaethau iddo mor dyner, fel yr oeddynt yn awyddus i guddio ei wendidau, nid yn unig oddiwrth eraill, ond oddiwrth eu llygaid eu hunain. Mae yn ddiammheu fod meibion Noah, yn yr amgylchiad hwn, wedi eu gosod yn esiampl i blant yr oesoedd. Ac er gwneyd yr esiampl hòno yn fwy effeithiol, yr ydym yn cael yn y brophwydoliaeth a ddilynodd, fod eu tad o dan Ddwyfol ysbrydoliaeth yn rhagfynegu eu hanes hwy; ac y mae tynged pob un o honynt yn gyfatebol i'w hymddygiad tuag ato ef ar yr achlysur presennol. Mae Cam yn cael ei felldithio, a'r felldith hòno yn disgyn arno yn gosb am ei fai. Ac, yn yr un modd, y mae y fendith yn dyfod ar ei frodyr, a hyny mewn ffordd ag sydd yn dangos cymeradwyaeth yr Arglwydd o'u hymddygiad. A pha beth oedd yr ymddygiad hwnw? Yn ddïau, pan ystyriom mai gweithred o dduwioldeb mabaidd ydoedd, ar gyflawniad pa un y cynhyrfwyd enaid yr hen ŵr eu tad, fel hyn, i fendithio ei feibion, ïe, y weithred a anrhydeddodd yr Arglwydd

â'i sylw mor rhyfedd, trwy gymeryd achlysur oddiwrthi i agoryd ei fwriadau grasol mewn perthynas iddynt hwy, ac i'w hiliogaeth ar eu hol, dros oesoedd dyfodol—pan ystyriom hyn, meddwn, nis gallwn lai na phenderfynu bod y rhinwedd yma yn un dewisol a chymeradwy, a bod y Goruchaf wedi gosod sêl ei foddlonrwydd wrtho mewn modd arbenig.

Ond, a oes dim lle i ofni fod llawer o ieuenctyd yn dilyn esiampl Cam, yn hytrach na'i frodyr ef, yn eu hymddygiadau tuag at eu rhïeni? Maent yn eu dirmygu, hwyrach, nid yn unig yn eu pethau drwg, ond yn ngwendidau diniwed corff neu feddwl. Mae llawer o rïeni, fel y sylwyd eisoes, serch eu bod yn ddiddysg eu hunain, na ddarfu iddynt arbed na thraul na thrafferth i roddi manteision dysgeidiaeth i'w plant. Ond pa nifer o'r cyfryw a gafodd achos i gwyno wedi hyny, "Megais a meithrinais feibion, a hwy a wrthryfelasant i'm herbyn?" Gall yr hen dad, o bosibl, achwyn a dywedyd, 'Nid oes gan y chwaeth a goethais ddim blâs ar fy nghymdeithas i; i'r gwrthwyneb, y meddwl ag y bûm i yn ddiwyd i'w amaethu yw y parotaf i ddiystyru fy anwybodaeth, a'r tafod a wneuthum yn ddysgedig sydd yn fy nghymeryd yn wawd.' Nid oes ond ffyliaid yn ymhyfrydu mewn camwedd mewn un amgylchiad; ond fod plant yn dynoethi ac yn gwatwar gwaeleddau eu rhïeni sydd yn ddrygioni o'r fath waethaf. Mae yn brawf o galon dra llygredig, ac o ddyn ieuanc ar ben y ffordd i ddinystr.

5. *Mae plant i anrhydeddu eu rhïeni trwy eu cynnal, a thrwy weinyddu iddynt, yn ol eu gallu, bob ymgeledd anghenrheidiol mewn tlodi ac anghenoctid.*

Gallai y tad ddywedyd am ei blentyn, yn gyffelyb ag y dywedodd Ioan Fedyddiwr am Grist, "Rhaid iddo ef gynnyddu, ac i minnau leihâu." Megys yr ydoedd yn ddyledswydd ar rïeni gynnal eu plant yn eiddilwch mebyd, felly, yr un modd, mae yn ddyledswydd ar y plant, os bydd yr achos yn gofyn, dalu y pwyth i'w rhïeni, trwy eu cynnal a'u hymgeleddu hwythau yn methiantwch henaint. Arwyddair y teulu a ddylai fod, "Nyni, y rhai ydym gryfion, a ddylem gynnal gwendid y rhai gweiniaid, ac nid rhyngu ein bodd ein hunain." Mawrhâu un fel hyn, mewn ffordd o weinyddu cynnaliaeth iddo, a'i gysuro, ydyw ystyr y gair *anrhydeddu* yn aml yn yr Ysgrythyrau. Felly yr ydym i "anrhydeddu yr Arglwydd â'n cyfoeth:" dangos caredigrwydd i'w achos

a'i bobl ef, neu yn ol iaith y Gwaredwr, rhoddi bwyd iddo yn ei newyn, a dïod iddo yn ei syched. Am fod y barbariaid gynt wedi dangos mwyneidd-dra nid bychan i Paul a'i gymdeithion, trwy eu cynnal tra buont yn aros yn eu mysg hwy, a'u llwytho â phethau anghenrheidiol pan oeddynt yn ymadael, fe ddywedir eu bod "wedi eu parchu hwy â llawer o urddas." "Anrhydedda y gwragedd gweddwon," medd Paul wrth Timotheus, "y rhai sydd wir weddwon;" hyny yw, Anrhydedda hwy â chynnaliaeth o drysor yr eglwys. Bod hyn yn gynnwysedig yn yr anrhydedd sydd amlwg, oblegid yn yr adnodau cylchynol y mae yr apostol yn dysgu plant ac ŵyrion i gynnal eu perthynasau tlodion, ar eu traul eu hunain, fel y gallai yr eglwys, medd efe, "ddiwallu y gwir weddwon." Yr oedd eu diwallu yr un peth â'u hanrhydeddu. Yr un modd y mae Crist yn esbonio y pummed gorchymyn: dengys fod cynnaliaeth yn rhan o'r anrhydedd a ofynir ynddo, ac y mae yn cyhuddo y Phariseaid o fod yn ei ddirymu trwy eu traddodiadau eu hunain, wrth gyhoeddi y dyn hwnw yn ddifai, yr hwn, o dan rith o fod wedi cysegru ei feddiannau i Dduw a'i wasanaeth, a fyddai yn ymesgusodi ac yn gwrthod cynnal ei rïeni. "Duw a orchymynodd," medd efe, "gan ddywedyd, Anrhydedda dy dad a'th fam. Ac meddwch chwi, Pwy bynag a ddywedo wrth ei dad neu ei fam, Rhodd yw, trwy ba beth bynag y cêit lês oddiwrthyf fi, ac ni anrhydeddo ei dad neu ei fam, difai fydd." Mae Marc yn darllen, "Nid ydych yn gadael iddo wneuthur dim i'w dad neu i'w fam," a Matthew, "*ac ni anrhydeddo.*" Peidio a gwneuthur dim iddynt, gan hyny, ydyw peidio eu hanrhydeddu, yn ol meddwl Crist, ac felly bod yn droseddwyr o'r pummed gorchymyn.

Mae yn eglur, fel hyn, fod rhagddarbod drostynt yn rhan arbenig o ddyledswydd plant tuag at eu rhïeni—eu caru, nid ar air ac ar dafod yn unig, ond mewn gweithred a gwirionedd—rhoddi iddynt anghenrheidiau y corff, a'u rhoddi yn ewyllysgar, heb fod yn ddrwg gan y galon pan y byddys yn rhoddi iddynt. Os yw y mab anhydyn yn esgeuluso ei rïeni, neu yn teimlo yn anfoddog pan y mae yn gorfod eu cynnorthwyo, mae y plentyn duwiol a thyner i'r gwrthwyneb, yn teimlo yn wahanol; "gan eu hoffi hwy," megys ag y dywed yr apostol ar fater arall, "mae yn gweled yn dda gyfranu â hwynt, nid yn unig ei feddiannau bydol,

ond ei enaid ei hunan hefyd, am eu bod yn anwyl ganddo." Mae ei galon ef yn y cyfan a wna i'w rïeni; ac nid yw ei gymwynasau allanol ond y tuedd, megys, o fewn yr hwn y mae yn cyflwyno iddynt ei gariad a'i ewyllys da; a dyma yn neillduol sydd yn peri fod ei holl wasanaeth tuag atynt yn wir anrhydedd.

Gall yr esiampl fod, o bosibl, yn anghyffredin; ond nid oes yn holl ardd-lysiau rhinwedd cristionogol yr un blodeuyn mwy prydferth a dymunol i edrych arno, na phlentyn, fel hyn, yn ymaberthu i lesâd ei rïeni. Meddyliwch, er engraifft, am y bachgen ieuanc, yr hwn sydd yn aros gartref, hwyrach, i'w anfantais, ac yn oedi ei brïodas dros flynyddau, i'r dyben i gadw caban uwch ben ei hen fam weddw a digymhorth. Mae yn gwarafun iddo ei hunan y pleserau y mae ei gyfoedion yn eu mwynhâu; yn gweithio yn galetach, yn bwyta yn gulach, ac yn gwisgo yn fwy cyffredin, er mwyn ei gwneuthur hi yn fwy cysurus. Neu, meddyliwch yr un modd am y lodes rinweddol, yr hon sydd yn dysgu gartref mewn dystawrwydd, ac yn ymwneyd yn bob peth i'w thad a'i mam. Mae eraill, o bosibl, yn fwy hoff o gyhoeddusrwydd, ac o gyrchu i bob math o gyfarfodydd; ond y mae hithau yn hoffus o'i dyledswyddau teuluaidd. Tra mae llïaws o'i chydryw yn gwibio am y naill gynhyrfiad ar ol y llall, neu, yn ol arfer y dyddiau hyn, fel y gôg o lwyn i lwyn yn canu, nes bron anghofio eu nythod, mae hi, o'r ochr arall, yn ymroddi i'r rhinwedd uwch, a mwy ammeuthyn, o warchod y tŷ, ac arfer duwioldeb gartref, a thalu y pwyth i'w rhïeni. Yr oriau a gysegra ei chyfoedion i ymbleseru, a dreulir ganddi hi i esmwythâu doluriau henaint, ac i ddifyru y dyddiau blin, a'r blynyddau nad oes dim dyddanwch ynddynt. Mae yn cyflawni dyledswyddau isel, heb na thâl na diolch, ïe, hwyrach, yn nghanol chwerwder a grwgnachrwydd, a hyny i hen grëaduriaid truanaidd a phesychlyd ag sydd bron a throi yn llygredigaeth o dan ei dwylaw. Mae yn wir nad oes neb yn cyhoeddi ei rhinweddau hi oddiar yr esgynlawr, na *report* unrhyw gymdeithas, dramor na chartrefol, yn gwybod dim am ei henw. Beth er hyny? nid yw ei gwaith ddim yn llai teilwng am ei fod yn guddiedig. Mae yn cyflawni gorchestion bob dydd, sef gorchestion amynedd a hunanymwadiad; ac er nad ydynt yn serenu llygaid y byd, nac yn cael eu cadw ymysg hanesion eglwysig, eto y maent wedi eu cofrestru fry; y maent ger ei fron Ef, yr

hwn a wêl yn y dirgel, a'r hwn a dâl ryw ddydd yn yr amlwg.

Ond pwy o honoch chwi, O ieuenctyd Cymru, sydd yn ateb i'r darluniad uchod? A ydyw caredigrwydd mabaidd yn cael ei feithrin genych fel dyledswydd grefyddol? Mae rhai o honoch wedi ymsefydlu mewn galwedigaethau, ac yn llwyddo yn y byd, a thrwy y cychwyn da a gawsoch gan eich rhïeni, yr ydych erbyn heddyw, o bosibl, mewn gwell amgylchiadau na hwy eu hunain. Caniatäer i ni ofyn i'r cyfryw, A oes ôl eich llwyddiant chwi ar fythod eich rhïeni? A ydyw ymysgaroedd tad a mam yn cael eu llòni trwy eich caredigrwydd chwi, a'u heneidiau, fel Isaac, yn eich bendithio, oblegid eich bod yn darpar iddynt ambell damaid o flasusfwyd yn eu henaint a'u penllwydni? A oes yr un ochenaid a allech chwi attal yn dïanc o'r fynwes, na'r cysur a allech chwi estyn yn absennol o'r tŷ? Onid oes rhai o honoch yn treulio ar eich melus-chwantau yr hyn a ddylai gael ei gysegru i gysuro tad neu fam? A ydyw y bachgen hwnw, dybygech chwi, yn anrhydeddu ei rïeni yn deilwng, yr hwn, er ei fod mewn amgylchiadau diwall ei hunan, sydd yn goddef iddynt hwy deimlo anghen—efe, yr hwn sydd yn eu taflu ar gymhorth y plwyf, ac yn lle eu cysuro gartref, trwy y gyfeillach a'r cydymdeimlad teuluaidd, yn eu bwrw i ddwylaw estroniaid, ac yn eu gadael i orphen blynyddau annyddanus eu bywyd rhwng muriau oerion a diserch yr elusendŷ? Ni fynwn farnu mor galed am y natur ddynol â thybied fod y fath ymddygiadau i'w cael yn gyffredin; o leiaf yr ydwyf yn hyderu i'r gwrthwyneb, ac am hyny yn troi oddiwrthynt gyda llawenydd i ddangos i'm cyfeillion ieuainc ffordd dra rhagorol.

Mae yn ddiddadl, os byddwch yn caru eich rhïeni yn ddyladwy, y byddwch hefyd yn teimlo yn ymroddgar i'w lleshâd. Fe wna cariad y meddwl yn ystyriol o'u helynt, a'r llaw yn ddiwyd a pharod i'w cynnorthwyo. Nid oes dim, oddieithr bod anallu yn cyfodi oddiwrth yr amgylchiadau allanol, a bair i blentyn caruaidd adael tad neu fam dros fynydyn mewn un anghaffael. Yr ydych yn cofio yr esiamplau ysgrythyrol ar y mater hwn. Pa fodd yr oedd Joseph, er engraifft, yn dangos ei barch i'w dad pan mewn cyfyngder ac anghen? Onid drwy ei borthi ef a'i dylwyth â bara, a defnyddio ei ddyrchafiad yn yr Aipht, a'i le gyda Pharaoh, i wneuthur cartref iddo dros weddill ei oes? Os gorchfygai Samson

y llew, fe gai ei dad a'i fam gyfran o yspail y fuddugoliaeth. Yr un modd, Dafydd yntau, os oedd i hwnw ddylanwad yn llŷs Moab, fe'i defnyddiai i wneuthur cartref i'w rïeni. Yr ydoedd mewn amgylchiadau profedigaethus yr amser hòno—yn llawn helbul ac ofnau, fel y gwelir wrth gymharu 1 Sam. xxii. â Psalm cxlii., ac eto, er ei fod yn cwyno fod nodded wedi pallu iddo ef ei hunan, y peth cyntaf y mae yn geisio ydoedd nodded i'w rïeni. "Deled, attolwg," medd efe wrth frenin Moab, "fy nhad a fy mam i aros gyda chwi, hyd oni wypwyf beth a wnel Duw i mi." Cystal a dywedyd, "Pan wnelo Duw yr hyn a addawodd i mi, byddaf yn sicr o gofio fy nhad a fy mam; ac i aros hyny, dymunwn eu cyfleu hwy, yn eu methiantwch a'u henaint, mewn amgylchiadau mwy dïogel a chysurus na bod gyda myfi yn crwydro y mynyddau, ac yn llechu yn ogofeydd y ddaear." Ië, mae genym esiampl un mwy na Dafydd ar y mater hwn. Yr ydych yn cofio am dano Ef, yr hwn oddiar y groes a ofalodd am ei fam. Wedi ei chynnal ei hunan, mae yn debyg, yn ystod ei fywyd, darparai yn awr drosti ar ol ei ymadawiad. Ac y mae ei waith yn ei gorchymyn i'w gyfaill anwylaf, y pryd a'r dull a gymerth i wneuthur hyny, yn pasio pob tynerwch, ac yn dangos y gofal mwyaf am dani. "Yr Iesu, gan hyny, pan welodd ei fam, a'r dysgybl yr hwn a garai efe yn sefyll gerllaw, a ddywedodd wrth ei fam, O wraig, wele dy fab; gwedi hyny y dywedodd wrth y dysgybl, Wele dy fam." 'Os wyt yn garedig i mi, Ioan, derbyn hi fel myfi. Meithrina tuag ati y parch a'r cariad hwnw ag sydd ddyledus oddiwrth blentyn i rïant teilwng; a chofia fy mod i yn awr, yn ddifrifol, ac wrth farw, yn ei gorchymyn hi i'th ofal.' Ac yr oedd yr awgrym yn ddigonol. "O'r awr hòno allan y cymerodd y dysgybl hi i'w gartaef." Nid i ddim, gyfeillion ieuainc, yr ysgrifenwyd y pethau hyn yn y Bibl, ac nid ychwaith i'w canmawl a'u rhyfeddu yn unig. Nagê! ond dyma y ffordd a gymerodd yr Arglwydd i arddangos ei gymeradwyaeth o'r rhinwedd yma, i'ch dysgu yn eich dyledswydd, ac i ddarpar i chwi esiamplau o'r cyflawniad o honi, fel y canlynech eu hol hwy.

6. *Mae buchedd a chymeriad moesol plant i fod yn anrhydedd i'w rhïeni.*

Dylent ofalu am ymddwyn yn addas i urddas ac enw da eu tad a'u mam; ceisio rhagori ymhob rhinwedd a doethineb, fel ag i

fod yn glod ac anrhydedd iddynt ger bron y byd. "Coron henafgwyr yw eu hwyrion, ac anrhydedd plant yw eu tadau." Mae yn dra hyfryd pan y byddo fel hyn: plant yn enwog ar gyfrif eu disgyniad oddiwrth rïeni urddasol, doethineb a rhinwedd pa rai sydd yn adlewyrchu anrhydedd ar eu hiliogaeth; a'r rhïeni drachefn yn cael eu hanrhydeddu ynddynt hwythau, oblegid eu bod yn rhodio yn eu ffyrdd, ac yn ymddwyn yn deilwng o'r fath henafiaid. Nid anaml y ceir y ddwyblaid yn warth i'w gilydd. Os bydd y plentyn yn ddrygionus, mae yn waradwydd i'w rïeni; ac y mae y rhïeni, hwythau, os byddant yn grëaduriaid dirinwedd a gwrthodedig yn ngolwg cymdeithas, yn sicr o argraffu gwarth, sydd bron yn annileadwy, ar enw eu hiliogaeth. Bydd dynion wrth gyfeirio atynt yn barod i ddywedyd yn debyg ag y dywedodd Job am eu cyffelyb, "Meibion yr ynfyd, a meibion rhai anenwog oeddynt; a gwaelach na'r ddaear oeddynt."

Ffafr dda, bobl ieuainc, ydoedd cael rhïeni parchus, a ffafr ag y mae rhai o honoch chwi wedi ei chael. Ond cofiwch ei bod yn ychwanegu eich cyfrifoldeb. Os chwychwi a fydd eto yn colli o ffyrdd rhinwedd, ac yn gorphen eich gyrfa gyda yr ynfydion, wedi cael cychwyniad mor obeithiol, a bod yn hir, o bosibl, o dan feithriniaeth dynion amgenach na doethion y byd hwn, fe fydd eich cwymp, yn wir, yn alaethus, ac nid yn unig enw Duw, ond coffadwriaeth eich rhïeni yn cael ei gablu o'ch plegid. Cafodd rhai o honoch dadau ag yr oedd rhagluniaeth a gras megys wedi ymuno i'w henwogi: eu sefyllfa yn y byd, grym eu galluoedd, a'u talentau naturiol, yn gystal a'u duwioldeb, yn cydwasanaethu i'w gwneyd yn anrhydeddus. Yr oedd eu cymydogion yn edrych atynt gyda pharch a chyfrifiad, ac yn barod ar bob achlysur i'w cydnabod fel tywysogion Duw yn eu plith. Cafodd rhai o honoch dadau yn swyddogion yn nhŷ Dduw, ac wedi ennill iddynt eu hunain radd dda fel y cyfryw, a hyfder mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu —yn ddynion â'u clod yn yr holl eglwysi. Ac os oedd rhïeni eraill o honoch yn dlodion a chyffredin, eto yr oeddynt yn grefyddol; ac yr oedd crefydd wedi dysgu iddynt "wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon." Yr oeddynt yn ddiwyd, gonest, a glanwaith yn eu holl arferion; a chawsant yr hyfrydwch o'ch

dwyn i fyny heb bwyso ar neb, a gadael y byd gyda chymeriad mor ddiargyhoedd fel nad oes gan ddynion, pa fodd bynag, yr un anwiredd o'r eiddynt i'w gofio i'w meibion. Yn ddïau anrhydedd plant yw tadau fel hyn; ac O na ellid dyweyd fod eu plant bob amser yn goron iddynt hwythau! Fe ofala Duw am goroni eich rhïeni duwiol yn y nef; edrychwch chwi am fod yn goron i'w coffadwriaeth hwy ar y ddaear. O'u rhan hwy, mae cymeriad llawer o honoch chwi yn dragywyddol ddïogel. Buont yn anrhydedd i chwi yn eu bywyd ac yn eu hangeu, ac y maent bellach yn nghadw o dan seliau y bedd, tu hwnt i bosiblrwydd eich gwaradwyddo. Ond nid felly eu coffadwriaeth hwy; mae hwnw eto, o herwydd ei gysylltiad â chwi, yn agored i anmharch. Mae yn anmhosibl i chwi ymadael o ffyrdd duwioldeb, a gwrthod Duw eich tadau, heb eu gwaradwyddo hwy, a dwyn anfri ar y cymeriad hwnw ag y buont hwy yn ofalus i'w gadw yn ddifrycheulyd, a'r hwn, o herwydd ei gysylltiad â gogoniant Duw, ydoedd yn nês at eu calonau na'u bywydau.

Pan y byddo duwioldeb plentyn yn tòri allan mewn tymher ac ymddygiadau hoffus a chymeradwy—ei glod yn rhedeg drwy bob sefyllfa y bu ynddi, o'r aelwyd, yr ysgol, a'i brentisiaeth, hyd oni ymsefydlo fel aelod defnyddiol o gymdeithas—mae hwn yn anrhydedd i'w rïeni. Bydd eu henwau mewn bri ynddo ger bron y byd, a'u coffadwriaeth yn perarogli yn ei fywyd pan y byddont yn y bedd. Mae y gobaith am hyn yn orfoledd mawr i rïeni. "Bydd ddoeth, fy mab," medd y tad duwiol, "a llawenycha fy nghalon, fel y gallwyf ateb i'r neb a'm gwaradwyddo." Fel pe dywedasai, 'Os byddi di yn cyfeiliorni, myfi a gaiff fy meio. Mae llawer yn barod i gondemnio fy null yn dy fagu. Dywedant fod yr athrawiaeth yr wyf yn ddysgu i ti yn athrawiaeth ddrwg, a bod fy ffordd o dy lywodraethu yn annoeth. Yn ngolwg rhai yr ydwyf yn rhy lym, a chan eraill yn rhy dyner. Nid yw fy ymdrech i goethi dy feddyliau, ac i'th arfer i iawn drefnu dy ddiwyg corfforol, ac i hoffi yr hyn sydd lân, destlus, a hawddgar ymhob peth, yn eu barn hwy, ddim amgen na meithrin balchder dy galon a chydymffurfiad ynot â'r byd hwn. Yn eu tyb hwy yr ydwyf yn dy ddwyn i fyny yn uwch na'th sefyllfa, a daroganant fy mod, yn y diwedd, yn sicr o gyfarfod â chwerwder oddiwrthyt. Mae plant crefyddwyr, meddant, yn waeth na phlant

neb. Bydd ddoeth, fy mab, fel y gallwyf ateb iddynt. O mor llawen a fyddaf o dan bob cyhuddiad, os gallaf gyfeirio atat ti fel fy llythyr canmoliaeth, a dwyn dy dymher gristionogaidd, a'th fywyd pur, yn brofion i'r gwrthwyneb.' Nid oes dim ammheuaeth nad ydyw plant rhinweddol fel hyn yn amddiffyn i'w rhïeni rhag llïaws o enllibiau. Maent yn llawer o help iddynt i fod yn ofn i weithredoedd drwg, ac i geryddu beïau mewn rhai eraill, ac felly ychwanegant at eu cymhwysder a'u grym i bob gwasanaeth. Os gelwir hwy i swyddau goruchel, pa un bynag ai yn y wlad ai yn yr eglwys, mae plant ffyddlawn yn anhebgorol i'w hanrhydedd a'u llwydd yn y cyfryw amgylchiadau. "Gwŷn fyd y gŵr a lanwodd ei gawell saethau â hwynt; nis gwaradwyddir hwy pan ymddyddanant â'r gelynion yn y porth."

Os bydd gŵr ieuanc yn hynodi ei hun unrhyw ffordd, mae ei rïeni yn sicr o gael cyfran o'i hynodrwydd, pa un bynag ai gogoniant ai gwarth a fyddo. Y peth cyntaf yn gyffredin a wneir fydd ymholi ynghylch ei deulu. "Mab i bwy wyt ti, y gŵr ieuanc?" meddai Saul wrth Dafydd, pan y safai o'i flaen, â phen y Philistiad yn ei law. A phwy na ddymunasai fod yn lle ei dad yr amser hwnw, pan yr atebai yr arwr ieuanc, â llygad holl Israel arno, "Mab i'th was Jesse y Bethlehemiad!" Mae coffa da yn y Bibl yn fynych am deuluoedd ag a fuasent, mae yn debyg, yn guddiedig byth oni buasai cysylltiad â phlentyn doeth a rhinweddol. Dywedir fod Eliacim, fab Hilciah, yn orseddfa gogoniant i dŷ ei dad, a holl ogoniant tŷ ei dad, hil ac eppil, yn crogi arno. Yr oeddynt oll, dybygid, wedi eu dwyn i fri trwy eu perthynas â'r gŵr enwog hwnw. Yn eu cysylltiad â Timotheus, fe ddaeth ei fam, a'r hen wraig, ei nain, i sylw parchus; ac fe fydd eu henwau yn adnabyddus, a'u coffadwriaeth yn fendigedig yn yr eglwys, hyd ddiwedd y byd. "Wele, o hyn allan," meddai Mair, "yr holl genedloedd a'm geilw yn wynfydedig." Os gofynir, Paham? digon yw ateb—"Mair, mam yr Iesu!"

O blant, edrychwch chwithau am fod yn anrhydedd i'ch rhïeni, yn enwedig chwychwi a gafodd rïeni duwiol. Mae pendefigion y byd hwn yn fawr am barhâd urddas eu teuluoedd; berwa eu gwaed yn nghalonau eu hiliogaeth; ac y mae cofio eu bonedd a'u mawrhydi yn eu cymhell i ymdrechu am ragori yn rhinweddau eu henafiaid. Meddyliwch chwithau yr un modd am dduwioldeb

eich rhïeni. Ymdrechwch am fod yn llawenydd iddynt yn eu bywyd, ac yn goron i'w coffadwriaeth ar ol eu marwolaeth. Pob tro, pob sylw o'r eiddynt, a wnaeth argraff ddaionus ar eich meddyliau, cofiwch am danynt, a hysbyswch hwynt i'ch plant chwithau, fel y dysgoch hwynt o'u mebyd i deimlo yn dyner a pharchus tuag at eu henafiaid duwiol. Os oedd y byd yn eu gofyn o ddim pan ymadawsant o hono, atebwch drostynt. Cyflawnwch eu holl addunedau, a thelwch eu dyledion. Hyd y mae ynoch chwi, na chaffed un cwmwl orphwys ar eu coffadwriaeth ar ol eu claddu. Darfu iddynt hwy eich cyflwyno i'r Arglwydd yn eich mabandod, a buont yn ffyddlawn i balmantu llwybr ufudddod o'ch blaen. Anrhydeddwch hwy trwy ddilyn eu ffydd. Nac ymadewch â Duw eich tadau, â ffyrdd eich tadau, nac ychwaith, heb achosion pwysig, â'u hen gymdeithion crefyddol, nac â'r cymundeb yn yr hwn y byddai eich tadau yn arferol o addoli. Ond ymhob dim, càn belled ag yr oeddynt hwy i Grist, byddwch ddilynwyr iddynt hwy, y rhai drwy ffydd ac amynedd sydd yn etifeddu yr addewidion.

II. Cymhelliadau i'r ddyledswydd hon.

1. *Mae y peth yn gyfiawn ynddo ei hun.* "Blant, ufuddhewch i'ch rhïeni," medd yr apostol, "canys hyn sydd gyfiawn."

Mae naturiaeth ei hunan yn dysgu pob crëadur i ymserchu yn y rhai sydd yn ei feithrin; ac y mae rheswm a chydwybod dyn yn dwyn tystiolaeth o gyfiawnder y peth. Fe'i cydnabyddir yn nghyfreithiau teyrnasoedd y byd; ac nid yw byth yn colli o blith plant dynion hyd onid elo cymdeithas yn fwy llygredig na chyffredin. Felly yr ydys yn cymeryd y mater, weithiau, yn ganiatäol yn y Bibl, ac yn galw dynion i ymddwyn tuag at Dduw yn gyffelyb ag y tybir fod plant yn ymddwyn tuag at eu rhïeni. "Mab a anrhydedda ei dad, a gweinidog ei feistr; ac os ydwyf fi dad, pa le mae fy anrhydedd? ac os ydwyf fi feistr, pa le mae fy ofn?" "Ni a gawsom dadau ein cnawd i'n ceryddu," medd Paul, "ac a'u parchasom hwy; onid mwy o lawer y byddwn ddarostyngedig i Dad yr ysbrydoedd, a byw?" Y cyfryw ydyw tystiolaeth cydwybod y byd o gyfiawnder y ddyledswydd hon, fel ag y mae yn hen arferiad ymysg dynion i ddefnyddio yr enwau *tad* a *mam* fel arwyddion cyffredin o gariad a pharchedigaeth. Dyma fel y cyfarchai Dafydd y brenin Saul, a'r gweision Naaman y Syriad.

"Fy nhad, fy nhad!" llefai Eliseus ar ol Elias. A'r un modd y mae yr apostol Paul, wrth anerch Ruffus a'i rïant teilwng, yn ei galw hi, "ei fam ef a minnau." Nid yw y rhinwedd hwn byth yn llwyr ddiffodd o'r fynwes ddynol hyd nes y cyrhaeddo ei hannuwioldeb i addfedrwydd mawr. Mae ei absennoldeb yn un o argoelion amser diwedd anwiredd. Pan y byddo argaeau natur yn dechreu ymollwng o flaen ymchwydd drygioni, gellir ofni, yn wir, bod ei fesur wedi ei gyflawni, a bod dinystr cymdeithas ei hunan wedi nesâu. "Canys mab," medd y prophwyd Micah, "a anmharcha ei dad, y ferch a gyfyd yn erbyn ei mam, a'r waudd yn erbyn ei chwegr: a gelynion gŵr yw dynion ei dŷ. Dydd dy wylwyr a'th ofwy sydd yn dyfod; bellach y bydd eu penbleth hwynt." Yr ydym yn hyderu nad yw llygredigaeth ieuenctyd ein gwlad ddim wedi cyrhaeddyd i'r graddau yma. Yn nghanol llawer o afrywiogrwydd tymher, yr ydych eto yn teimlo tynerwch tuag at eich rhïeni. Meithrinwch hyny yn eich mynwesau yn ofalus. Bydded meddwl goleuedig yn llygad, a dwfn argyhoeddiad o'ch rhwymedigaeth yn rym iddo; ac yn hytrach na rhoi lle i un dychymyg i lettya yn y galon ag a fyddo yn tueddu i'w suro tuag at eich rhïeni, bydded i bob bryd a theimlad o'r fath gael eu gwylio gyda phob eiddigedd, a'u darostwng càn gynted ag yr ymgynhyrfont.

Dïau mai cyfiawn iawn yw anrhydedd oddiwrthych i'ch rhïeni. Eich rhïeni ydynt, cofiwch, trwy ba rai y derbyniasoch eich galluoedd, ac yn mynwes pa rai y cawsoch nodded ac ymgeledd pan yn fabanod egwan. Eu llygaid hwy a fu yn gwylio drosoch, a'u dwylaw hwy fuont ddiwyd i'ch cynnal. Ar bob pryd, yr oedd eu clustiau yn agored i'ch llefain. O mor fynych y buont yn gweini arnoch mewn amgylchiadau cyfyng, ac yn canu caniadau i'ch difyru gyda chalonau trist! ac fel hyn, heb wybod dim oddiwrth gystudd y fynwes a'ch cofleidiai, yr ymollyngech chwi i huno yn dawel, gan adael y cur a'r pryder iddynt hwy. Y fath swm anfeidrol o ofal a wariwyd arnoch, cyn i chwi gyrhaedd yni gorwyllt ieuenctyd! a pha faint o ofal a fu drachefn i droi yr yni hwnw yn rhywbeth heblaw gallu i chwi i ddyfetha eich hunain? "Buom y dydd," gallai eich rhïeni ddywedyd, "y gwrês a'n treuliodd, a'r rhew y nos, a'n cwsg a giliodd oddiwrth ein llygaid." A oes i chwi alluoedd cryfion? Fe'ch cynnysgaethwyd â hwy

gan yr Arglwydd drwy eich rhïeni. A ydych chwi wedi eich sefydlu mewn arferion da? Ffrwyth doethineb a llafur didòr eich rhïeni ydyw hyny. Ac os anrhydeddwyd chwi yn eich mebyd â gradd o amaethiad meddwl a manteision gwybodaeth grefyddol a chyffredin, cofiwch, attolwg, pwy a fu yn eich egwyddori, ac yn talu, hwyrach, o'u prinder, am eich dysgeidiaeth, ac felly, drwy eich arwain at bleserau o natur mwy coethedig, a fuont yn offerynau i ychwanegu at urddas eich cymeriad a defnyddioldeb eich oes, ac i'ch gwneuthur yn llai o gaethweision i'ch blysiau corfforol. Ië, os ydych wedi eich gwneuthur yn gyfranogion o ras y bywyd, o bosibl mai gweddïau ac addysgiadau eich rhïeni duwiol a ddefnyddiodd yr Arglwydd fel moddion i gynnyrchu hwnw yn eich calonau. I rai o honoch mae eich rhïeni yn rhïeni dyblyg: yn y cnawd ac yn yr Arglwydd hefyd. Cofiwch eich rhwymedigaeth. Yr ydych yn eu dyled, nid am ryw gymwynasau cyffredin yn unig, megys ag yr ydych i eraill, ond "am danoch eich hunain hefyd," fel ag y dywed yr apostol wrth Philemon, a hyny mewn ystyr naturiol ac ysbrydol. Pwy ydych ond eich rhïeni wedi eu llïosogi! Y "myfi" yr ydych yn sôn am dano, ydoedd unwaith ynddynt hwy, ac o honynt a thrwyddynt y deilliodd efe i chwi. Buont yn gweithredu tuag atoch, a thuag at Dduw yn eich achos, pan nad oedd genych chwi na deall nac ewyllys i'w hymarfer o'r eiddoch eich hunain. O dan eu haddysgiadau, ac yn eu gweddïau, yr ydych yn cael eich hunain er pan ydych yn cofio dim; ïe, mae yn bosibl, fod eu duwioldeb wedi gosod rhywbeth o'u heiliw ar eich hysbryd cyn côf genych chwi. Yn nesaf at hawl eich Crëawdwr, chwi a ellwch fod yn sicr, fod hawl eich rhïeni i'ch cariad a'ch edmygedd yn arbenigol, ac yn sefyll wrtho ei hun.

2. *Mae anrhydeddu eich rhïeni yn ddyledswydd orchymynedig yn yr efengyl.*

Fe ofalwyd am godi y pen hwn o ddeddf natur, nid yn unig i'r lle blaenaf ar un o lechau y dystiolaeth, ond i grefydd Crist. Mae yr hen orchymyn, yr hwn oedd genych o'r dechreuad, yn awr, trwy roddiad ac esiampl y Gwaredwr, yn orchymyn newydd. Os aeth efe yn ddiwedd diddymol i orchymynion eraill, efe a fawrhäodd y pummed gorchymyn, ac a'i gwnaeth yn anrhydeddus. Nid yn unig fe'i cadwodd ef ei hunan, ond fe'i dysgodd i eraill

felly. Ni a'i cawn gydag eiddigedd sanctaidd yn ei godi o dan falurion yr hen draddodiadau Iuddewig, gan ei arddangos yn ei wir ystyr, a'i adsefydlu yn ei ddwyfol awdurdod, fel un o gyfreithiau ei dŷ. Yn ei ddysgeidiaeth ef, cartref ydyw y lle cyntaf i blentyn arfer duwioldeb ynddo; ac un o'r ymarferiadau penaf o dduwioldeb a ddysgir iddo yno, ydyw talu y pwyth i'w rïeni. Ni chaniatâ Crist i chwi, dan rith o gysegru eich meddiannau at achos Duw, fod yn ddiystyr o honynt hwy. Mae yn dynoethi y cyfryw esgusodion rhagrithiol yn ei ymddyddan â'r Iuddewon, ac yn dangos fod yr Arglwydd yn y gorchymyn wedi gwneuthur eich rhïeni yn wrthddrychau blaenaf eich gofal a'ch caredigrwydd. Yn eu personau hwy, pan mewn nychdod ac anghen, mae Crist yn cyflwyno ei hunan yn gyntaf i'ch sylw chwi, megys mewn newyn a syched; a phe gwrthodech ei ddiwallu yma, mae lle i ofni y byddai eich haelioni at bob cangen arall o'i achos yn anghymeradwy, ac y dywedai wrthych yn y farn, "Yn gymaint ag nas gwnaethoch i un o'r rhai hyn, nis gwnaethoch i minnau." "Dysgant yn gyntaf arfer duwioldeb gartref, a thalu y pwyth i'w rhïeni." Os gallant ar ol hyny estyn eu caredigrwydd at achosion eraill, pob peth yn dda; ond yn *gyntaf* dysgant dalu y pwyth i'w rhïeni. Rhaid bod yn gyfiawn cyn bod yn hael.

Dyna, dybygem, yw ystyr cristionogaeth ar y pwnc hwn. Ac yn wir, y mae ei gwersi yn dda a thêg yn ngolwg rheswm ei hunan; ac am hyny y dywed yr apostol fod y proffeswr, yr hwn sydd yn gwrthod darpar dros yr eiddo, "yn gwadu y ffydd, ac yn waeth na'r di-ffydd." Mae yn esgeuluso dyledswyddau ag y mae natur a chrefydd yn cytuno i'w cymhell arno, ac yn waeth yn ei ymddygiadau na llawer o'r paganiaid. Yr un modd, yn ein testun, mae Paul yn cymhell y ddyledswydd hon arnoch fel un o ddyledswyddau cristionogaeth:—"Blant, ufuddhewch i'ch rhïeni *yn yr Arglwydd*," sef, am fod Crist, yn yr efengyl, yn ceisio hyn oddiar eich llaw. Mae y cyfan ynddo ef a'i grefydd yn eich galw i'r ddyledswydd yma. Ei awdurdod, ei esiampl, ei ddaioni, a'i ogoniant, ydynt yn eich cydgymhell i'w chyflawni. Pa bryd bynag, gan hyny, y temtir chwi i'w hesgeuluso, a phwy bynag a wnelo hyny, gellid dywedyd, "Y cynghor hwn nid yw oddiwrth yr hwn sydd yn eich galw chwi. Nid felly y dysgasoch Grist; os bu i chwi ei glywed ef, ac os dysgwyd chwi ynddo, megys y mae y

gwirionedd yn yr Iesu." Ynddo ef, mae y gwirionedd yn eich dysgu yn gwbl wahanol, sef, i fod yn ostyngedig i'r henuriaid, ac yn ufudd i'ch rhïeni. Ac os yw y ddysgeidiaeth yma yn effeithiol, mae yn peri i chwi ddodi heibio bob tymher wrthwyneb, a gwisgo yr ysbryd o'r hwn y tardd yr holl ymddygiadau grasusol a gymhellir arnoch yn athrawiaeth ac esiampl y Gwaredwr. Ymarferwch eich hunain, gyfeillion ieuainc, i dduwioldeb yn y pethau hyn. Chwi a gewch, ond odid, lawer o demtasiynau oddiwrth eich rhïeni i'ch cyffroi i ysbryd ac ymddygiadau gwrthwyneb. Ond cofiwch awdurdod Duw, ac ymnerthwch yn y gras sydd yn Nghrist Iesu, a chyflawnwch eich dyledswyddau tuag atynt hwy yn symlrwydd eich calon, megys i'r Arglwydd, ac nid i ddynion. Os ydych yn teimlo eich tynerwch naturiol yn dechreu adfeilio trwy gryfhâd llygredigaeth, ac awdurdod eich rhïeni yn myned yn fwy dieffaith ar eich calonau, y mae cariad Crist eto yn effeithiol i'ch cymhell. Efe a anrhydeddodd y pummed gorchymyn yn ei fywyd, ac a fu farw o dan felldith troseddiadau pechaduriaid o hono, fel y maddeuid iddynt eu hanwiredd, ac yr ysgrifenid ef drachefn yn eu calonau. Mae ffydd ynddo ef yn adnewyddu yr enaid, yn darostwng gwyniau gwrthryfelgar ein natur, ac yn impio ei rinweddau, anmherffaith a gwywedig, i wreiddyn lle maent yn tyfu i ogoniant Duw, ac yn troi yn rhai o ffrwythau mwyaf dewisol yr Ysbryd.

3. *Mae anrhydeddu rhïeni yn un o'r dyledswyddau mwyaf cymeradwy gan yr Arglwydd.* "Canys hyn," medd yr apostol, "sydd yn rhyngu bodd i'r Arglwydd yn dda."

Heb ffydd, mae yn wir, anmhosibl yw rhyngu ei fodd Ef. Mae hon yn anghenrheidiol er derbyniad eich personau a'ch gwaith; ond o'r holl rinweddau y mae ffydd yn Nghrist yn eu cynnyrchu yn nghalon gŵr ieuanc—o holl ddyledswyddau duwioldeb—nid oes yr un o dan nôd uwch o gymeradwyaeth gyda Duw na pharch i rïeni. Yr wyf yn gweled fod tair dyledswydd yn cael eu harganmawl yn arbenig yn y Bibl: addoli Duw—tymher elusengar—a serch i rïeni. Caru yr Arglwydd ein Duw â'r holl galon yw y gorchymyn cyntaf, a'r gorchymyn mawr. Yr oedd hyn yn fwy na'r holl boeth-offrymau a'r aberthau (Psalm l. 14; a lxix. 31). Am haelioni, drachefn, y mae dan uchel gymeradwyaeth yn yr ysgrythyrau (Heb. xiii. 16; a Phil. iv. 18). Ond o bob tymher

rinweddol, nid oes yr un yn fwy bendigedig a boddlawn gan yr Arglwydd na thymher ostyngedig a serchog plentyn tuag at ei dad a'i fam. Dywedir fod pethau eraill yn dda, yn gymeradwy, ac yn rhyngu bodd Duw. Ond am y dymher hon, a'r ymddygiadau sydd yn deillio oddiwrthi, dywedir eu bod yn "*rhyngu bodd i'r Arglwydd yn dda—yn dda a chymeradwy ger bron Duw.*" Felly fe gyhoeddwyd y gorchymyn hwn gyda rhyw nôd o ragoriaeth yn y dechreuad. Nid yn unig efe yw y cyntaf ar yr ail lech, ond efe hefyd yw y cyntaf, neu yr unig un, a roddwyd mewn addewid. Gan nad oes dim addewid wrth yr un arall, mae y gair "cyntaf," o bosibl, yn arwyddo, "y mwyaf." Y cyntaf o'r cwbl yw, "Ti a geri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon;" ond o'r holl orchymynion, pa rai sydd yn golygu dyledswyddau dynion i'w gilydd, y *cyntaf*, neu y *mwyaf* yw, "Anrhydedda dy dad a'th fam," ac nid oes addewid wrth yr un arall. Mynai yr apostol i chwi graffu ar y marc hwn o gymeradwyaeth. Mae y Duw mawr wedi gosod anrhydedd eich rhïeni yn nesaf at ei anrhydedd ei hunan yn ei gyfraith sanctaidd, ac yn y gorchymyn wedi addaw bendithio y plentyn hwnw a'u hanrhydeddai. Yma yn unig y cyflwynir y wobr yn gymhelliad i ufudd-dod. Mae yn wir fod yn yr ail orchymyn grybwylliad am drugaredd; ond amlygiad cyffredinol o natur a bwriad Duw sydd yno, yn hytrach nag addewid; ac y mae hyny yn perthyn i'r holl ddeddf. Ond am y pummed gorchymyn, mae yma addewid am fendith neillduol wedi ei rhoddi, prïodol iddo ef yn unig, sef addewid am hir ddyddiau i weled daioni.

Fel hyn, dybygem, fod yr Arglwydd, mewn modd arbenig, yn dangos ei hoffder o dduwioldeb mabaidd. Bendithia efe hi wrth ei gorchymyn, a gesyd ei deiliaid dan rwymau dauddyblyg i'w hymarfer, sef, fel rhinwedd ag sydd ar unwaith yn foddlawn ganddo ef, ac yn foddion i ddwyn ei foddlonrwydd a'i fendith i orphwys arnynt hwythau. Mae plentyn yn ei glywed ef megys o ganol rhyferthwy Sinai yn dywedyd wrtho, "Anrhydedda dy dad a'th fam, fel y byddo yn dda i ti, ac fel y byddech hirhoedlog ar y ddaear." Byddwch ddyfal, gan hyny, gyfeillion ieuainc, i rodio yn addas i'r Arglwydd yn y peth hwn, i bob rhyngu bodd iddo ef. Yr ydych yn gweled fod y Brenin mawr wedi gosod hawl eich rhïeni i'ch mawrhâd a'ch ufudd-dod yn nesaf at ei hawliau goruchel ei hunan. Mae yn cael parch neu anmharch genych yn eu

personau hwy bob dydd. Chwi a ellwch fod yn sicr, gan hyny, mai nid gyda diofalwch y mae efe yn gwylio ar eich ymddygiadau tuag atynt. Nid oes yr un bryd anffyddlawn i'ch rhïeni yn troi o'ch mewn, er na ddelo byth yn fwriad—yr un arwydd o anmharch mewn llais, na llygad, nac un ystum corfforol—nad ydyw y Duw mawr yn eu canfod ac yn eu condemnio. Ac os yw y plentyn ufudd mor hoffus yn ei olwg ef, ac yn blaguro o dan fendith ei ragluniaeth, mae yn rhaid fod y mab cyndyn ac anufudd, o'r ochr arall, yn anghymeradwy. Pa mor dêg bynag yw ei gychwyniad yn y byd, a'i obeithion dyfodol, mae melldith ei ffyrdd yn debyg o'u difa; mae ei ymddygiadau yn ysgeler yn ngolwg Duw, a'i berson yn esgymunedig, ac y mae yn aml yn syrthio i angeu anamserol. "Llygad yr hwn a watwaro ei dad, ac a ddiystyro ufuddhâu i'w fam, a dŷn cigfran y dyffryn, a'r cywion eryrod a'i bwyty."

4. Er eich cymhell i ymhelaethu yn y rhinwedd hwn, caniatewch i mi ddwyn ar gôf i chwi *y cysur a ddŵg hyny i'ch rhïeni.*

"Mab doeth," medd Solomon, "a wna dad llawen, a mab ffôl a dristâ ei fam." Peidiwch ag edrych ar hyn yn beth diystyr, bobl ieuainc; oblegid nid felly mae yr Arglwydd yn edrych arno yn y Bibl. Yno mae cysur rhïeni beunydd yn cael ei ddefnyddio ganddo ef fel dadl gydag ieuenctyd, i'w cyffroi i wylio yn erbyn pob drwg, ac i ymdrechu am ragori mewn duwioldeb a rhinwedd. Mae yn wir fod y ddoethineb, neu y grefydd, a gymhellir arnoch yn y gair, yn cynnwys mwy na pharch ac ufudd-dod i'ch rhïeni; ond yn hyn, er hyny, y mae yr ymarferiad o honi tuag atynt hwy yn gynnwysedig yn benaf. Ac yn nesaf at eu crefydd eu hunain, nid oes dim a ddŵg fwy o foddlonrwydd i'w meddyliau. Mae ysbryd ufudd-dod a lledneisrwydd mewn plentyn yn llawenydd i'w rïeni ar bob golygiad. Mae yn hyfryd iddynt hwy, ac yn ddaionus iddo yntau. Megys ag y mae ysbryd taiog ac anufudd tuag at rïeni yn arwain, yn gyffredin, i bob drwg, felly, i'r gwrthwyneb, pan fyddo tymher ostyngedig ac ymddygiadau parchus tuag atynt hwy, a phawb o'i well, yn hynodi dyn yn ei ieuenctyd, y mae ar ben y ffordd i bob daioni, ac yn aml, yn rhag-arwydd o enwogrwydd a llwyddiant dyfodol. Mae gweled, gan hyny, eu plentyn fel hyn, âg etifeddiaeth mor dêg o'i flaen, yn gysur mawr i rïeni; a chyda hyder, maent yn ei fendithio, gan ddadgan

eu cymeradwyaeth o'i ffyrdd ger bron yr Arglwydd, a'i gyflwyno i'w sylw yn eu gweddïau fel gwrthddrych prïodol yr addewid yn y pummed gorchymyn. Yn gysur mawr, meddwn, oblegid nis gall dim a'u cyfarfyddo o'r parth hwn fod yn fychan. Pa un bynag ai cysur ai gofid a gânt oddiwrthych chwi, chwi a ellwch fod yn sicr y bydd efe yn fawr. Os drwg a ddygwydd oddiyma, mae yn ddrwg iawn; ac os da, mae yn dda iawn; oblegid mae eu heneidiau mor glymedig wrthych, a'u gobeithion yn gorphwys cymaint ynoch. O barth iddynt eu hunain yn bersonol, maent yn gweled, yn enwedig wrth heneiddio, fod eithafnod eu heinioes wedi ei gyrhaeddyd—dysg, talent, a'r cwbl o'r eiddynt hwy, wedi dyfod i'w eithaf. Od oes gan hyny ddim anrhydedd mwyach yn eu haros, naill ai yn y byd ai yn yr eglwys—od yw eu crefydd a'u defnyddioldeb i adflaguro, mae yn rhaid i hyny fod trwy *eu hail hunaïn*, hyny yw, trwy eu plant a'u hiliogaeth. Ac am hyny, megys y dywedir am weision Benhadad pan ger bron Ahab, maent "yn dysgwyl yn ddyfal a ddaw dim oddiwrthych chwi," ac yn barod "i gipio ar frys" yr awgrymau lleiaf am ddaioni. Gallant ddywedyd wrthych fel yr apostolion wrth yr eglwysi, "Byw ydym ni os ydych chwi yn sefyll yn yr Arglwydd, anwylyd. Mwy llawenydd na hyn nid oes genyf, sef cael clywed fod fy mhlant yn rhodio mewn gwirionedd."

Felly pan mae yr Arglwydd yn addaw dedwyddwch i'w bobl yn y bywyd hwn fel gwobr ufudd-dod, ac arwydd o'i gymeradwyaeth i'w duwioldeb, mae plant da a llwyddiannus ymysg y pethau cyntaf a addawa efe iddynt. "Wele, plant," medd y Salmydd, "ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd; ei wobr ef yw ffrwyth y groth." Pa ffafr well a ddichon fod na hon? bod i'r Duw da yn gyntaf wneyd plant ei bobl yn etifeddiaeth iddo ei hun, ac ynddo ei hun eu dwyn i etifeddu pob peth; ac yna, wedi eu bendithio a'u henwogi felly, eu rhoddi fel etifeddiaeth a gwobr i'w rïeni duwiol, hyny yw, gwobr eu ffyddlondeb a'u crefydd. Yn ddïau, mae plentyn felly yn etifeddiaeth dêg. "Gwŷn ei fyd pob un sydd yn ofni yr Arglwydd, yr hwn sydd yn rhodio yn ei ffyrdd ef. Canys mwynhëi lafur dy ddwylaw; gwŷn dy fyd, a da fydd i ti. Dy wraig fydd fel gwinwydden ffrwythlawn ar hyd ystlysau dy dŷ; dy blant fel planigion olew-wydd o amgylch dy ford. Wele, fel hyn yn ddïau y bendithir y gŵr a ofno yr Arglwydd." A phaham

fel hyn, ond am fod hyn, yn nesaf at grefydd bersonol ac iachawdwriaeth ei enaid, y dedwyddwch mwyaf a all dyn duwiol ei fwynhâu? Mae yntau, wrth weddïo am foddlonrwydd y Goruchaf arno, â'i lygaid ar yr un hapusrwydd. Yr oedd hyn yn ngolwg y Salmydd wrth weddïo am nodded Duw dros y wlad (Psalm cxliv.): "Fel y byddo ein meibion fel plànwydd;" nid yn unig, "fel y byddo ein celloedd yn llawn yn trefnu pob ryw luniaeth, a'n defaid yn dwyn miloedd a myrddiwn yn ein heolydd,"—mae hyny yn gysurus; ond, "fel y byddo ein meibion fel plànwydd yn tyfu yn eu hieuenctyd, a'n merched fel conglfaen nâdd wrth gyffelybrwydd palas. Gwŷn eu byd y bobl y mae felly iddynt: gwŷn eu byd y bobl y mae yr Arglwydd yn Dduw iddynt."

Mae yr un peth drachefn yn dyfod i'r golwg yn annogaethau rhïeni duwiol i'w teuluoedd. Maent yn siarad megys rhai ag a fyddai yn teimlo fod cysur eu bywyd ynglŷn wrth lwyddiant eu plant. Os byddant hwy yn resynus, gallant ddywedyd fel Rebeccah, "I ba beth y chwennychem ein heinioes?" Mae Solomon, yn llyfr y Dïarebion, wedi dwyn allan galon eu calonau hwy yn yr achos hwn; ac erioed, dybygem, ni bu appeliadau mwy toddedig a chynhyrfus. A ellwch chwi eu gwrthsefyll, bobl ieuainc? Gwrandewch arnynt: "Bydd ddoeth, fy mab, a llawenycha fy nghalon, fel y gallwyf ateb i'r neb a'm gwaradwyddo. Fy mab, os dy galon di fydd doeth, fy nghalon innau a lawenycha; ïe, fy arenau a grychneidiant pan draetho dy wefusau di gyfiawnder. Gwrandaw ar dy dad a'th genedlodd, ac na ddiystyra dy fam pan heneiddio. Prŷn y gwir, ac na werth; felly doethineb, ac addysg, a deall. Tad y cyfiawn a orfoledda yn fawr; a'r neb a genedlo fab doeth a lawenhâ o'i blegid. Dy dad a'th fam a lawenycha; a'r hon a'th ymddŷg a orfoledda." Dyma fi, fel pe dywedai y tad duwiol, ar ben fy nigon. Wele fy nymuniadau wedi eu cyflawni, fy rhai anwyl yn fendigedig, a minnau yn mwynhâu ffrwyth fy ymdrechiadau gyda hwy mewn ufudd-dod ac anrhydedd oddiar eu dwylaw, a'm Duw yn cael ei ogoneddu yn y cwbl. "A pha beth mwyach a ddywed Dafydd ychwaneg wrthyt? canys ti a adwaenost dy was, O Arglwydd Dduw." O'r ochr arall, fe wyddys, pan y mae plant yn troi allan yn gyndyn a drygionus, fod hyny yn molestu calonau rhïeni yn fwy na dim. "Fe allai yr edrych yr Arglwydd ar fy nghystudd i," medd brenin Israel. Dy gystudd

di, Dafydd, pa beth yw hwnw? Ai Simei y Benjaminiad yn melldithio? Ah, mae yn drymach na hyny heddyw! Wele fy mab, yr hwn a ddaeth allan o fy ymysgaroedd i, yn ceisio fy einioes: "O! fy mab, Absalom! Absalom, fy mab, fy mab!"

O ddynion ieuainc, gwelwch bwysigrwydd eich sefyllfa. Y fath dynged sydd yn ymddibynu ar eich ymddygiadau! Mae yn eich gallu fod yn heddwch neu yn gleddyf yn esgyrn eich rhïeni. Trwy un weithred anfad y darfu llawer bachgen, yn fynych, ddyfetha cysur ei rïeni dros weddill eu hoes; a llawer mwy, drachefn, sydd wedi bod megys cancr yn eu holl gysuron, yn eu hysu yn raddol ac yn ddirgel yn ystod blynyddau o angharedigrwydd. Yr ydym yn eich tynghedu, gan hyny, od oes un wreichionen o iawn deimlad tuag at eich rhïeni heb ddiffoddi yn eich mynwesau, cyflawnwch eu llawenydd hwy. Bydded tynerwch at eu teimladau, a gofal am eu hapusrwydd, yn cydweithio mewn undeb âg ystyriaethau uwch, i'ch sefydlu mewn ymddygiadau caruaidd a da tuag atynt. Mae y gwrthwyneb nid yn unig yn anrasol ond yn annaturiol. Pa faint bynag o ddiffygion oedd yn nghymeriad Saul mab Cis, eto fe wyddai hwnw pa fodd i fod yn dyner tuag at y tynerwch sydd yn nghalon tad at ei blentyn. Nid "allan o olwg allan o feddwl" oedd hi gydag ef. Mae llawer bachgen o Gymro yn cymeryd ei aden oddicartref, a hyny wrth ei fympwy ei hunan; ac fel cigfran Noah, oddieithr bod gwasgfa yn dyfod arno ef ei hun, nid yw bron byth yn dychwelyd eilwaith, nac yn anfon gair o'i helynt i'w rïeni pryderus. Nid felly Saul: ar neges ac wrth air ei dad y cychwynodd ef oddicartref, ac y mae yn gofalu am frysio yn ei ol rhag bod yn ofid i'w deimladau. "Tyred a dychwelwn," medd efe wrth ei lanc, "rhag i'm tad beidio â'r asenod, a gofalu am danom ni." Yr un modd am Judah mab Jacob. Yr oedd hwn yn barod i ddwyn tynged ei frawd Benjamin yn ei le ef, er mwyn arbed teimladau ei dad. Yn ei ddadl am hyny ger bron Joseph, mae yn dangos tynerwch hwnt i gymhariaeth. "Tydi," meddai, "a ymofynodd yn y dechreu a oedd i ni dad neu frawd. Ninnau a ddywedasom wrth fy arglwydd, Y mae i ni dad, yn hen ŵr, a phlentyn ei henaint ef, un bychan; a'i frawd a fu farw, ac efe a adäwyd ei hunan o'i fam ef, a'i dad sydd hoff ganddo ef. A phan y gorchymynaist i'th weision ei ddwyn ef yma, mae yn gofus genyt i ni ddywedyd yr amser hwnw, Y llanc ni ddichon ymadael

â'i dad; oblegid os ymedy efe â'i dad, marw fydd ei dad. Ac yn awr, os awn ni i fyny hebddo ef, nid oes dim ammheuaeth yn fy meddwl i *nad marw a fydd efe;* yn wir, mae ei hoedl ef ynglŷn wrth ei hoedl yntau. Gan hyny weithian, attolwg, arosed dy was dros y llanc yn was i'm harglwydd; ac aed y llanc i fyny gyda'i frodyr. Oblegid pa fodd yr äf i fyny at fy nhad, a'r llanc heb fod gyda mi! rhag i mi weled y gofid a gaiff fy nhad." Dyma i chwi esiampl, fechgyn Cymru. O! y fath ffrŵd o hyawdledd celfydd! Nid oes ond bachgen yn teimlo yn dyner tuag at ei rïeni yn alluog i lefaru fel hyn.

Yn nesaf at ofn Duw, ddynion ieuainc, meithrinwch y tynerwch hwn yn eich calonau. Ni a ddymunem i chwi allu cyfarfod â'ch holl demtasiynau wedi ymarfogi â'r ddau gwestiwn yma: Pa fodd y gwnaf y mawr ddrwg hwn a phechu yn erbyn Duw? A thrachefn: Pa fodd, rhag i mi weled y gofid a gaiff fy nhad? Bydd tymher fel hyn yr un mor ddïogel i chwi a chysurus i'ch rhïeni. Pa fodd, medd y plentyn grasol, yr ymbrïodaf fi â'r annuwiol, a gwerthu fy ngenedigaeth fraint, rhag i mi fod yn chwerwder ysbryd i'm rhïeni? Yn help Duw, mi a ymgadwaf o ffyrdd y brofedigaeth, ac a ymlynaf wrth y gair ac ordinhadau yr efengyl, "rhag i mi weled y gofid a gaiff fy nhad." Byddaf yn onest yn fy holl ymdrin, yn sobr a diwair yn fy holl arferion, "rhag i mi weled y gofid a gaiff fy nhad." Fy nhad, yr hwn a lawenychai ar fy ngenedigaeth, ac oedd yn barod i brophwydo uwch fy mhen fel Lamech am Noah, "Hwn a'n cysura ni:" O Dduw, cadarnhâ fy mwriad i beidio a siomi ei ddysgwyliadau ef; ac na fydded i unrhyw gamymddygiad o'r eiddof drallodi ei ysbryd, na phrysuro ei benwyni i'r bedd mewn tristwch!

5. Yr ystyriaeth olaf sydd genym i'w chyflwyno fel annogaeth i anrhydeddu rhïeni ydyw, *fod hyn yn foddion i ddwyn daioni ar y plentyn ei hunan.* "Fel y byddo yn dda i ti, ac fel yr estyner dy ddyddiau ar y ddaear, yr hon y mae'r Arglwydd dy Dduw yn ei rhoddi i ti."

Mae y gorchymyn, fel y clywch, wedi ei roddi mewn addewid, ac y mae cyflawni y naill yn dwyn y plentyn o dan obaith y fendith a gynnwysir yn y llall, oblegid i'r cyfryw y mae hi wedi ei gwneuthur. Er ei fod yn wirionedd, dybygid, fod yr addewidion am fendithion tymmorol yn fwy pendant yn yr Hen Destament

na'r Newydd, eto nid yw hyny ddim yn profi nad ydynt yn perthyn i'r naill gystal a'r llall. Na, yn hytrach, gallem feddwl fod addewidion ysbrydol y Testament Newydd wedi eu chwanegu at yr addewidion am bethau tymmorol o dan yr Hen, ac felly fod gan dduwioldeb bellach, yn fwy eglur nag o'r blaen, addewid o'r bywyd sydd yr awr hon ac o'r hwn a fydd. Pa fodd bynag, nid oes dim dadl am yr addewid hon. Er fod rhywbeth yn ei geirweddiad hi, megys, "y ddaear yr hon mae'r Arglwydd dy Dduw yn ei rhoddi i ti," yn golygu y bobl i ba rai y rhoddwyd hi ar y cyntaf, eto gan fod sylwedd yr addewid yn gyffredin, mae yn perthyn i bawb fel y gorchymyn; ac y mae y coffâd o honi yma, ynghyda gwaith yr apostol yn newid y geirweddiad hwnw i ddull mwy cyfaddas at amgylchiad yr holl eglwys, yn ddigon, dybygid, i brofi hyny. Mae yn wir, am yr addewidion o bethau tymmorol, nad ydyw y cyflawniad o honynt yn sicr o dan bob amgylchiad. Rheol gyffredin Duw o ymddwyn ydyw y cyfan a ddangosir ynddynt. Eto mae gan blant ffyddlawn bob lle i obeithio y bydd i'r Arglwydd eu bendithio yn y bywyd yma; ac y mae yn sicr o wneuthur hyny i'r graddau ag y byddo llwyddiant tymmorol yn wasanaethgar i'w daioni ysbrydol a thragywyddol.

Mae y cymhelliad hwn, gan hyny, yn dyfod yn nês at eich calonau na'r un blaenorol. Yno yr oeddem yn appelio at eich tynerwch, ac yn eich galw i ufudd-dod er mwyn eich rhïeni, ond yma er eich mwyn eich hunain. "Anrhydedda dy dad a'th fam, fel y byddo yn dda i ti, ac fel yr estyner dy ddyddiau ar y ddaear." Gellid darllen, "fel yr estynont hwy dy ddyddiau di ar y ddaear," hyny yw, dy dad a'th fam. Trwy y rhïeni y rhoddes Duw fôd a bywyd i'r plentyn ar y cyntaf; ac os ydynt yn dduwiol mae ganddynt eto, trwy rinwedd dwyfol sefydliad, ryw allu i ddwyn arno ddaioni y bywyd hwnw, ac i estyn ei ddyddiau i'w fwynhâu; hyny yw, maent yn offerynau drwy ba rai y mae y fendith yn dyfod ar y plentyn gostyngedig. Ar eu gwaith hwy yn ei gyflwyno i sylw y Goruchaf, gan ddadgan eu cymeradwyaeth o'i ymddygiadau, a dymuno arno ei fendithio yn ol ei addewid, mae yr Arglwydd yn aml, fel y gellid dysgwyl, yn cyflawni ei air, ac yn rhoddi y fendith mewn atebiad i'w gweddïau.

Mae y fendith felly yn un ddymunol ar bob cyfrif. O ran ei natur, mae yn gynnwysedig mewn hir ddyddiau, sef "hir ddydd-

iau i weled daioni." Ac y mae yn cael ei rhoddi drachefn gan Dduw, yn ol ei addewid râsol, mewn ffordd o atebiad i weddïau rhïeni duwiol, ac fel gwobr ufudd-dod y plentyn ei hunan, gydag ewyllys da, ac fel ffrwyth cymeradwyaeth y ddwyblaid i'w dduwioldeb a'i ufudd-dod. Mae ei dad a Duw wedi bod yn ei gydfendithio cyn hyn yn ei fabandod; y naill â'i lygaid ar y cyfammod yn ei gyflwyno i'r Arglwydd, ac yn dymuno y fendith iddo; a'r llall yn cofio ei gyfammod, ac yn ei rhoddi. Bellach, mae ffrwyth hyny yn tòri allan yn anrhydedd i'r ddwyblaid; mae yn llawenychu calon dyn a Duw. Ac felly mae ei dad duwiol yn awr yn bendithio yr Arglwydd am dano, ac yn ei fendithio yntau yn enw yr Arglwydd. "Fy Nhad, yr wyf yn cymeradwyo ei dymher a'i ymddygiadau tuag ataf; y mae genyf lawer o lawenydd a dyddanwch yn ei gariad ef, ïe, mae fy ymysgaroedd yn cael eu llòni trwyddo. Ac am fy mod yn dymuno iddo fwy o ddaioni nag sydd yn fy ngallu i i'w roddi, yr ydwyf yn nesu atat ti yn ei achos, ac yn attolwg arnat, yr Hwn wyt ffynnon anhysbydd pob daioni, am ei fendithio yn ol dy addewid. Dyro oes iddo, hir oes byth ac yn dragywydd. Os da yn dy olwg, digona ef â hir ddyddiau, a dangos iddo dy iachawdwriaeth." Onid ellir gobeithio, pan y byddo rhïeni duwiol yn dyheu fel hyn yn achos eu plant, y bydd y Duw mawr yn aml yn ychwanegu ei Amen at eu gweddïau? "Bydded i ti fel yr ydwyt yn ewyllysio." Pa bryd bynag y byddo addewid a gweddi ac ansawdd meddwl cymhwys i'r fendith wedi cydgyfarfod, mae y fendith hòno, dybygid, yn sicr o ddyfod. Ac felly, tra mae yr holl felldithion ysgrifenedig yn y Bibl yn ymdòri ar ben y mab cyndyn ac anufudd—cigfran y dyffryn yn tynu ei lygaid ef ar feusydd rhyfel, a chanwyll ei gysuron yn diffoddi yn y tywyllwch du—fe fydd bendith ar ben y plentyn ufudd; ac oddieithr y bydd y Brenin mawr yn gweled yn dda ei gymeryd ef yn ebrwydd i'r nef, gellir dysgwyl ei weled ef yn fendigedig a hirhoedlog ar y ddaear.

Gwyliwch, O blant, ddiystyru bendithion eich rhïeni duwiol! Mae mwy ynddynt nag yr ydych chwi yn ei feddwl. Gall eraill gyflawni yr un dyledswyddau tuag atoch, ond nid gyda'r un awdurdod â hwy; oblegid iddynt hwy y rhoddwyd yr addewidion sydd ar eich cyfer chwi, a thrwyddynt hwy yn arbenig y maent i gael eu cyflawni. A chan eu bod yn meddu hawl eu hunain yn naioni

y cyfammod gras, ac wedi eu hordeinio i'w drosglwyddo i chwithau, mae gwerth ac effeithiolrwydd yn mendithion eich rhïeni. Ymostyngwch, gan hyny, i'w cyflawniadau megys i ordinhâd y Goruchaf. Cofiwch fod cael eu cysuro ynoch yn tueddu i ddwyn eu heneidiau allan mewn gweddïau ar eich rhan. Pan y maent yn cael achos i fendithio Duw am eich ffyrdd, dyna y pryd y maent mewn tymher i'ch bendithio chwithau; ac y mae ganddynt ddadl dêg am gyflawniad o'r addewid arnoch pan y gallant ddadgan ger bron yr Arglwydd eu cymeradwyaeth o'ch ymddygiadau, a'ch parch i'w orchymyn ef. Yn wir, y mae cyflwr y bachgen hwnw yn annedwydd, yr hwn nas gall ei rïeni roi un gair da iddo wrth orsedd gras. Maent hwy, druain, yn ei fendithio, ond nid yw efe yn fendigedig. Hyd yn nôd wrth geisio gweddïo drosto, nis gallant wneuthur un deisyfiad gyda llawenydd; mae yn rhaid cyfaddef y gwirionedd, "Ein mab hwn sydd gyndyn ac anufudd, heb wrandaw ar ein llais ni;" ac y mae yn enbyd rhag y bydd i'r ocheneidiau trymion sydd yn gymysgedig â hwy attal budd eu cyflawniadau oddiwrtho, a dwyn arno felldith ac nid bendith. Pan oedd Philip Henry unwaith yn siarad am fachgen drygionus yn y gymydogaeth, yr hwn oedd dra diystyr o'i fam, efe a orchymynodd i rai o'i blant graffu ar ragluniaeth Duw tuag at y cyfryw un. "Hwyrach," meddai, "na byddaf fi ddim byw i weled hyny, ond cymerwch chwi sylw, oni bydd i Dduw ddyfod arno ef mewn rhyw farn hynod yn y bywyd yma, yn ol y bygythiad ag sydd yn gyferbyniol i'r addewid gysylltiol â'r pummed gorchymyn." Ac felly y bu. Mae yr hanes yn dyweyd iddo ef ei hunan fyw i weled y peth yn cael ei gyflawni yn fuan ar ol hyny, trwy ragluniaeth dra nodedig. Gadawn y mater gyda dywedyd, "Fy mab, cymer rybudd oddiwrth y rhai hyn."

Wrth ddarfod, caniatäer i mi alw sylw pobl oedranus at y ddau ofyniad canlynol:—

1. *Pa fath rai a fuoch chwi fel plant?* Ystyriwch eich ffyrdd yn y glŷn; ewch yn ol càn belled âg aelwydydd eich rhïeni. A oes gan rai o honom, dybygech chwi, ddim i'w *settlo* â'r pummed gorchymyn? Mae eich rhïeni o bosibl wedi meirw; ond y mae Duw yn fyw, ac y mae eu hocheneidiau hwythau, ysgatfydd, yn ei glustiau ef, a'u dagrau yn ei gostrel, yn galw am ddïal ar eich camymddygiadau tuag atynt. Gwyliwch, rhag y bydd yr Arglwydd

eto, trwy ystyfnigrwydd eich plant eich hunain, yn mesur eich hen weithredoedd i'ch mynwes, ac yn gwneyd i chwi feddiannu pechodau eich ieuenctyd. Mae yn gofus genym ddarllen am un tad, yr hwn pan oedd ei fachgen yn ei anmharchu, a waeddai, "Paid a'm llusgo i ymhellach na rhiniog y drws; oblegid pan oeddwn i yn fachgen, hyd yno y llusgais i fy nhad, yr hen ŵr dy daid di." O y mae llawer tad a mam, fel hyn, yn gorfod darllen eu hen wrthryfel eu hunain yn ymddygiadau eu plant, a chyda chwerw adgofion yn cyfaddef, "Fel y gwnaethum, felly y talodd yr Arglwydd i mi!" O rïeni, holwch eich hunain yn wyneb y gorchymyn hwn. Ymostyngwch o herwydd eich anghydffurfiad cyffredin â'i ysbryd, ac am bob trosedd neillduol o hono, ag sydd yn gofus genych, a gweddïwch am faddeuant trwy aberth Crist: 'Na chofia bechodau fy ieuenctyd, na'm holl gamweddau, a dyro ras i mi fod yn well dyn ymhob perthynas yr wyf yn sefyll ynddi yn awr nag a fûm yn y perthynasau hyny âg y mae angeu wedi fy nyosg i o honynt. Os ydwyf wedi bod yn rhy euog o fod yn chwerw wrth fy mam, achub fi rhag bod felly wrth fy ngwraig; ac os bûm i yn oerllyd ac anhydyn ar aelwyd fy rhïeni, dymunwn gyda galar a dyfalwch wrthweithio fy hen arferion, a chael fy nysgu i fod yn fwy serchog a mwynaidd ar fy aelwyd fy hunan.'

2. *Pa fath yw eich ymddygiadau fel rhïeni?* A ydych chwi yn teilyngu yr anrhydedd a ddarluniwyd oddiar ddwylaw eich plant? Maent hwy, fel y clywsoch, yn cael eu galw i ufuddhâu i chwi. Pa fath, attolwg, ydyw eich hysbryd chwi wrth eu harwain hwy? A ydych chwi yn llywodraethu arnynt mewn mwyneidd-dra doethineb, ac mewn ofn Duw? Ai tad, ai ynte gorthrymwr, sydd ganddynt i ufuddhâu ac ymostwng iddo? Gelwir hwy i'ch parchu a'ch caru; a ydych chwi yn haeddu parch, ac yn hawdd eich caru o ran tymher ac ymddygiadau? Nis mynem er dim wanychu rhwymedigaethau plant i anrhydeddu eu rhïeni; ond mae yn rhaid cydnabod, er hyny, fod i rai lawer o rwystrau i wneuthur hyny. Nid mor hawdd yw parchu y ffôl megys pe byddai yn wybodus ac yn ddoeth, a chadw plentyn i fawrhâu cymeriad nad oes un linell serchog ac anrhydeddus o'i fewn. Yn wir, pe na byddai dim arall i'w cymhell, mae ennill anrhydedd oddiwrth eu plant yn werth ymdrech o du rhïeni am ragori mewn gwybodaeth a phob rhinwedd. Os bydd y tad a'r fam eu hunain yn rhai heb

un nôd urddasol yn eu cymeriad, na dim yn eu dull yn tueddu i feithrin parch a serchogrwydd, ond i'r gwrthwyneb, yn ddynion anniddig, oriog, ac yn llywodraethu yn galed ar eu plant, a'u holl ddysgyblaeth arnynt megys pe byddai wedi ei chyfaddasu o bwrpas i lidio eu calonau, ac i ddwyn eu nwydau drwg i weithrediad, nid rhyfedd os bydd y plant yma, erbyn tyfu i fyny, yn ddirmygwyr eu rhïeni. Wedi anobeithio gallu eu boddhâu, maent "yn digaloni," fel y mae y gair yn dywedyd; ac yn hyny mae ansawdd anserchog tuag at eu rhïeni yn ymsefydlu ar eu calonau. Mae cartref yn myned yn garchar iddynt, a chymdeithas eu rhïeni yn ddiflas. Ac heblaw hyny, wedi eu hestroneiddio yn y wêdd hon oddiwrth eu tad a'u mam, maent yn aml yn syrthio yn ysglyfaeth i arferion drwg, ac y mae y rhai'n drachefn yn caledu y galon, ac yn ffyrnigo y dymher; ac yna càn gynted ag y delo plant fel hyn uwchlaw ofn eu rhïeni, y maent yn ymddyosg oddiwrth bob arwyddion o barch iddynt, ac yn barod ar bob achlysur i'w dirmygu ar air a gweithred. Cofiwch hefyd fod moethau ffôl yr un mor ddinystriol. Chwi a ddylech garu eich plant, y mae yn wir; ond y mae yn rhaid i'ch cariad atynt fod o dan lywodraethiad doethineb a barn; eich serch fod yn gyfryw ag a fedro eu ceryddu, eu nacâu, a mynu ufudd-dod oddiwrthynt; ac onidê, câs am eich cariad a fydd eich gwobr; ni chewch chwi ond ychydig o'u mwynder tra byddont yn fychain, na dim ond eu dirmyg wedi yr elont yn fawr. Cenedlaeth ddrwg yw y genedlaeth hòno na fendithia ei rhïeni; ond ar yr un pryd yr ydys yn sylwi, pan y byddo anrhydeddu henuriaid a thadau o bob math wedi pallu o fysg dynion, bod y tadau eu hunain yn gyffredin y pryd hyny wedi peidio bod yn rhai anrhydeddus. O rïeni plant, ac yn enwedig chwychwi ag a fyddwch yn rhïeni yn 'yr oes nesaf! meddyliwch am eich cyfrifoldeb, a bydded i grefydd a doethineb urddasu eich cymeriad, a'ch cymhwyso i'r amgylchiadau pwysig sydd yn eich haros.

Am danoch chwi, blant duwiolion, mawrhëwch eich braint. Yr ydych chwi yn feibion i bendefigion y nefoedd, y rhai yr oedd gras wedi eu gwneyd yn rhai rhagorol. Fe'ch dygwyd drwyddynt i etifeddiaeth dêg; do, fe'ch ganwyd yn freiniol. Mae trugaredd Duw yn rhedeg yn y sianel yr ydych chwi arni hyd fil o genedlaethau, a ffyrdd cymeradwy eich rhïeni duwiol yn barod i ymdòri

mewn bendithion daioni ar eich penau. Na ddyweder am yr un o honoch, "Ni fynai fendith, a hi a bellhäodd oddiwrtho; hoffodd felldith, a hi a ddaeth iddo." O yr amgylchiadau difrifol sydd yn eich aros! Os gwrthodwch Dduw eich tadau, fe ddaw y diwrnod y bydd yntau yn eich gwrthod chwithau, a'ch rhïeni a ddygwyd, hwyrach, i'r bedd mewn tristwch drwy eich annuwioldeb, yn cyfodi yn ddigon cryfion i gydsynio â'ch damnedigaeth. Ond ni chwanegaf. Yr ydwyf yn eich gadael gyda braw. O ddyn ieuanc! "adnebydd Dduw dy dad, a gwasanaetha ef â chalon berffaith, ac â meddwl ewyllysgar. O cheisi ef, ti a'i cai; ond os gwrthodi ef, efe a'th fwrw di ymaith yn dragywydd."

# PREGETH XVIII.

## COFIO DYDDIAU TYWYLLWCH.

PREGETHWR xi. 8: "Ond pe byddai dyn fyw lawer o flynyddoedd, a bod yn llawen ynddynt oll, eto cofied ddyddiau tywyllwch, canys llawer fyddant."

MAE profiad dyn drwy holl wledydd a chenedlaethau y ddaear yn selio mai geirwir yw Duw yn y dystiolaeth hon. Hawdd gan hyny ydyw penderfynu nad yw dynion yn bresennol ddim yn y cyflwr y crëwyd hwy ynddo. Yr oedd y cyfan y pryd hwnw yn fendigedig a da iawn yn ngolwg yr Arglwydd; ac os ydyw y Brenin mawr wedi edifarhâu—wedi newid yn ei ymddygiadau tuag at ei grëadur, mae yn rhaid fod rhyw gyfnewidiad yn flaenorol i hyny wedi dygwydd yn nghyflwr ac ansawdd y crëadur ei hunan. Nis gallwn feddwl mai mympwy yw rheol gorchwyliaethau Duw, a'i fod ef, yr hwn ychydig oesau yn ol a ymhyfrydai yn mawrhâu dyn yn mharadwys, byth wedi hyny megys yn ymddigrifo yn ei boenydio. Na, "nid o'i fodd y blina efe, nac y cystuddia blant dynion." Ond nyni yn ein tad cyntaf, ac wedi hyny yn ein personau ein hunain, a wnaethom gamwedd ac a fuom anufudd, ac yntau nid arbedodd. Felly yr olwg a rydd y Bibl ar helbulon einioes ydyw cosbedigaethau a cheryddon am anwiredd; ac am fod hyn yn gyffredinol a gwastadol yn y byd, mae rhol-lyfr y dynged ddynol, wyneb a chefn, wedi ei ysgrifenu arno, "Galar, griddfan, a gwae." Felly, "pe byddai dyn fyw lawer o flynyddoedd, a bod yn llawen ynddynt

oll, eto cofied ddyddiau tywyllwch, canys llawer fyddant." Mae y geiriau yn cynnwys dau beth:

1. *Tybiaeth am yr hyn sydd yn annhebyg:* "Pe byddai dyn fyw lawer o flynyddoedd, a bod yn llawen ynddynt oll;" dyna ddau beth digon annhebyg. Annhebyg iawn ydyw y bydd dyn byw lawer o flynyddoedd, a mwy annhebyg fyth ydyw iddo fod yn llawen ynddynt oll. Mae rhai felly, mae yn wir, mewn cymhariaeth i eraill; ac yn yr ystyr hòno yn unig y maent felly. Tra mae llïaws dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu, mae ambell un—yn gyffredin, un o gyfansoddiad cryf, iechyd da, ac arferion cymedrol, yn cyrhaeddyd pedwar ugain mlynedd, a mwy; yn dychwelyd i'r bedd mewn henaint têg, yn gyflawn o ddyddiau. Felly yr un modd, mae llïaws nid yn unig yn fỳr o ddyddiau, ond yn llawn o helbul. "Ei holl ddyddiau y bwyty efe mewn tywyllwch, mewn digter mawr, gofid, a llid." Ei glefyd a'i ofid gyda'u gilydd sydd ganddo ef ei holl ddyddiau. Mae rhai o herwydd grym eu chwantau yn fỳrhoedlog a thruenus (Preg. vi. 2—6). Ond y mae ambell un yn byw yn hir ac yn byw yn llawen. Mae yr annuwiol felly weithiau; yn heneiddio, cryfhâu mewn cyfoeth, ei amgylchiadau yn llwyddiannus, ei hiliogaeth yn gwreiddio mewn iechyd, cyfoeth, ac anrhydedd, heb fod gwialen Duw arno mewn dim, fel y mae yn treulio ei ddyddiau mewn daioni; dim hir gystudd yn y diwedd—disgyn mewn moment i'r bedd. Ond anaml y mae'r annuwiol fel hyn, ac anamlach y mae'r cristion. "Ychydig a drwg" ydyw ei ddyddiau ef ar y ddaear; rhwng trallodion allanol ac ymdrech tumewnol, trwy lawer o orthrymderau y mae efe yn myned i mewn i deyrnas Dduw.

2. *Cynghor o barth i'r hyn sydd sicr:* "Eto cofied ddyddiau tywyllwch, canys llawer fyddant." Mae dyddiau y tywyllwch yma yn sefyll mewn cyferbyniad â'r "goleuni" a "gweled yr haul," yn yr adnod o'r blaen, ac yn arwyddo trallodion einioes, y bedd, ac ystâd y meirw. "Gwnaeth i mi drigo mewn tywyllwch, fel y rhai fu feirw er ys talm," medd y Salmydd (Psalm cxliii. 3). "Tir tywyllwch a chysgod angeu," medd Job am y bedd (Job x. 21). "Melus yn ddïau yw'r goleuni." Y mae bywyd ei hunan yn felus. Er nad yw ond megys gallu i ddyoddef, ac yn ein cysylltu wrth achosion gofidiau fyrdd, eto yr ydym yn dal gafael ynddo drwy'r cwbl, ac fe gymer lawer gorchwyliaeth chwerw cyn y deuwn

i ddywedyd, "Ffieiddiais einioes, ni fynwn fyw byth." Pa faint mwy, ynte, os bydd dyn yn treulio ei ddyddiau mewn daioni—haul llwyddiant yn tywynu arno fel y byddo yn llawen ynddynt oll? "Eto cofied ddyddiau tywyllwch, canys llawer fyddant." Nid yw y tymmor y mae yn crychneidio mewn bywyd a llawenydd ond mynydyn; ond y mae dyddiau y tywyllwch yn llawer. Y gŵr wedi marw, yn y bedd y mae ef, tra mae y dyfroedd yn pallu o'r môr, a'r afon yn sychu; cymer hyny oesoedd i'w gyflawni, ond yr holl oesoedd hyny, bydd ef yn y bedd (Job xiv. 7—12); pan y gwelwch chwi ef yn deffro o'i hûn dragywyddol, chwi a welwch hefyd ddeddfau natur wedi pallu, y nefoedd wedi ymollwng, a myned heibio fel llyfr wedi ei blygu ynghyd.

Gallwn ystyried "dyddiau tywyllwch" yn golygu yr holl drueni y mae dyn yn ddarostyngedig iddo ar y ddaear. Y mae tymmorau neillduol ar fywyd ag y gellir eu hystyried mewn modd arbenig yn "ddyddiau tywyllwch." Ac ni a ymofynwn, Pa bethau sydd yn cyfansoddi eu tywyllwch? ac, I ba ddybenion y dylid eu cofio?

I. Ymha bethau y mae tywyllwch y dyddiau yn gynnwysedig?

1. *Mae i'w weled mewn cystuddiau corfforol, helbulon cyffredin einioes, a gorthrymderau y byd hwn.* "Dyn a aned i flinder fel yr eheda gwreichionen i fyny." Megys y mae y wreichionen yn esgyn drwy ddeddf ddigyfnewid mewn natur, felly y mae blinder yn codi oddiwrth achosion sicr ac anocheladwy. Am hyny y gwirionedd am einioes y dyn ydyw, "bỳr o ddyddiau, a llawn o helbul." Mae blinderau fel dyfroedd y môr yn treiddio trwy holl wytheni cysylltiadau y pechadur, ac yn tòri allan weithiau yn llifogydd, ac weithiau yn ffynnonau chwerwon, yma ac acw ar hyd wyneb einioes. Dyma efe yn gysylltiol â chorff sydd beunydd yn marw, mewn cûr a dygn boenau. A ydyw yn gysylltiol â phlant? Mae y rhai hyny yn molestu y galon. A ydyw yn meddu cyfeillion? Y maent hwy yn aml iddo "fel dyfroedd a ballant," yn talu câs iddo am ei gariad, ac yn ol maint ei serch y mae maint ei ofid. A yw efe yn gysylltiol â chrefydd? Wel, yn nheyrnas ac amynedd Iesu Grist, brawd a chydymaith mewn cystudd ydyw. Mae Brenin y deyrnas dan ddirmyg, cyfreithiau y deyrnas dan draed, a deiliaid y deyrnas dan erlid. "Pwy sydd wan nad yw yntau wan? pwy sydd yn tramgwyddo nad yw

yntau yn llosgi?" Ynddo ef y mae Crist bellach yn glaf a themtiedig, yn wylo, yn ymdrech, yn dyoddef, yn marw. A ydyw yn gysylltiol â'r byd? Ydyw! a thrwy hyny yn syrthio yn ysglyfaeth i'w dwyll, ei ddygasedd, ei gelwydd, a'i orthrymder. Ydyw! ac yn cwyno fod iddo dristyd mawr a gofid dibaid i'w galon. Ydyw! ac yn gwaeddi, "Gwae fi, fy mod yn preswylio yn Mesech! O na bae i mi adenydd fel colomen! yna yr ehedwn ymaith ac y gorphwyswn." A ydyw y galon yn glynu wrth gyfoeth a mwyniant y byd? Mae hwnw yn aml iddo fel Dalilah i Samson, yn ei boeni beunydd, nes mae ei enaid yn gofidio i farw. Mae ei ofalon yn greulawn, ei obeithion yn siomedig, a'r mwyniant uchaf o hono yn troi allan yn wagedd a gorthrymder ysbryd. Bendigedig a fyddo Duw am dipyn o'r byd hwn heb ei gardota na'i ladrata! y mae mor werthfawr i ddyn â'i fywyd. Ond pan mae'r galon yn rhy chwànnog i bethau'r byd, yr ydys yn syrthio i brofedigaeth a magl, ac i lawer o chwantau ynfyd a niweidiol, a'r dyn yn gwanu ei hun â llawer o ofidiau. Yn rhy aml y mae bywyd y corff yn syrthio yn aberth i foddion ei gynnaliaeth, a'r enaid yn cael ei foddi i ddinystr a cholledigaeth. Fel hyn, "ei holl ddyddiau sydd orthrymder, a'i lafur yn ofid." Os bydd yn dêg heddyw mae yn arw yfory; ac yn fynych y mae'r tymmor mwyaf hafaidd yn cael ei fylchu gan ystormydd disymwth o fellt a tharanau; marwolaeth disyfyd yn y teulu, a chastelloedd o obeithion a dysgwyliadau yn syrthio mewn mynydyn drwy gyfnewidiad diattreg yr amgylchiadau, ac yn gadael y galon yn ymborth i gûr a phryder.

Erbyn hyn, y mae diwedd einioes yn agosâu. Beth yw hwnw onid dyddiau blin, a blynyddoedd nad oes dim dyddanwch ynddynt? Dyma yr amser y tywylla yr haul a'r goleuni, y lleuad a'r sêr, ac y dychwel y cymylau ar ol y gwlaw; yr amser y cryna ceidwaid y tŷ, yr amser y blodeua y pren almon; nerth, iechyd, a synwyrau yn pallu, pob blodeuyn yn gwywo, y mwyniant drosodd, dim ond blynyddoedd nad oes dim dyddanwch ynddynt (Preg. xii. 1—7). A ydych yn cofio atebiad Barzilai oedranus i'r brenin Dafydd, yr hwn oedd yn ei wahodd i ddyfod gydag ef i Jerusalem, i drigo yn y breninllys? "Mab pedwar ugain mlwydd ydwyf fi heddyw; a wn i ragoriaeth rhwng da a drwg? a ddichon dy was di archwaethu yr hyn a fwytâf neu yr hyn a yfaf? a glywaf

fi bellach lais cerddorion a cherddoresau? Gâd, attolwg, i'th was ddychwelyd yn fy ôl, fel y byddwyf marw yn fy ninas fy hun, ac fel y'm cladder yn meddrod fy nhad a'm mam." Un llànerch yn unig a welaf fi yn ei flodau: beddrod fy nhad a'm mam; a dyna y lle i mi fyned ac aros. Clywch gwynfanau chwerwon Job: "Megys y dyheua gwas am gysgod, ac y dysgwyl cyflog-ddyn wobr ei waith, felly gwnaethpwyd i mi feddiannu misoedd o oferedd, a nosweithiau blinion a osodwyd i mi. Pan orweddwyf y dywedaf, Pa bryd y codaf, ac yr ymedy y nos? canys câf ddigon o ymdroi hyd y cyfddydd. Fy nghnawd a wisgodd bryfed a thom priddlyd, fy nghroen a agenodd ac a aeth yn ffiaidd. Fy nyddiau sydd gynt na gwenol gwehydd, ac a ddarfuant heb obaith. Cofia mai gwynt yw fy hoedl; ni wêl fy llygad ddaioni mwyach. Gan hyny, ni warafunaf i'm genau; mi a lefaraf yn nghyfyngdra fy ysbryd; myfi a gwynaf yn chwerwder fy enaid. Pan ddywedwyf, Fy ngwely a'm cysura, fy ngorweddfa a esmwythâ fy nghwynfan, yna y'm brawychi â breuddwydion, ac a'm dychryni â gweledigaethau. Am hyny dewisai fy enaid ymdagu, a marwolaeth yn fwy na'm hoedl. Ffieiddiais einioes, ni fynwn fyw byth; paid â mi, canys oferedd yw fy nyddiau." Yr un modd mae'r Salmydd yn cwyno: "Fy nyddiau a ddarfuant fel mwg, a'm hesgyrn a boethasant fel aelwyd; fy nghalon a daräwyd ac a wywodd fel llysieuyn, fel yr anghofiais fwyta fy mara. Gan lais fy nhuchan y glynodd fy esgyrn wrth fy nghnawd." Dyddiau tywyllwch oedd yna wedi ei ddal.

2. Gwneir bywyd dyn yn ddyddiau tywyllwch gan *ymdrech ysbrydol â llygredigaeth y galon a themtasiynau i bechodau.* Mae ymladdfa yn aml rhwng chwantau drwg â chydwybod yn mynwes yr annuwiol. Ni chaiff efe fwynhâd o'i bleser pechadurus gan ei gydwybod; ac ni chaiff cydwybod mo'i ffordd am fod yr ewyllys a'r serchiadau wedi dwfn reddfu at ddrygioni; ac felly y mae yr enaid yn cael ei ddirdynu rhwng y ddau. Nis gadawai efe yn ei fyw mo'i Ddalilah, ac eto y mae yn cael ei boeni ganddi beunydd nes mae yn ymofidio i farw. Pa faint o ddynion cyn hyn sydd wedi bod yn dymuno bod yn anifeiliaid yn hytrach na dynion? Yr oedd eu chwantau yn mynu eu ffordd, ac eto ymdeimlent wrth eu gwasanaethu eu bod yn diraddio eu hunain, yn treisio eu cydwybodau, yn dyfetha eu cyrff, ac yn dwyn arnynt eu hunain drueni

na wyddant ei bwys na'i ben draw. O, meddai y dyn, na buaswn heb fy ngeni, neu fy ngeni yn rhywbeth heblaw dyn!

Ond y cristion, yn yr hwn y mae dwy anian, cnawd ac ysbryd yn gwrthwynebu eu gilydd, a ŵyr fwyaf am yr ymladdfa hon. Ar y cyntaf y mae'r deheuwynt yn chwythu yn araf, nes y tybia y caiff y porthladd dymunol yn ebrwydd; ond cyn hir mae y dymhestl yn codi, y demtasiwn a'r chwant yn ymuno â'u gilydd, ac, fel Euroclydon nerthol, yn cipio yr enaid i bob enbydrwydd. O y bwystfilod sydd yn rhy fynych yn codi o'r galon, nes y mae'r enaid yn llawn ynfydrwydd, ac arswyd at ei ynfydrwydd, ar yr un tarawiad. O dan ddylanwad y demtasiwn, bydd y chwant wedi myned yn gynddeiriog ac ystyfnig am ei ffordd. Er cael ei ddarostwng, mae yn ail ymosod, fel tân oedd wedi ei ddiffodd fel y meddylid, ond yn tòri allan drachefn ac yn fflamio drwy holl dueddiadau y galon yn fwy angerddol nag o'r blaen. Mae yn gwanychu gras yn ei weithrediadau, ac yn bwgwth mynu ei ffordd nid yn unig ar draws cymhelliadau tyner yr efengyl, ond er gwaethaf ystyriaethau am Dduw, angeu, y farn, cywilydd a dinystr yn y byd hwn, a chosb dragywyddol yn y byd a ddaw. "Ystruan o ddyn wyf fi!" medd yr enaid; "pwy a'm gwared i oddiwrth gorff y farwolaeth hon?" Nid oes obaith; rhyw ddydd y syrthiaf yn llaw Saul; wedi fy holl broffes, byddaf eto yn gân i feddwon, yn waradwydd i saint Duw, i'm teulu, ac i mi fy hun. Fel hyn y mae yn barod i feddwl fod pob gobaith am fod yn gadwedig wedi darfod. Y fi barhâu hyd y diwedd, medd efe, a gwneyd fy ffordd o'r fath amgylchiadau â hyn i deyrnas nefoedd! Pa fodd y gallaf byth ddysgwyl hyny? onid dyma y gwrês a wywodd yr hâd ar y graig, neu y rhuthr a gwympodd y tŷ ar y tywod? onid ar y fath amser â hwn yr aeth Demas i'r byd, a Judas yn fradwr? Ië, y mae breninoedd mewn crefydd wedi methu sefyll mewn temtasiwn; a pha fodd y safaf fi? Ah, yn yr anialwch hwn y byddaf farw; ni cháf weled y wlad dda sy tu hwnt i'r Iorddonen, na'r mynydd da hwnw, a Libanus, y tir pell, a'r Brenin yn ei degwch!

Broffeswyr ieuainc, os ydych chwi yn esmwyth heddyw, heb wybod am y teimladau hyn a ddesgrifiwn, eto cofiwch ddyddiau tywyllwch. "Nid all na ddêl rhwystrau." Nid *sham fight* yw ymdrech y cristion. I ddyn âg y mae sancteiddrwydd, cymundeb

â Duw, tangnefedd cydwybod, cysur ysbrydol, a'r nefoedd byth, yn bethau gwir a gwerthfawr, mae yn rhaid fod yr ymosodiadau hyny arno, a'r tueddiadau hyny ynddo, ag sydd yn peryglu i'w ddinystrio yn y pethau hyn, yn ddychrynadwy i'w feddwl. Mae efe yn ymladd am ei fywyd tragywyddol, ac yn profi y gelynion yn ddiorphwys, ystyfnig, a chryfion yn eu gweithrediadau, ac weithiau mor gynddeiriog nes y mae'r enaid yn ofni y derfydd am dano byth. Cofied y proffeswr ieuanc ddyddiau y tywyllwch, i'w dysgwyl, i ymbarotôi atynt, ac i beidio cymeryd yn chwith pan syrthio mewn profedigaethau fel hyn. Nid ydym yn eu dymuno i'r cristion ieuanc, ond nis gwyddom pa fodd y gall efe eu gochelyd. Pan fyddo dyn yn myned i fordaith, cynghorwn ef i geisio llong gref, a llywydd medrus, nid am ein bod yn dymuno ystormydd iddo, eithr am ei fod yn debyg o'u cael.

3. *Ing meddwl a chnofeydd cydwybod.* Y mae pechod a phoen yn canlyn eu gilydd fel achos ac effaith; ac yn aml drwy y naill y mae Duw yn dwyn y gydwybod i deimlo y llall. Mae cystudd yn meddalu y galon, a'r Hollalluog yn ei chythryblu â theimlad o'i anfoddlonrwydd am bechod; y naill fel y dant yn gwneyd yr archoll, a'r llall fel gwenwyn yn cael ei dywallt iddo, yn llosgi ac yn llidio yn y gydwybod euog. Mae'r cristion yn profi yn aml fod ei ddyoddefiadau oddiwrth y byd yn farnau a cheryddon personol rhwng ei ysbryd ef â Duw. Felly yr oedd Paul yn edrych ar erlidiau yr Hebrëaid: yr oedd eu gwaradwyddiadau a'u hyspeiliadau yn anghyfiawn o du y byd (Heb. x. 33, 34); ond beth ydoedd rhyngddynt hwy â Duw? "Cerydd yr Arglwydd—hwn er llesâd i ni." Tad yr ysbrydoedd—hwn sydd yn gwneyd y cwbl; nid yw y byd ond yr offeryn: "Assur, gwialen fy llid" (Esa. x. 5). Oddiwrth yr Arglwydd yr oedd yn gerydd o gariad, "er llesâd, fel y byddem gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef" (Heb. xii. 5—11). Er fod yr orchwyliaeth yn llesol, mae yn cael ei gwneuthur yn chwerw iawn weithiau, nes y mae'r enaid yn blino ac yn ymollwng. "Na flina ar ei gosbedigaeth ef; nac ymollwng pan y'th argyhoedder ganddo." Yr oedd y ceryddon yn argyhoeddi y gydwybod mai cosbedigaeth Duw am bechod oedd y cyfan. Edrychwch ar Dafydd wedi y pechod yn achos Urïas. "Am i ti wneuthur, mi wnaf finnau, medd Duw: y plentyn a fydd marw; codaf ddrwg i'th erbyn o'th dŷ dy hun; nid ymedy y

cleddyf â'th dŷ di byth." A dacw efe yn ymrwyfo drwy ei drallodion, a thystiolaeth yn ei gydwybod yn peri iddo edrych ar y cyfan fel digofaint Duw. Felly y gweddïa, "Na cherydda fi yn dy lid, ac na chosba fi yn dy ddigllonedd, canys y mae dy saethau ynglŷn ynof, a'th law yn drom arnaf. Nid oes iechyd yn fy nghnawd o herwydd dy ddigllonedd; nid oes heddwch i'm hesgyrn oblegid fy mhechod, canys fy nghamweddau a aethant dros fy mhen; megys baich trwm y maent yn rhy drwm i mi." Tywyllwch fel y fagddu oedd ei gyflwr; ei gamwedd fel baich trwm ar ei gydwybod, llaw Duw yn drom yn ei ragluniaeth, a phob heddwch a chysur wedi dïanc drwy hyny.

Dyma y paham y mae cystuddiau yn cael eu galw yn geryddon ac yn farnau: y mae Mab Duw yn dyfod drwyddynt i'r gydwybod i gyfrif â dynion am eu pechodau. Felly yr oedd dinystr Jerusalem yn cael ei alw yn "ddydd y farn, a dystryw yr anwir ddynion." A'r un modd y darlunir dinystr Rhufain Baganaidd fel y "dydd mawr:" Mab y dyn yn dyfod gyda'i angelion; ac mor effeithiol oedd yr orchwyliaeth farnol fel yr ydoedd breninoedd, gwŷr mawr, cyfoethogion, pencapteiniaid dewr a chelyd, yn gwaeddi ar fynyddau a chreigiau am eu cuddio oddiwrth y llid Dwyfol (Dad. vi. 12—17). Erbyn i frodyr Joseph fyned i'r carchar, yr oedd hen gofion yn y gydwybod yn gwneyd y chwerwder yn chwerwach. Am yr annuwiol y dywedir, "Pob tywyllwch a fydd cuddiedig yn ei ddirgeloedd ef; tân heb ei chwythu a'i hysa ef" (Job xx. 26); mwy nag ar ei gorff, ei luestŷ, a'i amgylchiadau; wele yn nirgeloedd ei gydwybod y tân yno yn ysu. Paham? "Y nefoedd a ddadguddiant ei anwiredd ef" (adn. 27). Dyddiau tywyllwch yn wir a fydd rhai o'r natur hyny.

4. Mae y tywyllwch hwn yn gynnwysedig hefyd *mewn ofn damnedigaeth dragywyddol;* anobaith gyda golwg ar y byd a ddaw. Mae cael ei hun dan ŵg Duw yn ei ragluniaeth yn beth alaethus i enaid teimladol; ond mae ofni y gallai hyny fod iddo yn flaenffrwyth damnedigaeth dragywyddol yn annhraethol fwy ofnadwy. Y mae cysylltiad rhwng y pethau hyn â'u gilydd: trallod allanol yn trosglwyddo gŵg Duw i'r gydwybod, a theimlo hwnw ar y pryd yn peri dychryn gyda golwg ar y byd a ddaw. "Beth fydd diwedd y pethau hyn?" medd yr enaid; ai y pryf nad yw yn marw sy'n dechreu cnoi? ai y tân nad yw yn diffodd yw hwn sydd wedi

ennynu yn fy nghydwybod. Dyma fi wedi fy rhwymo â rhaffau gorthrymder; ac a deflir fi i'r tywyllwch eithaf, nis gwn. Yr wyf yn teimlo fy hun yn suddo i ddyfnder dyfroedd; ond na chaued y pydew diwaelod ei safn arnaf; na lynced y dyfnder hwnw fi, beth bynag a'r a fyddo. Cawn Heman yn esiampl o hyn. Pa fodd y mae dy gorff? Ar drancedigaeth yr ydwyf o'm hieuenctyd; ac yn awr wele fi yn yr amgylchiadau mwyaf truenus: fy nghyfeillion wedi fy ngadael, peryglon marwol wedi ymaflyd ynof, fy einioes yn nesâu i'r beddrod. Pa fodd y mae dy feddwl? Fy enaid a lanwyd o flinderau. Beth yw yr achos? Duw sydd yn gwrthod fy enaid, yn cuddio ei wyneb oddiwrthyf; ac nid yn unig hyny, ond y mae ei ddigofaint yn pwyso arnaf, ei soriant yn myned drosof, a'i ddychrynedigaethau yn fy nhori ymaith: yr wyf yn cael fy ngwasgu i'r pwll isaf, fy ngwthio tua'r wlad lle nad yw Duw yn cofio neb sy'n myned iddi, na'i law yn gwaredu o honi (Psalm lxxxviii.). O y fath grëadur yw dyn, y fath amgylchiadau arswydol sydd o'i flaen, a'r fath feddyliau dychrynllyd y gall efe syrthio yn ysglyfaeth iddynt! Y mae'r fath ddyddiau tywyllwch i'w dysgwyl i raddau mwy neu lai i bob dyn yn y byd hwn, ac i'r annuwiol yn yr hwn a ddaw hefyd.

II. I BA DDYBENION Y DYLID COFIO DYDDIAU TYWYLLWCH?

1. Gan eu bod yn sicr o ddyfod, *cofiwn hwy i'w dysgwyl*, yr hyn a'n ceidw rhag dychryn a siomedigaeth pan y delont. Yn rhywfodd tra byddo dyn yn llwyddiannus, mae ei feddwl yn gwrthod credu y gall fyned yn newid byd arno. Er fod dyn wedi ei eni i flinder, eto mae pob dyn yn dueddol i freuddwydio na bydd efe ei hun mewn blinder fel dynion eraill. Heddwch fydd i mi, medd efe; "byddaf farw yn fy nyth, a byddaf mor aml fy nyddiau â'r tywod." Nis gall gredu y dichon pethau ddygwydd iddo ef ag sydd yn dygwydd bob dydd i'w gymydogion. Felly pan syrthio mewn profedigaethau, y mae yn flin ganddo; pan cyffyrddont âg ef, y mae yn cyffroi, fel pe bae peth dyeithr wedi dygwydd iddo. Dysgwyliais yn ddyfal am ddaioni, ebe efe, ond drwg a ddaeth. Paham y gwnaeth yr Arglwydd fel hyn â mi?

Ond mor afresymol ydyw hyn! Onid dyma'r byd y mae pechod wedi ei ddarostwng dan farn Duw? Onid dyma'r byd y mae Satan yn trigo ynddo, a chanddo lid mawr? Onid dyma'r byd y mae chwantau dynion yn ddinystr iddynt eu hunain ac i'w

gilydd? "Galw yn awr, od oes neb a etyb i ti; ac at bwy o'r saint y troi di?" Pwy a groesodd fôr einioes heb un dymhestl? Pwy a brofodd y byd hwn yn ddim ond paradwys? Onid dyma y byd yr aeth Mab Duw trwyddo, o'r preseb i bren y groes, yn ŵr gofidus a chynefin â dolur, a'i deulu o'i flaen ac ar ei ol yn ddiddym, yn gystuddiol, a drwg eu cyflwr? Mae tystiolaeth y Bibl, a phrofiadau yr oesoedd, yn cyd-dystio nad oes yma ond galar, a griddfan, a gwae, ac anwylion hawddfyd ei hunan yn uchder mwyniant yn dolefain, "Gwagedd yw y cwbl! dyma ofid blin!" Pa beth? breuddwydio am lwyddiant hir a difwlch yn y fath fyd â hwn! Edrychwch acw, bobl ieuainc: dacw un o'ch cyfoedion yn nychu gan y darfodedigaeth. Edrychwch yma, rïeni balch o'u hiliogaeth: wele Job a Rahel yn wylo am eu plant, ac ni fynant eu cysuro am nad ydynt. Edrychwch draw, wragedd moethus: dacw chwaer i chwi a fagwyd mewn ysgarlad yn cofleidio y tomenydd; mam i bump o blant, a hòno yn weddw ac yn wyneblwyd yn gofyn, Pa le y câf damaid iddynt? Pa le y mae'r teulu nad oes marw ynddo rywbryd? pa le y mae'r ardal sydd heb ei Dafydd â'i holl flinder? pa le y mae'r wlad nad yw Job i'w gael ynddi weithiau, gyda chyfoeth, iechyd, anrhydedd, plant, a heddwch wedi eu dyfetha ar unwaith? Y mae dwfn feddylwyr yn edrych ar y byd fel drychiolaeth: nid yw ganddynt ond gwêdd, dull, gwagedd, breuddwyd; a phan agorir y llygad arno, nid yw; y mae yn ddim, a llai na dim. O ddyn, pan y mae Duw ar bob llaw i ti yn dinystrio yr hyn a adeiladodd, yn diwreiddio yr hyn a blanodd, ac yn dwyn drwg ar bob cnawd, a geisi di fawredd i ti dy hun? a soni di am dda lawer wedi ei roi i gadw dros lawer o flynyddoedd, ac am orphwys, bwyta, yfed, a bod yn llawen, yn y fath fyd a hwn? Na, yn hytrach, cofia a dysgwyl ddyddiau tywyllwch. Pan yn iach, gyda'r teulu yn gyfan a llwyddiannus, dysgwyl yna am gyfnewidiadau. Y cwbl sydd yn sicr i'r cristion yw cynnaliaeth dan brofedigaethau, llês drwyddynt, a gwaredigaeth o honynt. Caiff yr enaid uniawn ffwrneisiau, ond daw allan o honynt wedi ei buro. Rhaid iddo fyned i ddyfroedd dyfnion, ond daw i'r làn wedi ei olchi yn lân.

2. Cofiwn ddyddiau tywyllwch *i geisio gwybodaeth o Dduw yn Nghrist, goleuni gwir grefydd*, cyn i ddyddiau tywyllwch ein goddiweddyd. "Cofia yn awr dy Grëawdwr yn nyddiau dy ieu-

enctyd, cyn dyfod y dyddiau blin." Gwybyddwch pa beth sydd yn eich aros, ieuenctyd, os cewch fyw i hen ddyddiau: pob goleuni yn tywyllu—natur a'i holl aelodau a'i blysiau yn pallu, ac yn y diwedd yn ymollwng. Cyn, cyn, cyn hyny, cofiwch eich Crëawdwr; ceisiwch ei heddwch, a gwasanaethwch ef. Y mae llawer na cheisiant grefydd yn y dyddiau têg, ac na chânt mo honi yn nyddiau tywyllwch (Diar. i. 28). Cyn y gauaf y mae casglu lluniaeth; cyn y dymhestl y mae cloddio am y graig; cyn myned yn rhy dywyll i gael hyd i'r ganwyll y mae goleuó y tân. Gweithiwch tra yw hi yn ddydd. "Rhoddwch ogoniant i'r Arglwydd eich Duw cyn iddo ef ddwyn tywyllwch, a chyn i chwi daro eich traed wrth y mynyddoedd tywyll." Y mae cysur crefydd o anfeidrol werth yn mhrofedigaethau bywyd. Gŵyr yr enaid crediniol nad ä efe ddim i'r tywyllwch eithaf. "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Mae y tywyllwch a'i ddyddiau yn anocheladwy; ond yn ngoleuni yr efengyl, gallwn rodio trwy y tywyllwch dan ganu. Pa fodd yr äi di ymlaen, Dafydd? "Yr Arglwydd fy Nuw a lewyrcha fy nhywyllwch." Edrychwch ar yr hyn yr oedd yr Hebrëaid cristionogol yn ei ddyoddef: "Ymdrech mawr o helbulon wedi eu gwneuthur weithiau yn wawd, trwy waradwyddiadau a chystuddiau, ac weithiau yn bod yn gyfranogion â'r rhai a drinid felly." Beth oedd eu hagwedd yn eu herlidiau? "Cymerasant eu hyspeilio am y pethau oedd ganddynt yn llawen." Pa fodd y gallasant fod felly? "Gan wybod fod ganddynt iddynt eu hunain olud gwell yn y nefoedd, ac un parhäus."

Goleuni y gair yn y meddwl, a goleuni gras yn y galon, sydd yn alluog i daflu llewyrch ar amgylchiadau duaf bywyd. A yw y ddeddf yn ymaflyd yn yr enaid? Mae yr efengyl yn dangos Crist wedi myned yn ddiwedd iddi er cyfiawnder. A ydyw cydwybod euog yn cythryblu? Mae yma faddeuant mewn iawn. Beth bynag a ddél, medd y credadyn, nid af fi ddim i'r tywyllwch eithaf: "dim damnedigaeth." A yw y diafol yn troi yn gyhuddwr? Yma cawn weled ei nerth ar farwolaeth wedi ei ddinystrio. A ydyw barnau Duw ar y ddaear? Cawn yma wneyd yr Arglwydd yn noddfa, a llechu yn yr ystafelloedd yn ddïogel. A ydyw yr awdurdodau gwladol yn gwgu? Dengys yr efengyl pwy yw y Cynfab, yr hwn sydd goruwch breninoedd y ddaear; doed a ddêl, "mae

ein Duw ni yn abl i'n gwaredu." A yw tlodi yn tremio ac yn edrych ar gristion gyda'i wyneb hagr? Gŵyr fod porthwr y brain eto yn fyw, a'i Dad ef yw hwnw. A ydyw efe yn myned yn ddyeithr ar y ddaear, pob peth yn newid: amser yn newid, y byd yn newid, yr eglwys yn newid, ei amgylchiadau allanol a'i brofiad tumewnol yn newid; ïe, a ydyw efe ar newid dau fyd? Caiff droi at ei Dduw a dywedyd, 'Ti a barhëi! yr un ydwyt; a minnau, drwy fy undeb â Thi, a gâf aros yn dragywydd.' A ydyw angeu yn bwgwth rhoi y diffoddydd ar holl gysuron natur ar unwaith, a'i yru i dywyllwch fel y fagddu? Gwnaed, medd y duwiol; nid ofnaf niwed; mi welaf tu hwnt iddo fywyd ac anllygredigaeth; ei eithaf fydd fy nhrosglwyddo i awyr heb un cwmwl; gwlad na fachluda ei haul mwyach, a'i lleuad ni phalla; canys "gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi ydyw yr Oen."

Wele yn awr, cofiwn, yw y tymmor i geisio gwir grefydd. Am bob un a gafodd grefydd mewn cystuddiau, y mae llïaws, heb adnabyddiaeth o Dduw yn Nghrist, wedi myned mewn trallodion i anobaith, gan ymollwng i ing a chwerwder enaid. Ceisiwn mewn iechyd yr hyn a'n dyddana mewn afiechyd. Byddwn mewn bywyd yr hyn y dymunem fod yn marwolaeth.

3. Cofiwn ddyddiau tywyllwch nes ein cynhyrfu *i ymofyn tystiolaeth cydwybod i'n cywirdeb mewn crefydd.* Y cydymaith goreu mewn drygfyd yw cydwybod dda. Mor werthfawr i Job, pan yr oedd cyfeillion yn ceisio ei brofi yn annuwiol, ei fod yn gallu dywedyd, "Ni waradwydda fy nghalon fi!" Nid ydoedd cydwybod, ac nid oedd Duw, yn ei wneuthur yn rhagrithiwr. "Wele hefyd yn awr fy nhyst yn y nefoedd, a'm tystiolaeth yn yr uchelder." Gwelwch yr eglwys yn Psalm xliv., wedi ei churo gan Dduw ei hun yn nhrigfa dreigiau, a thôi drosti â chysgod angeu. "Eto," meddai wrth ei Duw, "ni'th anghofiasom di, ac ni buom anffyddlawn yn dy gyfammod." Dan ein holl gurfeydd a'n tywyllwch, y mae genym gyfammod â'i afael ynom ni, ac wele ninnau yn gafael ynddo yntau. Y Duw sydd yn edrych gydag eiddigedd ar wrthgiliad yr enaid, ac yn ei chwilio allan o ddyfnderoedd y fynwes, nis gellir ei dwyllo ef. "Efe a ŵyr ddirgeloedd y galon." Ond ger ei fron ef, ni a feiddiwn ddywedyd, "Ni thrôdd ein calon yn ei hôl, ac nid aeth ein cerddediad allan o'th lwybr di." Mae yr ymdeimlad hwn o gywirdeb calon yn peri nad oes un colyn

gwenwynig gyda brathiad cystudd, ac yn goleuo canwyll oleu ymhob tywyllwch. Cysur mawr i feddwl Pedr, yn nghanol ei adgof chwerw am y gwadu deirgwaith, pan y gofynai Crist iddo, "A wyt ti yn fy ngharu i?" ydoedd ei fod yn gallu ateb yn gröew, "Ydwyf, Arglwydd." 'Yr oedd fy nghydwybod yn tystio fy mod yn dywedyd celwydd wrth ddywedyd nad oeddwn yn dy adwaen; a hi a wnai yr un peth yn awr pe dywedwn nad wyf yn dy garu.' Dyma oedd i Paul yn ddyddanwch a gorfoledd dan ei holl ddy-oddefiadau: "Canys ein gorfoledd ni yw hyn, sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symlrwydd a phurdeb duwiol, nid mewn doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw, yr ymddygasom yn y byd." Gwaradwydded byd, temtied diafol, poened corff, nis gallant gyffwrdd â chydwybod dda. Cofiwn hyn, ynte, cyn i ddyfnder alw ar ddyfnder o'n hamgylch, fel yr ymarferom ein hunain i gadw cydwybod ddirwystr tuag at Dduw a dynion.

Os y cyffyr mwyaf gwenwynig yn helbulon einioes yw euogrwydd a gŵg Duw am bechod, cofiwn ddyddiau tywyllwch i ymgadw rhag ein hanwiredd, ac i geisio maddeuant a meddyginiaeth lle yr ymlygrwyd. Hwyrach, enaid, pan fyddi yn ddifrifol, am foment, y byddi yn cofio rhyw hen fai—rhyw dymmor diffrwyth ar dy oes—y fath ansawdd wedi bod ar dy galon, a chamrau yn dy fywyd, âg a allent eto dy wthio i dywyllwch mawr. Dos heb oedi at y drugareddfa am faddeuant; a maddeuant oddiyno a effeithia i beri i ti ofni Duw rhag llaw, a hwnw yn ofn sydd â gobaith cadarn ynddo.

Dysgwn trwy ffydd ddefnyddio Crist, yr hwn yw goleuni y bywyd; ac yna nid awn byth i dywyllwch eithaf yn y byd a ddaw, nac yn hollol i dywyllwch anobaith yn y byd hwn.

# PREGETH XIX.

## PAHAM Y BYDDWCH FEIRW?

EZECIEL xviii. 31: "Canys paham, tŷ Israel, y byddwch feirw?"

YN y bennod hon y mae Duw yn ymostwng i ymddadleu â phlant Israel, ac i amddiffyn cyfiawnder ac uniondeb ei ymddygiadau yn wyneb y cyhuddiadau a ddygent hwy yn ei erbyn. Sylwedd eu cyhuddiad ydoedd fod yr Arglwydd, fel eu Llywydd Dwyfol yn Nghanaan, yn ymddwyn yn annhêg ac anghyfiawn tuag atynt: yr oedd un genedlaeth yn pechu, a chenedlaeth arall yn gorfod dyoddef am hyny. Yr oedd hyn wedi myned yn syniad mor gyffredin yn eu mysg, fel yr oedd yn ddïareb yn Israel, "Y tadau a fwytasant rawnwin surion, ac ar ddannedd y plant y mae dincod."

Yn atebiad i hyn, dywed y Goruchaf, "Wele, yr holl eneidiau eiddof fi ydynt; fel enaid y tad, felly hefyd enaid y mab, eiddof fi ydynt." 'Nid wyf fi o dan un demtasiwn i fod yn dueddog a phleidgar, gan fod pawb yn eiddof fi fel eu gilydd, ac yn sefyll yn yr un berthynas ataf fel Crëawdwr a Thad yr ysbrydoedd.' Yna y mae efe yn amlygu rheol ei lywodraeth a'i ymddygiadau mewn rhagluniaeth tuag atynt: "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." 'Yr wyf yn barnu pob un yn ol ei weithred. Rhoddaf anwiredd y drygionus arno ef ei hun, a chyfiawnder y cyfiawn arno yntau.' Os byddai gŵr yn cadw deddfau yr Arglwydd, gan fod yn gyfiawn

a thrugarog tuag at ddynion—dyn yn ymröedig i grefydd a rhinwedd, tystiolaethir y byddai hwnw yn ddedwydd a llwyddiannus yn y tir. "Cyfiawn yw; gan fyw efe a fydd byw, medd yr Arglwydd Dduw." Ond os byddai gan y cyfryw un fab digrefydd ac anfoesol, didduw a drygionus, nid oedd hwnw i gael byw a llwyddo ar gyfrif cyfiawnder ei dad, eithr efe a fyddai marw yn ei anwiredd ei hun. Ar y llaw arall, os byddai gan y diweddaf fab, a hwnw wedi gweled drygioni a dinystr ei dad, ac ystyried, ac ymgadw rhag gwneuthur yn gyffelyb iddo, ni byddai hwnw farw am anwiredd ei dad, eithr gan fyw efe a fyddai byw. Ac, ymhellach, os byddai i'r drygionus adael ei bechod, byddai efe byw mewn canlyniad i'w ddychweliad at yr Arglwydd; neu, os byddai i'r cyfiawn adael ei gyfiawnder, byddai yntau farw am ei ymadawiad â'r Arglwydd, a'i bechod i'w erbyn.

Wedi dangos fel hyn reol ei weinyddiadau tuag at y bobl, y mae efe yn appelio atynt am uniondeb y rheol hòno: "Tŷ Israel, onid cymhwys fy ffyrdd i?" Pa beth a all fod yn decach nag i mi gyfaddasu fy ngorchwyliaethau tuag atoch yn ol eich ffyrdd chwi eich hunain tuag ataf fi?

I mi y mae yn amlwg nad ydyw y bennod hon yn gosod allan reol Duw o ymddwyn at eneidiau ei bobl yn ol y cyfammod gras, eithr mae yn ymdrin am reol ei weinyddiadau mewn rhagluniaeth yn y byd hwn. Y mae gorchwyliaethau gras a gorchwyliaethau rhagluniaeth yn dra gwahanol. Y maent yn wahanol yn eu sylfeini. Sail ymddygiad Duw at ei bobl yn y cyfammod gras—y ddeddf neu yr egwyddor fawr wrth ba un y mae ei holl fendithion yn dyfod i ran pechadur crediniol, yw iawn Crist; a dirprwyaeth—y naill yn lle'r llall—yw hyny. Yna dyna y naill berson yn pechu, a pherson arall, difai, yn dwyn yr anwiredd trwy ddyoddef cosbedigaeth pechod; ac wele gyfiawnder y cyfiawn yn dyfod i'r annuwiol a ymddiried ynddo. "Canys yr Hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod drosom ni, fel ein gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Ond y mae deddf gorchwyliaethau rhagluniaeth Duw yn gwbl wahanol; nid oes yma le i ddirprwyaeth. Yr Arglwydd sydd yma yn barnu pob un yn ol ei ffyrdd ei hun, ac yn peri iddynt oll fwyta ffrwyth eu gweithredoedd eu hunain. Pe hon a fuasai rheol cadwedigaeth pechaduriaid, ni chawsid lle i iawn y Cyfryngwr. Y maent yn wahanol hefyd gyda golwg ar

barhâd eu bendithion. Yn nhrefn y cyfammod gras, y mae iachawdwriaeth credinwyr wedi ei sicrhâu. "A mi a wnâf â hwynt gyfammod tragywyddol, na thröaf oddiwrthynt heb wneuthur llês iddynt; a mi a osodaf fy ofn yn eu calonau fel na chiliont oddiwrthyf." Fel hyn ni edy Duw mo'i bobl, ac ni chânt hwythau ei adael yntau. Ond gyda dynion yn eu cymeriad gwladol—fel cenedloedd—y mae yr Arglwydd gyda hwynt yn ei ragluniaeth cyhyd ag y byddont hwy gydag ef yn eu hufudd-dod. Tra pery ein gwlad i lynu wrth addoliad a ffyrdd Duw mewn rhyw fesur, nyni a allwn ddysgwyl nodded y nefoedd drosom. Ond os bydd i ni fel cenedl droi i eilunaddoliaeth—ac y mae llawer math o eilunaddoliaeth, cofiwn, neu i anfoesau a phechodau ysgeler, gallwn ofni y tŷn Duw ei amddiffyn oddiarnom, ac y gwna i'n hanwiredd ddyfod ar ein pen ein hun. Yn y fath amserau o ddirywiad, gall pobl Dduw ymlygru i raddau pell oddiwrth eu huniondeb, cydffurfio gormod âg anwiredd eu hoes, a marw, fel yr hen Eli dduwiol, o dan farn dymmorol.

Yr esboniad goreu ar y bennod hon yw hanes yr Iuddewon, wrth y rhai ei llefarwyd. Darllenwch o ddechreu Llyfr y Barnwyr hyd ddiwedd Ail Lyfr y Cronicl; a chwi a welwch ymddygiadau Duw at Israel yn gwirio ac egluro gosodiadau y bennod hon.

Mae yn wir fod mewn rhanau o'r bennod hon egwyddorion yn cael eu gosod allan sydd, yn llywodraeth Duw, yn cyrhaedd i dragywyddoldeb. Yno, yn y byd arall, drygioni y drygionus a fydd arno ef yn ei holl bwysigrwydd. Ni bydd yno un mab yn dwyn anwiredd ei dad, ond pob un yn nghartref trueni yn dyoddef am ei bechod ei hun. Yr enaid a becho hyd y diwedd, gan wrthod Crist, yno a fydd marw. Ac am yr annuwiol a ddychwel oddiwrth ei bechod at Dduw yn nhrefn yr efengyl, efe a arbedir yn dragywydd; ni chofir iddo yr holl gamweddau a wnaeth, ond gan fyw efe a fydd byw, nid yn ei gyfiawnder ei hun, ond yn nghyfiawnder Crist, trwy yr hwn nid yn unig y cyfrifir ef yn gyfiawn ger bron Duw, ond y gwneir ef yn gyfiawn mewn calon a buchedd.

Yma, yn niwedd y bennod, y mae Duw yn galw ar yr Iuddewon, yn lle gwrthddadleu yn gyfeiliornus yn erbyn ei ffyrdd ef, i ddychwelyd ac edifarhâu: "Dychwelwch a thröwch oddiwrth eich holl gamweddau. Bwriwch oddiwrthych eich holl gamweddau y

camweddasoch ynddynt." Ac nid oeddynt i orphwys ar ddiwygiad allanol: "A gwnewch i chwi galon newydd ac ysbryd newydd." Ni foddlonai Duw ar gyfnewidiad arwynebol a hannerog arnynt; nid oedd dim llai na chalon gywir, yn cynnyrchu ufudddod parod i'w orchymynion, a ryngai ei fodd; a gorchymynir iddynt hwy wneuthur iddynt eu hunain galon newydd ac ysbryd newydd, fel, yn lle beïo ar ffyrdd Duw, y gwelent eu ffyrdd dryg-ionus eu hunain, a ffynnonell eu llygredigaeth mewn calon ddrwg, ac oddiar hyny y deuent yn edifeiriol at yr Hwn a addawsai o'r blaen trwy Ezeciel, "A rhoddaf iddynt un galon, ac ysbryd newydd a roddaf ynoch," ac a addawodd ar ol hyn, "A rhoddaf i chwi galon newydd, ysbryd newydd hefyd a roddaf o'ch mewn chwi." Ac yn hyn oll, y mae Duw yn dangos mai hwy eu hunain yn gwbl oedd yn gyfrifol am eu holl ddrwg a'u trueni, gan nad oedd ganddo ef ewyllys ond yn eu daioni a'u dedwyddwch. "Canys paham, tŷ Israel, y byddwch feirw? canys nid oes ewyllys genyf i farwolaeth y marw, medd yr Arglwydd Dduw. Dychwelwch gan hyny, a byddwch fyw."

Yn awr ni a ddefnyddiwn ac a gymhwyswn eiriau y testun tuag atom ni. Er ein bod o naturiaeth yn bechaduriaid, a bod pechod a marwolaeth wedi eu cysylltu yn anwahanol, eto y mae Duw yn yr efengyl yn galw arnom i edifarhâu a throi ato ef fel Duw yn Nghrist, fel y byddom byw yn dragywydd. "Paham y byddwch feirw?" Yr ail farwolaeth—y farwolaeth dragywyddol yn uffern, a olygwn ni yma. Y mae yn rhaid i bob dyn ar y ddaear farw unwaith; ond ni raid i neb farw yn dragywyddol yn nystryw o herwydd dim ond am eu cyndynrwydd yn glynu wrth eu pechodau.

I. "*Paham y byddwch feirw?*" *Er eich bod yn bechaduriaid, nid o herwydd hyny y rhaid i chwi feirw.*

Yn ol ammodau y cyttundeb cyntaf rhwng Duw a dyn, yr oedd y ffaith fod dyn yn bechadur yn ddigon o honi ei hun i'w fwrw yn ddiobaith i farwolaeth. Gwnaed y cyfammod hwnw â chrëadur sanctaidd, i'r hwn yr addäwyd bywyd ar yr ammod o ufudd-dod perffaith. A'r foment yr anufuddhäodd efe, dyna efe yn ei daflu ei hun, a'i holl hiliogaeth, dan yr un ddedfryd o gollfarnedigaeth. "Felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn—y farn a ddaeth o un camwedd i gondemniad." Yno nid oedd un lle i edifeirwch, un

ddarpariaeth am faddeuant, un cymhelliad i ddychwelyd at yr Arglwydd; canys nid oedd un addewid wedi ei rhoddi am dderbyniad pechadur gyda Duw. Pe gofynasid i Adda yn y cyfwng rhwng ei gwymp pechadurus a rhoddiad yr addewid, Paham y byddi farw? gallasai ateb, Beth! pa fodd y gallaf ochel marw? Yr wyf wedi fforffedu bywyd yn yr unig ffordd yr oedd yn cael ei addaw; cyflawnais y weithred benodol hòno am ba un y mae Duw wedi bwgwth marwolaeth; ac yn awr y mae ei gyfiawnder a'i wirionedd yn gofyn fy mywyd. Os na weinyddir y gosbedigaeth, dyna eiriau Satan wedi eu gwirio, a geiriau Duw wedi troi yn gelwydd. Duw a ddywedodd, "Yn y dydd y bwytâi di o hono, gan farw y byddi farw;" ond Satan a ddywedodd, "Ni byddwch feirw ddim." Yna, os na byddaf farw, Satan a fydd eirwir a Duw yn gelwyddog. Ond nis gall hyny fod; bydded Duw yn eirwir, a phob dyn ac angel yn gelwyddog; a chan hyny, y mae yn rhaid i mi farw.

Dyna a fuasai ein hiaith ni oll heddyw oni buasai am ddadguddiad yr efengyl. Ond hi a ddengys fod pob rhwystr wedi ei symud; y gall Duw gadw ei air a chadw'r pechadur hefyd. Y mae trefn newydd i ddwyn yr enaid a bechodd i fywyd wedi ei hamlygu. Gras a ysgogodd mewn iachawdwriaeth, ac y mae doethineb wedi llunio'r ffordd; ac yn y drefn hon y mae holl brïodoliaethau Duw mewn cydgordiad yn achub y rhai oll a ymdaflant arni. Yn lle i'r pechadur farw, y mae Duw wedi anfon ei Fab i fod yn iawn dros ein pechodau, fel y byddem fyw trwyddo ef. "Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni; cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef." "Crist unwaith a ddyoddefodd dros bechodau; y Cyfiawn dros yr anghyfiawn." Ac yn awr y mae "Duw yn Nghrist yn cymmodi'r byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau."

Er dy holl bechodau, gan hyny, ni raid i ti, enaid euog, ymollwng yn ddiobaith i farw; y mae gyda Duw faddeuant. Ni raid i ti farw o herwydd dy anghyfiawnderau. Os nad oes gyfiawnder ynot ti, y mae yn yr Arglwydd gyfiawnder, "sef cyfiawnder Duw, yr hwn sydd trwy ffydd Iesu Grist i bawb ac ar bawb a gredant." Ni raid i ti newynu am nad oes fara yn y wlad. "Myfi," medd Iesu Grist, "yw y bara bywiol, yr hwn a ddaeth i waered o'r nef. Os bwyty neb o'r bara hwn, efe a fydd byw yn dragywydd. A'r

bara a roddaf fi yw fy nghnawd i, yr hwn a roddaf fi dros fywyd y byd." Os wyt ti ar lewygu a threngu yn y wlad bell, dychwel, canys y mae gwala a gweddill yn nhŷ dy Dad. Nid dy fod yn bechadur a'th ddamnia heddyw, ond dy wrthnysigrwydd yn nacâu dyfod at yr unig Waredwr oddiwrth bechod. Paham y byddi farw?

II. "*Paham y byddwch feirw?*" *Ni raid i chwi feirw am nad oes foddion gwybodaeth o drefn cadwedigaeth yn eich cyrhaedd.*

Ni cheir iachawdwriaeth ond yn ei ffordd; a rhaid gwybod "ffordd iachawdwriaeth" tuag at dderbyn ei bendithion. Gan bob un a argyhoeddir o bechod, ei gwestiwn mawr a fydd, Pa fodd y gellir fy nghadw? "Pa beth a wnâf fel y byddwyf cadwedig?" Ac yma y gwelir annhraethol werth yr efengyl. Ynddi hi y dadguddir trefn Duw i achub pechadur. Gofynwch i'r pagan yn Affrica neu China, A wyt ti yn deall y ffordd i fod yn gadwedig? ac efe a all ateb, "Pa fodd y gallaf oddieithr i rywun fy nghyfarwyddo i?" Cwestiynwch ef, Paham y byddi farw? a byddai yn brïodol iddo ateb, Pa fodd y gallaf fi beidio marw? Os oes Achubwr, nis gwn i mo'i enw. Ydyw, y mae'r pagan amddifad o'r efengyl heb glywed am Dduw fel Tad, nac am ei Fab fel Cyfryngwr, nac am ei Ysbryd fel Ysbryd gras ac Ysbryd sancteiddiad. Pa mor anesmwyth bynag y byddo ei gydwybod, pa mor ddwys bynag y byddo ei deimlad o'i euogrwydd a'i anghenion fel pechadur, nid oes dim o'i fewn nac oddiallan iddo yn yngan gair am y wir ffordd i fod yn gadwedig; nid oes eiriau o'r fath â chymmod, iawn, maddeuant, cyfiawnhâd, yn ei iaith. Pa fodd y cedwir hwy yn nhywyll leoedd y ddaear heb gredu? "a pha fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? a pha fodd y clywant heb bregethwr?"

Ond nid felly y mae eich amgylchiad chwi, fy nghyfeillion. Cawsoch chwi, mae yn debyg, rïeni i'ch maethu yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd; rhai yn gyffelyb i Abraham, yr hwn a fyddai yn gorchymyn i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd"—a chyffelyb i Dafydd, yr hwn a ddywedai, "Deuwch, blant, gwrandewch arnaf; dysgaf i chwi ofn yr Arglwydd;" ac am yr hwn yr adroddai ei fab Solomon, "Efe a'm dysgai, ac a ddywedai wrthyf, Dalied dy galon fy ngeiriau; cadw fy ngorchymynion, a bydd fyw." Cawsoch athrawon yr

Ysgol Sabbothol i'ch hyfforddi er yn blant yn y ffordd dda ac uniawn; ac felly wele chwi er yn fechgyn, neu er yn enethod, yn gwybod yr Ysgrythyr Lân, yr hon sydd abl i'ch gwneuthur yn ddoeth i iachawdwriaeth. Dygwyd chwi i fyny o dan weinidogaeth yr efengyl. Wrth droi at ddyddiau mebyd, mae eich côf yn myned â chwi yn ebrwydd at weision y Duw Goruchaf, y rhai a fynegent i chwi ffordd iachawdwriaeth. Ac od oedd diffyg yn y naill neu y llall o'r rhai hyn, dyna genych yn y Bibl gynghorwr anffaeledig; "cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith," ac wele hòno yn eich dwylaw chwi. Y mae moddion gwybodaeth yn eu holl fanteision genych hyd heddyw; mae y canwyllbren heb ei symud, teyrnas Dduw heb ei chymeryd oddiwrthych, eich athrawon heb eu cornelu; yn nglŷn gweledigaeth yr ydych yn cyfanneddu. Pan yr aeth yn gyfyngder ac yn ing ar Saul, yr oedd Samuel, ei hen athraw ffyddlawn, wedi marw; a pha beth bynag a ofynai, nid oedd ateb iddo mwyach "na thrwy law prophwydi na thrwy freuddwydion." Ond gofynwch chwi heddyw unrhyw gwestiynau am eich mater mwyaf, cewch ateb yn ebrwydd. Beth bynag a fynai eich cydwybod ei ddeall, y mae digon yn y Bibl i'w boddloni. "Pa beth a wnâf i fod yn gadwedig?" "Crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." "Pa fodd y cyfiawnhëir dyn gyda Duw?" "Yn rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu, trwy ffydd yn ei waed ef." "Pa fodd y bydd yr hwn a aned o wraig yn lân?" "Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bechod." "A pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd, ac yr ymgrymaf ger bron yr uchel Dduw?" Iesu Grist yw "y ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd; nid oes neb yn dyfod at y Tad ond trwyddo ef." Pa fodd y cadwaf fy nhroed rhag llithro? "Ymnertha yn y gras sydd yn Nghrist Iesu." Y mae ffordd y bywyd yn cael ei gosod allan mor eglur a manwl yn ngair y gwirionedd, fel nad yw yn bosibl i'r ymchwilgar cywir gyfeiliorni. "A rodio y ffordd, pe byddent ynfydion, ni chyfeiliornent." Os nad yw y mynegbost yn dywedyd dim am y coedwigoedd neu'r meusydd oddiamgylch, y mae yn dywedyd digon i gyfarwyddo y teithiwr am yr iawn ffordd i'r dref a ddymunai. Os na cheir y goleudŷ yn taflu llewyrch ar yr holl arfordir, ceir ef yn dangos i'r morwr y graig y mae i'w gochel, neu y porthladd lle y derbynir ef yn ddïogel. Ynghylch pa bethau

bynag y mae'r Bibl yn ddystaw, y mae yn llefaru yn uchel, yn glir ac yn gröew, am drefn Duw i gadw pechaduriaid; a chyda'r gair yn eich dwylaw, a'r weinidogaeth yn eich clyw, paham, O Gymry, y byddwch feirw?

III. "*Paham y byddwch feirw?*" *Ni raid i chwi feirw am nad yw y cyhoeddiad o drefn cadwedigaeth yn eich golygu chwi yn ddigon penodol i fod yn sail i chwi gredu.*

Y mae rhai a fynent haeru eu bod yn canfod anhawsder mawr yn y mater hwn. Gwyddant fod gan Dduw drefn i gadw pechaduriaid; ond, A geidw efe fi? medd yr enaid. Gwyddant ei fod ef yn galw pechaduriaid i edifeirwch ac i ffydd; ond, A ydyw efe yn fy ngolygu i yn bendant? gofyna rhywddyn. A oes genyf fi, hwn a hwn, neu hon a hon, yn bersonol, hawl i ddyfod at Grist am fywyd ar alwad yr efengyl? Yr wyf yn ateb, Y mae genyt gymaint o hawl i ddyfod at y Gwaredwr âg sydd gan un pechadur arall ar y ddaear. Y mae yr efengyl wedi ei chyfeirio atat ti, fy enaid, yn gymaint âg at un dyn dan y nefoedd. Oes, y mae genyt ti gystal sail i ddyfod at Grist âg a fu gan un sanct o'r ddaear sydd heddyw yn y nefoedd. Ni bu neb sydd yno yn cael mwy o gefnogaeth y dydd cyntaf y credasant nag yr wyt ti yn ei gael yr awr hon. 'Ns gwn i ddim pa beth yw bwriadau dirgel Duw yn fy nghylch.' Nid oeddynt hwythau yn gwybod pan y credasant. Hwy a wyddent eu bod yn bechaduriaid colledig; gwyddent i Dduw garu y byd felly fel ag i roddi ei uniganedig Fab; gwyddent i Grist farw dros yr annuwiol; gwyddent fod Duw ynddo ef yn cymmodi'r byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau; gwyddent fod Iesu yn gwahodd, "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." Ac yr oedd hyny yn ddigon ganddynt hwy; credasant, a daethant yn gadwedig. A thithau yn gwybod y pethau hyn, paham y byddi farw?

Gwrandewch beth a ddywed y dysgybl yr oedd yr Iesu yn ei garu, ac i'r hwn y rhoes efe o'r nefoedd ddadguddiad neillduol, am gyfeiriad comisiwn yr efengyl: "Mi a welais angel arall yn ehedeg yn nghanol y nef, â'r efengyl dragywyddol ganddo, i efengylu i'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear." Yr wyt tithau, O ddyn, ymhlith y rhai sydd yn trigo ar y ddaear; ac fe efengylir, gan hyny, i ti. Ië, ond fe allai

nad ydwyf fi o'r iawn genedl, llwyth, neu iaith. Ydwyt! i efengylu—"i bob cenedl, a llwyth, ac iaith, a phobl."

Ai Iuddew y'th elwir di? Y mae'r efengyl i'r Iuddew yn gyntaf. Na, nid Iuddew mo honof. Y mae yr efengyl "hefyd i'r Groegwr."

Ai tlawd, dŵl, diddysg ydwyt? Os felly, yr wyt ti ymysg gwrthddrychau neillduol sylw yr efengyl. "Yr ydych yn gweled eich galwedigaeth, frodyr," ebe Paul wrth y Corinthiaid cristionogol. A pha fath rai ydoedd galwedigion Duw? "Yr ydych yn gweled—nad llawer o rai doethion yn ol y cnawd, nad llawer o rai galluog, nad llawer o rai boneddigion, a alwyd." Wel, a oes llawer o ryw fath wedi eu galw? O oes! Pa fath? Y mae yr apostol yn pentyru geiriau i ddangos pa fath rai mor isel oeddynt yn nghyfrif y byd. Nid ydyw yn eu galw yn bersonau ond yn "bethau;" ac nid oedd hyny yn ddigon; rhaid eu galw yn "ffôl-bethau y byd, gwan-bethau y byd, a phethau distadl y byd, a phethau dirmygus;" ac y mae yn eu dilyn yn y wêdd yna nes eu cael yn myned yn ddim o'r diwedd: "pethau nid ydynt." Ond y mae Duw yn dewis ac yn achub rhai fel hyna. Y mae efe yn rhoddi bôd iddynt yn Iesu Grist ei Fab ef. Chwi oedd yn bethau NID YDYNT,—"eithr YR YDYCH CHWI o hono ef yn Nghrist Iesu, yr hwn a wnaethpwyd i ni gan Dduw yn ddoethineb, yn gyfiawnder, yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth;" ac ynddo ef, dyna chwithau yn ddoeth, yn gyfiawn, yn sanctaidd, ac yn brynedig. Os tlodion ydych, "gwrandewch, fy mrodyr anwyl: oni ddewisodd Duw dlodion y byd hwn yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion y deyrnas yr hon a addawodd efe i'r rhai sydd yn ei garu ef?" Y mae Iesu Grist yn mawrhâu y gras sydd mor fynych yn cefnu ar bobl fawrion, ac yn wynebu ar y rhai bychain. "I ti," meddai, "yr ydwyf yn diolch, O Dad, Arglwydd nef a daear, am i ti guddio y pethau hyn rhag y doethion a'r rhai deallus, a'u dadguddio o honot i rai bychain. Ië, O Dad, canys felly y rhyngodd bodd i ti." Peth sydd wrth fodd Duw yw achub y tlodion.

A wyt ti yn blentyn i rïeni duwiol? Y mae cyfres o addewidion neillduol ar dy gyfer di. Addawodd Duw y byddai yn Dduw i'w bobl ac i'w hâd—yr enwaedai efe ar galon eu hâd, i garu yr Arglwydd eu Duw—y tywalltai efe ei Ysbryd ar eu hâd, a'i fen-

dith ar eu hiliogaeth. Casgl ynghyd y cyfryw addewidion mawr iawn a gwerthfawr; dwg hwynt gyda thi at orseddfainc y gras; danfon i mewn y *claim* sydd genyt; a phenderfyna, "Duw fy nhad, mi a'i dyrchafaf ef."

A wyt ti yn teimlo dy ddrwg a'th drueni, yn drallodus o herwydd pechod, ac yn awyddus am drugaredd? Y mae addewidion arbenig yn cyfarfod â thi. "Gwŷn eu byd y tlodion yn yr ysbryd, canys eiddynt yw teyrnas nefoedd. Gwŷn eu byd y rhai sydd yn galaru, canys hwy a ddyddenir. Gwŷn eu byd y rhai sydd arnynt newyn a syched am gyfiawnder, canys hwy a ddiwellir."

Neu, a wyt ti o'r ochr arall yn dy gael dy hun yn ddideimlad, heb un o nodau y rhai gwŷnfydedig hyny arnat? Dyma di yn ddyn eto; ac wele "i ddynion ewyllys da." Mae yr efengyl "yn dwyn iachawdwriaeth i bob dyn." At ddyn y mae wyneb ei chenadwri. Nid oes ar angelion Duw eisieu ei bendithion; ac ni chafodd angelion a bechasant gynnyg arnynt erioed; ond "ymddangosodd daioni a chariad Duw eu Hachubwr tuag at ddyn." O y dyrfa fawr o blant dynion sydd yn awr yn y nefoedd yn canu "Iddo Ef!" ac y mae yr iachawdwriaeth a'u hachubodd hwy yn rhad i ti heddyw. I mi? gofyni. "Ië, i ti." Tydi, yr hwn os edrychi i'th fywyd, a'i gweli yn un yrfa o bechu—i'th galon, a'i cei yn ddaeargell o drueni—at y ddeddf, a'i clywi yn dy ddedfrydu i farw—i'th gydwybod, na chei yno ond condemniad: yn y fath gyflwr, tro at yr efengyl, a hi a ddywed, Heddwch, heddwch! crêd yn unig; canys i'r Iesu y mae yr holl brophwydi a'r apostolion "yn dwyn tystiolaeth y derbyn pawb a gredo ynddo ef faddeuant pechodau, trwy ei enw ef." Pwy bynag wyt, ni raid i ti farw; o herwydd y mae Duw wedi rhoddi ei Fab, a'r Mab wedi ei ddyrchafu, "fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Yr wyf fi yn ammheu y derbynir fi, medd rhywun. Yr ammheu yna yn unig sydd yn dy gau allan. Nis gwn i ddim, meddi, a ydyw yn mwriad dirgel Duw fy achub i. Nid oes, ac ni cheiff fod, dim a fynot â bwriad dirgel y Goruchaf; nid ydyw yn cael ei amlygu at bersonau; ond y mae meddwl Duw wedi ei wneuthur yn amlwg yn hyn: y mae Efe yn foddlawn i roddi Crist, ac felly maddeuant, cyfiawnder, sancteiddiad, dyddanwch, a'r holl iachawdwriaeth, i'r neb a

gredo, pwy bynag fyddo. Paham, gan hyny, enaid, y byddi farw?

IV. "*Paham y byddwch feirw?*" *Ni raid i chwi feirw am eich bod yn annheilwng.*

Dyna sydd gan laweroedd fel rheswm am beidio dyfod ymlaen i dderbyn a mwynhâu goludoedd iachawdwriaeth. Yr wyf yn annheilwng, meddynt. Ond y mae yn anhawdd gwybod beth y mae llawer yn ei feddwl wrth ddywedyd eu bod yn annheilwng. Yr ydym bawb yn annheilwng o'r ffafr leiaf oddiwrth y Duw mawr a sanctaidd; ond pan elo dyn i edrych arno ei hun yn rhy annheilwng i'w gadw gan Grist trwy ras, dyna rith neu gau ostyngeiddrwydd. Balchder a deddfoldeb ysbryd yw yr hyn sydd yn dyfod â rhai pobl i gydnabod eu hannheilyngdod. Maent yn ceisio gwneuthur rhywbeth eu hunain tuag at haeddu bywyd o law Duw; a phan ddeuant yn ymwybodol na fedrant, yna y maent yn digaloni fel rhai annheilwng. Cynnygiwch iachawdwriaeth o ras iddynt, ac wele hwynt yn syrthio i geisio gwneuthur gweithredoedd i haeddu gras, i brynu Crist, i ennill maddeuant; ac wrth eu cael eu hunain yn methu, dyna hwy yn meddwl eu hunain yn rhy annheilwng i'w derbyn, ac felly yn cadw yn ol oddiwrth Iesu a'i ras. Ond paham y maent yn ffolach gyda bendithion iachawdwriaeth na chyda doniau rhagluniaeth? A ydych chwi, fy nghyfeillion, yn penderfynu na dderbyniwch ddim o law Duw ond a ellwch chwi deilyngu oddiwrtho? Yna nis anadlwch byth, ac ni chymerwch gymaint â dyferyn o ddwfr mwyach; canys nid ydych yn haeddu dim daioni. Yr ydych yn derbyn trugareddau natur a rhagluniaeth yn annheilwng fel yr ydych, heb wrthddadleu dim; a pha fodd na wnaech yn gyffelyb gydag iachawdwriaeth yr efengyl?

Yr ydym, yn Act. xiii. 46, yn cael yr Iuddewon "yn eu barnu eu hunain yn annheilwng o fywyd tragywyddol." Pa fath rai oedd y rhai hyny? Rhai yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, yn lle ymostwng i gyfiawnder Duw yn yr efengyl. Pan yr aeth Paul i bregethu cyfiawnder Crist iddynt, dyna hwy yn dirmygu, yn gwrthddywedyd, a chablu, ac felly yn gwrthod gair Duw. Dynion yw y rhai hyn, medd Paul, sydd yn eu barnu eu hunain yn annheilwng o fywyd tragywyddol. Nid ydynt mewn gwirionedd yn credu eu bod yn annheilwng; ond wrth geisio dyfod at yr uchel Dduw ar

sail eu teilyngdod eu hunain, yn lle dyfod yn eu hannheilyngdod, ac ymddiried yn nheilyngdod Crist drostynt, y maent yn ymarferol yn eu barnu eu hunain yn annheilwng o fywyd tragywyddol, ac wrth hyny yn syrthio yn ysglyfaeth i farwolaeth dragywyddol. Gwyliwch chwithau, fy nghyfeillion, gymeryd eich rhwystro gan rith-deimlad o'ch annheilyngdod i wneuthur defnydd o iachawdwriaeth gras. Os agorwch eich llygaid, chwi a welwch na thâl ond gras i'r annheilwng, ac na thâl ond yr annheilwng i ras.

Gofynwch i Paul pa faint o deilyngdod oedd ganddo ef pan y cafodd drugaredd; ac efe a etyb, 'Cymaint o deilyngdod ag a allasai fod yn perthyn i gablwr, erlidiwr, a thrahäus! Na, nid oeddwn i yn haeddu dim ond uffern oddiar law yr hwn y rhoes Duw bob barn iddo; ond dangos a wnaeth efe yn fy achos mai i gadw pechaduriaid, ïe, a'r penaf o honynt fel myfi, y daeth efe i'r byd. Yr annheilyngdod mwyaf oedd genyf fi; ond ar gyfer hyny yr oedd gras fy Arglwydd yn tra-amlhâu.' Yr oedd y mab afradlawn yn ei deimlo ei hunan yn llwyr annheilwng; ond efe a gododd ac a aeth at ei dad er hyny; ac wedi iddo fyned adref, ni chawn neb yn sôn am ei annheilyngdod ond efe ei hun. "Mwyach nid ydwyf deilwng," medd efe; ond yn unig am y ddarpariaeth ar ei gyfer yr oedd y tad yn dywedyd.

Yn hyn y mae'r ddadl rhwng Duw a dynion yn awr: mynent hwy fyned i'r nefoedd mewn ffordd âg y byddo rhywbeth yn ddyledus iddynt hwy—y gallont haeddu rhywbeth heblaw uffern oddiar law yr Arglwydd. Ond y mae Duw wedi penderfynu eu dwyn yno mewn trefn a rydd y clod i gyd iddo ei hun. Ac y mae gwir argyhoeddiad o bechod a thrueni, trwy yr hyn y mae yr enaid yn cael golwg gywir ar ei annheilyngdod, yn peri i'r rhai cadwedig ardystio, "Nid i ni, O Arglwydd, nid i ni, ond i'th enw dy hun dod ogoniant." Yn lle cymeryd dy annheilyngdod, fy enaid, yn esgus i aros yn ol, cymer ef yn rheswm i anturio nesu ymlaen, a dywed, Clywais, O Arglwydd, fod ynot drugaredd a gras i'r annheilwng, ïe, i'r annheilyngaf; minnau, druan drwg, a dröaf at dy orsedd. Arglwydd, gâd i mi fyw, a mi a'th ogoneddaf yn dragywydd!

V. "*Paham y byddwch feirw?*" *Nid oes achos i chwi feirw o herwydd dim nodedig a fu yn eich hanes blaenorol.*

'Y mae neillduolrwydd yn fy amgylchiad i,' medd ambell un, 'sydd yn gwneyd fy achos fel pechadur yn dywyll iawn. Gŵyr Duw mai pechadur mawr ydwyf; y mae goramledd a gorddrygedd yn perthyn i fy meïau, a'r rhai hyny wedi eu cyflawni yn erbyn goleuni cydwybod ac ymrysoniadau yr Ysbryd.' Os un felly ydwyt, bechadur, ni raid i ti anobeithio am iachawdwriaeth. Nis mynwn er dim iachâu dy friw yn esmwyth; croenio yr wyneb, a gadael y drwg yn llonydd. Dylit ymostwng a chywilyddio am yr anwireddau y gwyddost am danynt. Ond dywedaf er hyny yn hyf na raid i ti ddim marw o herwydd unpeth a phobpeth sydd wedi pasio. Gyda yr holl arbenigrwydd anhyfryd a all fod yn dy hanes, "crêd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi."

Pa beth oedd iaith yr Arglwydd Dduw wrth genedlaeth bechadurus, pobl lwythog o anwiredd, y rhai oedd yn offrymu ac yn gweddïo gyda dwylaw llawn o waed? "Ymolchwch, ymlanhewch, bwriwch ymaith ddrygioni eich gweithredoedd oddi ger bron fy llygaid; peidiwch a gwneuthur drwg; dysgwch wneuthur daioni." Ni waeth i ni heb geisio at ddim o'r fath; y mae'r beïau blaenorol yn sicr o'n damnio. Gadewch chwi rhyngof fi â'r rhai hyny, medd Duw. Edifarhewch chwi, a dychwelwch; "pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, änt càn wyned â'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlân." Pa beth bynag oedd eich nodweddiad blaenorol chwithau, a pha fath bynag yw eich cyflwr presennol, deuwch fel yr ydych at Dduw yn Nghrist, ac ni'ch gwrthodir. Y mae gwaed y groes, nid yn abl i lanhâu oddiwrth feïau bychain, ond oddiwrth euogrwydd y troseddiadau gwaethaf. "Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth BOB pechod."

Ymysg yr amrywiol wersi a ddysgir i ni gan Dduw yn y Bibl, yr ydym yn dysgu y ddwy wers hynod hyn: Nid oes yr un sanct yn rhy uchel i gwympo, ac nid oes yr un pechadur yn rhy isel i'w godi. Y mae Noah, Dafydd, Pedr, ac eraill, yn dysgu i ni y wers flaenaf; ac y mae Manaseh, Mair Magdalen, Saul o Tarsis, a llawer eraill, yn dysgu i ni y wers olaf. Edrych i fyny tua'r nefoedd, fy enaid, a chei weled pechaduriaid o'th fath di wedi eu hachub a'u gogoneddu. Ah, meddi, nid oes obaith i mi gael myned i fynwes Abraham; nid un fel myfi oedd Abraham fawr ei

ffydd. Ië, ond gras Duw a wnaeth y rhagor; ac y mae'r gras hwnw yn gymhwys ac yn agored i tithau. Yn nhomen eilunaddoliaeth y cafodd Duw Abraham, yn addoli haul a thân fel ei dadau (Jos. xxiv. 2, 3); a hwnw a wnaeth efe yn esiampl o ffydd i'r holl oesoedd. Oes, y mae mwy o ras yn nghalon Duw nag sydd o bechod, nid yn unig yn dy galon di, bechadur, ond yn yr holl fyd. Y mae efe "yn cadw trugaredd i filoedd;" y mae, megys, sypynau trugaredd ganddo ar y *counter* yn ystordŷ ei ras, yn barod i'w hestyn bob dydd i filoedd o bechaduriaid gyda'u miliynau o bechodau. Pa mor dlawd a dyledog bynag ydwyt ti, wele Dduw cyfoethog o drugaredd yn barod i'th dderbyn. Paham y byddi farw â'r fath orddigonedd i'w gael i'th gadw yn fyw? O'r fan lle yr wyt, gwaedda ar Dduw trugarog a graslawn,

"'D yw gras i ti ond gronyn;
Mae gras ar hyn o bryd
Ryw filoedd maith o weithiau
I mi yn well na'r byd!"

VI. "*Paham y byddwch feirw?*" *Ni raid i chwi feirw o herwydd eich anallu ysbrydol.*

Llawer sydd yn ymesgusodi yn wyneb galwadau yr efengyl, trwy ddadleu eu hanallu i gyflawni yr hyn a arddodir arnynt; ond pe baent yn gwir gredu eu bod yn analluog, hwy a ddeuent at allu Duw am gymhorth. Yr ydych yn galw arnaf i gredu yn Nghrist, meddi. Ydym; a thi dy hun a raid gredu tuag at fod yn gadwedig, ac nid neb arall drosot. Ond nis gallaf fi gredu o honof fy hun. Paham, ynte, nad wyt o ddifrif yn gofyn i Dduw am ffydd? canys "rhodd Duw ydyw." Oni ddywedir, medd rhywun, "Yr hwn a barhäo hyd y diwedd, hwnw a fydd cadwedig?" a pha fodd y gallaf fi, grëadur gwan, yn ngwyneb rhwystrau lawer, barhâu gyda chrefydd, os ymaflaf ynddi? Gelli, trwy ymddiried yn y Duw "a rydd nerth i'r diffygiol, ac a amlhâ gryfder i'r dirym. Y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd, a adnewyddant eu nerth; ehedant fel eryrod; rhedant ac ni flinant, rhodiant ac ni ddiffygiant."

Pan y dêl yn galedi ar bechaduriaid, clywir hwy yn fynych yn cydnabod yn alarus na wnaethant yr hyn a allasent. Mewn cystudd, ac yn ymyl angeu, byddant yn dygn gwyno am eu hesgeulusdra o foddion gras, ac fel y darfu iddynt golli eu hamser

gwerthfawr; a dechreuant yno weddïo yn ddifrifol. Oni buasai yn llawer haws iddynt weddïo mewn iechyd a hawddfyd? Tydi sydd yn cymeryd dy anallu yn esgus dros dy gyflwr digrefydd, mae dy holl hanes yn dy gollfarnu. Yr wyt yn gallu edifarhâu wedi i ti yn ddiofal wneyd bargen ddrwg yn y ffair neu'r farchnad; a pha fodd nad wyt yn edifarhâu am dy bechod, y peth na bu dim erioed mor ffôl a cholledol? Yr wyt yn credu dy gymydog; a phaham nas credi Dduw'r gwirionedd? Yr wyt yn caru dy geraint a'th gyfeillion; a pha fodd yr wyt yn methu caru dy Gymwynaswr penaf, a'r hwn sydd yn anfeidrol hawddgar? "Paham y gweriwch arian am yr hyn nid yw fara, a'ch llafur am yr hyn nid yw yn digoni?" Onid yw y fath appeliad bywiog at bechaduriaid yn profi y dylasent, ac y gallasent, dreulio eu harian a'u llafur—eu hamser, eu hiechyd, eu nerth, eu cyfleusderau—i ymofyn am y gwir fara i ddiwallu eu heneidiau?

Gwir yw fod "y gwynt yn chwythu lle y myno;" ond yr ydym ni i ledu yr hwyliau i ddysgwyl a derbyn a defnyddio yr awelon. Nid neb llai na'n Tad o'r nef a all roddi yr Ysbryd Glân; ond ei addewid ef, a'i arfer ef, yw ei roddi "i'r rhai a ofyno ganddo." Os yw y gymwynas yn werth ei chael, peth bychan i ti yw ei gofyn. Nid yw Duw yn myd ei ras, mwy nag yn myd natur a rhagluniaeth, yn bendithio diogi neb. "Enaid y diog a ddeisyf, ac ni chaiff ddim; ond enaid y diwyd a wneir yn frâs."

Paham y byddi farw yn hytrach na rhoddi cais têg ar wneuthur a elli? A phan, wrth ymdrechu, y cei bethau yn anmhosibl gyda thi, ti a'i gweli yn bosibl gyda Duw. Mae yr eiddil dirym yn myned yn hollalluog yn ngallu Crist. "Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist yr hwn sydd yn fy nerthu i."

VII. "*Paham y byddwch feirw?*" *Nid am fod gan Dduw ddim drwg-ewyllys i'ch dedwyddwch y rhaid i chwi feirw.*

Dyna a ddywed ar ol y testun: "Canys nid oes ewyllys genyf i farwolaeth y marw, medd yr Arglwydd Dduw; dychwelwch gan hyny, a byddwch fyw." Ac efe a ddywed eto yn y llyfr hwn, "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol, ond troi o'r annuwiol oddiwrth ei ffordd a byw." Pe buasai Duw yn ewyllysio i bechadur farw, yn ddïau ni adawsai i'w Fab ei hun farw drosto; ond "felly y carodd Duw y byd fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo

ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Dôs, fy enaid, hyd Bethlehem, ac oddiyno hyd Gethsemane a Chalfaria; ac wedi hyny ammheua gariad Duw os gelli. Paham y rhoes efe ei air i ti i'w ddarllen, a'i weision i ti wrando arnynt? a phaham y mae efe yn curo wrth ddrws dy galon trwy ymrysoniadau ei Ysbryd? Dangos y mae ei fod yn ymhoffi i ti droi a byw. Er fod yn gyfiawn iddo dy daflu i uffern, ac y gallai dy fwrw yno gyda yr hawsder mwyaf, nid hyny y mae yn ei ewyllysio. Os dy ddiwedd a fydd dystryw, hyny a fydd am i ti dy ddinystrio dy hun. "Dy ddrygioni dy hun a'th gosba di." Am i ti droi dy wyneb ato, fel y'th achuber, y mae ewyllys Duw.

"Paham, tŷ Israel,"—paham Gymry—"y byddwch feirw?" Duw sydd yn gofyn; ac yn unig o galon rasol Duwdod y gallasai y fath ofyniad darddu. Nid gofyn y mae, Paham yn ddiachos y gwrthryfelwch i'm herbyn? paham y tynasoch euogrwydd a thrueni arnoch eich hunain? paham y gwnaethoch yr hyn sydd yn haeddu marwolaeth? er mor brïodol a fuasai y cyfryw ymholiadau; ond, Paham, er eich holl ddrwg dirfawr, y byddwch feirw, gan fod iachawdwriaeth wedi dyfod at eich drysau, a maddeuant, tangnefedd, a bywyd, yn cael eu cynnyg i chwi?

Paham y bydd pechaduriaid feirw? Paham y mynant rodio y ffordd sydd yn arwain i uffern obry? Y rheswm ydyw, am eu bod yn casâu y bywyd yn ei natur, ac yn caru angeu yn ei achosion. Pan y gwelant nad oes ffordd i fod yn ddedwydd heb fod yn sanctaidd—fod yr efengyl yn ysgaru rhyngddynt â'u hoff feïau, y mae rhywbeth yn eu hysbrydoedd yn penderfynu, Doed a ddelo, nis gadäwn ein pechod, ac am hyny nis derbyniwn Grist. Cariad at Sodom a ddyfethodd wraig Lot. Y maes a'r fasnach a attaliodd y gwahoddedigion rhag dyfod i brïodas Mab y Brenin. O chwant drud, er mwyn yr hwn y collir teyrnas nefoedd!

Paham y byddwch feirw? Nis gellwch chwi feirw ond trwy ddirmygu unig drefn bywyd. Wedi i chwi droseddu'r ddeddf, dyma yr efengyl yn cynnyg i chwi ymwared; a threfn olaf Duw am eich cadw yw hon. Esgeuluswch y drefn hon, a pha fodd y diangwch? Yn y pwll dwfn y syrthiasoch iddo, dyna y

rhaff gref wedi ei bwrw i lawr hyd atoch; os nad ymaflwch yn hona, rhaid i chwi suddo yn dragywydd. Pan gauwyd drws cyfammod gweithredoedd, agorwyd drws gobaith cyfammod gras; ac os nad eir i mewn trwy hwn, rhaid aros oddiallan gyda'r cŵn trwy'r nos hirfaith. Anfoned Duw y gofyniad hwn i eigion eich cydwybod cyn eich claddu yn nystryw, Paham y byddwch feirw?

## PREGETH XX.

### EDRYCH AR IESU.

HEBREAID xii. 2: "Gan edrych ar Iesu."

Y MAE pawb sydd yn arfer darllen y Bibl yn cofio yr hanes, pan yr oedd y sarph danllyd yn lladd plant Israel yn yr anialwch, i'r Arglwydd gyfarwyddo Moses i wneyd sarph o brês, a'i gosod ar drostan; a phawb a frethid ac a edrychent ar hòno a fyddent byw. "Ac," medd Iesu Grist, "megys y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffeithwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Yr oedd dyrchafiad y sarph ar drostan yn gysgod o ddyrchafiad Crist ar y groes; ac yr oedd yr edrych, trwy yr hyn y deilliai rhinwedd ac iechyd i'r brathedig, yn arwydd o'r credu, trwy yr hyn y mae pechadur colledig yn dyfod i feddiant o iachawdwriaeth y groes. Trefn y Goruchaf oedd i bwy bynag a frethid ac a edrychai ar y sarph brês gael byw; felly medd Mab Duw, "A hyn yw ewyllys yr Hwn a'm hanfonodd i: cael o bob un sydd yn gweled y Mab, ac yn credu ynddo ef, fywyd tragywyddol."

Heb gyfyngu ein sylwadau oddiwrth eiriau y testun at amcan gwreiddiol eu llefariad, ni a graffwn ar y Gwrthddrych a osodir ger bron, a'r gweithrediad sydd yn uno yr enaid a'r Gwrthddrych hwnw. Y Gwrthddrych yw, "Iesu, Pentywysog," neu Awdwr, "a

Pherffeithydd ein ffydd ni;" a'r ffordd y mae Efe yn dechreu ac yn perffeithio ffydd yn enaid pechadur, ydyw ei godi i edrych arno ei hun.

Dyma fel y mae gras yn dechre yn y galon, a dyma fel y mae yn parhâu ac yn cynnyddu; ac fel hyn, hefyd, y mae yn cael ei berffeithio ac yn troi yn ogoniant: trwy edrych ar Iesu. Edrych ar y pren gwaharddedig a'n dyfethodd ni, a thrwy edrych ar Grist, Pren y bywyd, ein hiachëir. Mae yr iachawdwriaeth yn gynnwysedig mewn rhan yn y gwaith a wnaeth Duw dros y pechadur, ac mewn rhan yn y gwaith y mae yn ei wneuthur ynddo a thrwyddo. Y peth a wnaed drosto oedd darpar y Gwrthddrych, a'r peth a wneir trwyddo yw edrych ar y Gwrthddrych hwnw; a Duw sydd yn rhoddi'r llygad, a'r nerth i weled, tuag at feddu bywyd. Os oedd plant Israel i gael bywyd trwy edrych, yr oedd raid iddynt gael gwrthddrych i edrych arno; ac yr oedd darpar a gosod hwnw yn gwbl o Dduw. Ond yr oedd yn rhaid edrych wedi hyny ar y gwrthddrych hwnw; ac yr oedd hyn yn cael ei wneyd, trwy help Duw, gan y dyn. Felly y cawn Ioan yn dangos fel y mae yr iachawdwriaeth, sydd yn wreiddiol yn Nuw, yn dyfod i feddiant pechadur. "Y bywyd tragywyddol, yr hwn oedd gyda'r Tad—a eglurhäwyd i ni. Y bywyd hwn sydd yn ei Fab ef; a'r hwn y mae'r Mab ganddo, y mae'r bywyd ganddo." Ffynnon a gwreiddyn y bywyd tragywyddol yw ewyllys y Tad. Ei Awdwr yw ei Fab ef; ffrwyth ei gyfryngdod a'i haeddiant ef ydyw. Ac yna, y neb sydd yn gweled y Mab, ac yn credu,—"yr hwn y mae'r Mab ganddo, y mae'r bywyd ganddo." Mae'r bywyd yn Nuw fel ei ffynnon, yn Nghrist fel ei gyfrwng, ac yn y pechadur fel ei nôd, trwy iddo gredu a derbyn.

I. Y Gwrthddrych i edrych arno: "Iesu."

Y mae Efe, fel y mae wedi ei wneuthur i ni, yn gwbl o drefniad Duw—ffrwyth penaf ei ddoethineb a'i ddaioni. Wrth edrych arno am fywyd, mae'r olwg yn cymeryd i mewn gyfansoddiad ei Berson, a'i holl waith fel Cyfryngwr; yr hyn oedd efe erioed, a'r peth y gwnaed ef mewn amser.

1. Rhaid golygu *ei Dduwdod.* Y mae awgrymu ei fod ef o'r ac yn y dechreuad, ac felly erioed, yn profi ar unwaith ei fod yn rhywun mawr. Y Bôd anghenrheidiol, tragywyddol, hunanhanfodol, hollddigonol, ac anghyfnewidiol,—rhaid fod perffeithrwydd y

fath un yn aneirif ac anchwiliadwy. Pan y mae yn cael ei godi i'r drostan i ti, enaid, edrych arno, dyma ei enw ysgrifenedig, "Eich Duw chwi! Jehofah ein cyfiawnder; Cyfaill Arglwydd y lluoedd; y Duw cadarn!" Er ei fod yn arall oddiwrth y Tad fel Person, eto y mae yn un âg ef mewn natur—"yn ddysgleirdeb ei ogoniant ef, ac yn wir lun ei Berson ef." Beth bynag yw daioni, mawrhydi, a chariad y Duwdod, mae'r cyfan yn Nghrist. Wrth edrych ar Iesu, yr ydym yn edrych ar Dduw—yn gweled y Tad.

2. Ei weled fel *Duw yn y cnawd.* "Am yr Hollalluog," ynddo ei hun, "nid allwn ni mo'i gael ef;" ac y mae pob awgrym am dano yn ddychryn i'r euog; ac felly tuag at i ni gael Mab Duw yn Waredwr, yr oedd raid ei wneuthur yn ddyn. Ac yn yr holl orchwyliaeth ryfedd hon, yr oedd y Drindod yn gweithredu: y Tad yn trefnu, yr Ysbryd yn ffurfio, a'r Mab yn cymeryd. Yn awr, fy enaid, dyma Wrthddrych dy ffydd yn dy natur; yr Hollalluog wedi ei gael, "a'i gael mewn dull fel dyn—mewn cyffelybiaeth dynion." Wele yr un Person, o herwydd undeb naturiaethau, yn Dduw cadarn ac yn fachgen wedi ei eni i ni—yn wreiddyn a hiliogaeth Dafydd—yn Arglwydd Dafydd ac yn fab iddo, ar yr un pryd. "Ynddo ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol."

3. Pan y mae pechadur yn edrych arno am fywyd, mae yn golygu *ei waith fel Cyfryngwr.* Mae yn rhaid fod y gwaith yn fawr pan, i'w gyflawni, fod yn rhaid gwneuthur Duw tragywyddoldeb yn beth nad oedd efe. Ni bu dim gwneuthur arno ef tuag at iddo ef wneuthur y bydoedd. Ond i gyflawni iachawdwriaeth, rhaid oedd gwneuthur Mab Duw o wraig; ac nid oedd hyny yn ddigon, yr oedd raid ei wneuthur dan y ddeddf, a'i wneuthur yn bechod ac yn felldith drosom. Tuag at iddo fod yn Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol, gweddus oedd ei berffeithio trwy ddyoddefiadau. Trwy farwolaeth y dinystriodd efe yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo. Trwy ei aberthu ei hun y dilëodd efe bechod. Yn nghrôg ar bren melldigedig y groes y daeth efe yn ffynnon bendithion tragywyddol i'w holl deulu. Yr oedd yn rhaid dyrchafu Mab y dyn ar y groes, fel y sarph ar drostan, er mwyn i'r edrychydd gael byw. Ei groes yw canolbwynt a bywyd ei holl grefydd ef; hi yw ei nerth ef ar y galon—yr hyn

sydd yn troi edrychiad arno yn egwyddor a meithriniaeth bywyd newydd.

Dyma y Gwrthddrych y dymunem gadw llygad pechadur i syllu arno byth: Iesu. Un âg awdurdod gorsedd Duw ganddo yn gweithredu, â natur gymhwys yn ei Berson i gyflawni'r gwaith, gydag urddas Dwyfol ar y cwbl,—efe yn ufuddhâu a dyoddef nes cyrhaedd yr ergyd olaf yn angeu'r groes: Iesu. Edrych arno, bechadur, nes plygu iddo; y mae efe "yn Awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhânt iddo." Yr ydym yn sylwi yn

II. Fod pechadur yn derbyn gwybodaeth iachawdwriaeth, a'r oll sy'n anghenrheidiol i'w ddedwyddwch, trwy edrych ar Iesu.

Wrth edrych arno ef, ni a welwn ac a gawn bob peth sydd yn eisieu arnom tuag at ein cadwedigaeth a'n gwynfydedigrwydd dros byth.

1. Wrth edrych ar Iesu, y mae pechadur *yn cael iawn olwg arno ei hun.*

Nis gall pechadur fod yn gadwedig heb ei adnabod ei hun, mwy nag y gall fod felly heb adnabod Duw. Os bydd gwybodaeth am dano ei hun yn eisieu, y mae pob gwybodaeth arall yn anmhosibl neu yn ddifûdd. Yn awr, yn unig wrth edrych ar Iesu y gall efe ei weled ei hun i fuddioldeb. Ymhob drych arall, y mae efe, fel y sylwa un, naill ai yn ei weled ei hun y peth nad ydyw ac yn ymchwyddo, neu yn ei weled ei hun fel y mae ac yn digaloni. Wrth y groes y gall dyn ddarllen ei histori ei hun yn gywir; ac yma efe a'i darllena gan alaru, gan obeithio, a chan ddychwelyd at yr Arglwydd.

Wrth edrych ar Iesu, y mae urddas dyn a'i drueni yn dyfod i olwg ei feddwl ar unwaith. Y mae doethion y byd hwn yn meddwl yn llawer rhy uchel am alluoedd ac am ogoniant presennol dyn, ac yn llawer rhy isel am ei dynged wreiddiol a'r gogoniant a all fod arno yn oes oesoedd. Mae yn wir nad ydym eto yn gweled pob peth wedi eu darostwng i ddyn; i'r gwrthwyneb yr ydym yn gweled dyn wedi ei ddarostwng yn gaeth i bob peth. Beth, er hyny? yr ydym ni yn gweled Iesu yn marw drosto. Gan hyny, beth a raid fod dyn yn ngolwg Duw ei hunan? pa beth a wna efe i'r fath un yn y diwedd? Os yw Duw wedi rhoddi ei

Fab dros ddyn, i ddwyn y felldith yn ei le, na synwch os gwelir efe eto yn dwyn dyn i gymdeithas ei angelion—yn ei godi i'r digrifwch sydd ar ei ddeheulaw yn dragywydd. "Yr hwn nid arbedodd ei brïod Fab, ond a'i traddododd ef drosom ni oll, pa wêdd gydag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?" Yn wir, nid crëadur distadl yw dyn, dros yr hwn y bu Crist farw. Os chwedl yw dy einioes di, O ddyn, nid chwedl ddisylwedd mohoni; y mae gwirionedd ynddi a adroddir mewn byd arall. Os tarth ydyw, y mae yna fynydd yn cael ei guddio gan y tarth hwnw, yr hwn a ddengys ei grîb yn awyr tragywyddoldeb wedi i'r niwl ddiflanu. Ydyw, y mae dyn yn grëadur anwybodus ac anmherffaith ddigon. Beth er hyny? Y mae ei natur mewn undeb â Pherson Mab Duw; y mae einioes Duw yn y cnawd wedi ei dodi yn aberth drosto; mae yn blaid mewn achos sydd yn cael ei drîn ger bron gorseddfainc y Goruchaf; mae ei Archoffeiriad ef yn wastad yn gweled wyneb y Tad, a hwnw yn neb amgen na Mab y Duw tragywyddol a brawd iddo yntau sydd ar y llawr. Edrych ar Iesu, fy enaid, a dywed, "Ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed!" Arglwydd, pa beth ydyw dyn pan fawrhëit ef nes rhoddi dy Fab i farw drosto!

Edrych ar Iesu, a thi a adnabyddi ddryghaeddiant dy bechodau. Y mae drwg pechod i'w ganfod mewn llawer drych; gwelir ef mewn barnau tymmorol, yn nghnofeydd cydwybod, ac yn arbenig yn y llid a fydd. Ond dyma fesurau newydd ar ei haeddiant heddyw: edrych ar Iesu yn noeth, yn boenus, mewn gwarth, yn nghrôg ar bren melldigedig y groes. Mi a wyddwn o'r blaen i bechod foddi'r byd, damnio dinasoedd â dymchweliad, a chau angelion dan dywyllwch tragywyddol. Ond beth y mae yn ei wneuthur heddyw? gwasgu y Duw cadarn i'r amgylchiadau poenusaf, gwarthusaf, a melldigedicaf! Edrych ar Iesu, bechadur, a gwel dy fai yn ddrwg annhraethol; gwel dy enaid wedi ei ddinystrio os anturi i ŵydd Duw yn euog; gwel y rhaid dy ddamnio os byddi heb Gyfryngwr; a thyst fod y ddamnedigaeth hòno yn un ofnadwy yw ing yr ardd a'r groes! Edrych ar Fab Duw yn Gethsemane: ei enaid yn drist iawn hyd angeu—ymdrech ei feddwl yn ngolwg cynnwysiad ofnadwy y felldith yn toddi ei natur i ddagrau, chwys, a gwaed—a darllena arno ef ddrwg dy bechod di! Edrych arno ar y groes: y cysuron Dwyfol wedi eu hattal; Duw yn gadael ei

Fab ei hun i drengu heb barch na chydymdeimlad—yn ei adael i gynddaredd cŵn a theirw annwn, i awch y cleddyf, dan dywyllwch ac mewn dyfnderoedd, a dywed, Dyna fy haeddiant i; a dyna sydd yn fy aros, oddigerth i mi dderbyn maddeuant gan Dduw yn enw y Crist a fu farw!

Edrych ar Iesu; oblegid wrth hyny yn unig y gelli ddal yr olwg arnat dy hun fel pechadur. Yma yn unig y gelli dremio arnat dy hun, gweled y peth ydwyt mewn gwirionedd, a gobeithio yn lle gwallgofi. Os edrychi arnat dy hun yn nrych y ddeddf, bydd yr olwg yn dy ladd. Os edrychi ar ddamnedigaeth rhai eraill, ni chei yno ond gwystl o'th ddamnedigaeth dy hun; "daw'r cwpan atat tithau." Ond wrth edrych ar Iesu, canfyddi gosbedigaeth ofnadwy dy bechod mewn un arall dani yn dy le. Mae'r groes, nid yn unig yn rhybudd ac esiampl o dy gosbedigaeth fel pechadur, ond yn rhyddhâd i ti, y pechadur sy'n credu; yn wystl o'th ddïogelwch, ac yn ddadl i'th ffydd. "Pwy yw yr hwn sydd yn damnio? Crist yw yr hwn a fu farw." Os edrychi ar Iesu yn ngogoniant y nef, ti a'i gweli yn gynllun o'th hapusrwydd, ac yn wystl o'th fwynhâd, os wyt yn credu ynddo â'r galon; ond ar y groes, ti a'i gweli yn aberth, yn Fachnïydd drosot, yn talu yn dy le. Fel hyn, gweli dy lawenydd yn ei dristwch, dy ogoniant yn ei warth, a'th fywyd yn ei angeu, a hwnw yn angeu melldigedig y groes.

2. Wrth edrych ar Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio, y daw pechadur *i adnabod Duw.*

Adnabod y gwir Dduw, a'i adnabod yn Nghrist, dyna yw y bywyd tragywyddol. Nis gall dyn fod yn ddedwydd oddieithr fod Duw yn ganolbwynt ei holl serchiadau; ac y mae yn anmhosibl gorphwys yn Nuw heb ei adnabod; ac nid oes un adnabyddiaeth o hono a ddwg y galon i ymddiried ynddo, ac i lynu wrtho mewn cariad a hyfrydwch, ond yr adnabyddiaeth o hono yn Nghrist.

Y mae dynion yn dyfod i rywfath o adnabyddiaeth o Dduw yn y grëadigaeth. Y mae tragywyddol allu a Duwdod i'w gweled yn eglur wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed; ac y mae'r meddylgar yn canfod Duw trwy hyny. Ond er iddo ei weled mewn crëadigaeth, nid oes ynddo heddwch tuag ato, nac arno fwy o debygrwydd iddo; y mae Duw heb ei ogoniant oddiwrtho ef,

ac yntau heb dangnefedd yn Nuw. Os bydd syllu ar ei weithredoedd yn crëu rhyw syndod ac addoliad yn ei galon, efe a ddyry yr addoliad hwnw i'r crëadur, ac nid i'r Crëawdwr, yr hwn sydd fendigedig yn oes oesoedd. Mae'r gwaith yn myned â lle'r Gweithiwr yn ei feddwl; ei ogoniant yn cael ei roddi i arall, a'i fawl i ddelwau cerfiedig. Felly eithaf yr amlygiad yna o Dduw ydyw achlysuro un o'r pechodau gwaethaf, a gwneyd y pechadur yn ddiesgus.

Y mae Duw yn cymeryd achlysur oddiwrth wrthryfel y byd i ddangos ei ddaioni mewn amynedd a hirymaros. "Y mae efe yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn." Pan yn "goddef i'r holl genedloedd fyned yn eu ffyrdd eu hunain, er hyny ni adawodd efe mohono ei hun yn ddidyst, gan wneuthur daioni, a rhoddi gwlaw o'r nefoedd i ni, a thymmorau ffrwythlawn, a llenwi ein calonau â lluniaeth ac â llawenydd." Eithr beth ydyw hyn wedi'r cwbl ond arbed hyd ddydd dial, i ddwyn allan yn nydd cynddaredd? Beth ydyw ond cyfleusdra i'r pechadur diedifeiriol drysori iddo ei hun ddigofaint erbyn dydd digofaint, a dadguddiad cyfiawn farn Duw? Mae'r cwbl yn diweddu mewn dangos calon dyn yn llawn ynddo i wneuthur drwg, a gallu a chyfiawnder Duw yn fwy eglur yn ei ddinystr.

Y mae cydwybod, hithau, yn dysgu am Dduw yn ei gyfiawnder a'i sancteiddrwydd pur. Ond yn lle cynnyrchu gobaith yn mynwes ei ddysgyblion, mae ei gwersi hi yn gyru yr euog i ffoi. Dan ei hathrawiaeth, mae'r galon yn llefain, "Pwy o honom a drîg gyda'r tân ysol? A pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd? A foddlonir yr Arglwydd â miloedd o feheryn, neu â myrddiwn o ffrydiau olew?" A phan nad yw gwaed yr anifeiliaid yn tycio, dacw y cyntafanedig, ffrwyth y groth, yn cael ei roddi dros bechod yr enaid. Ond er i waed, gwaed dynol, lifo yn ffrydiau llydain, Duw digllawn sydd yn y nef, a chydwybod pechod sydd yn y fynwes.

Dyma yr holl amgylchiadau yn annigonol i adferu dyn at Dduw. A oes eto yr un mynydd lle gwelir yr Arglwydd yn fwy dymunol? Oes un! mynydd Morïah, lle y mae yr uniganedig Fab ar uchaf y coed. Oes! y mae un sefyllfan eto lle y gall yr enaid weled Duw a byw. Dôs, bechadur, i holltau y graig; yno

bydd holl ddaioni Duw yn myned heibio o flaen dy wyneb, a'i enw yn cael ei lawn adrodd; ac, "Mi a drugarhâf!" yw y llythyren gyntaf. Edrych ar Iesu: ti a gei ddelw y Duw anweledig yn dy natur. Nid yw y Gŵr a burodd ein pechodau trwyddo ef ei hun neb llai na gwir lun Person Duw Dad. Dengys ei groes ef i ti, fy enaid, bethau na welodd dy lygad ac na ddychymygodd dy galon. Y mae cynghor ewyllys Duw, ei brif amcanion er tragywyddoldeb, yn cael eu hagoryd yma ger gŵydd y byd euog. A pha beth oedd hyny? Y bywyd tragywyddol, yr hwn oedd gyda'r Tad, a eglurhäwyd i ni. Yma y mae holl brïodoliaethau ei natur yn cydlewyrchu ac yn ymgusanu wrth ddwyn i ogoniant y rhai oedd o'r blaen yn etifeddion uffern. Ac wedi dangos ei hunan er gobaith ac iachâd yr enaid, mae yn dywedyd, Myfi, wele, myfi a fyddaf yn Dduw i ti! Os oes rhywbeth yn holl gyfoeth y Duwdod mawr a wna ddaioni i ti, mae'r cwbl at dy wasanaeth yn Nghrist.

Edrych, bechadur, i'r grëadigaeth, a gelli ddywedyd, Yma y mae mawredd a doethineb. Edrych i'r gyfraith, a dywedi, Yma y mae gwirionedd a phurdeb. Edrych i'r bygythion, a byddi yn dywedyd, Yma y mae cyfiawnder a digofaint. Ond edrych ar Iesu, a thi a gei ddywedyd, "Duw, cariad yw! Yn hyn yr eglurwyd cariad Duw tuag atom ni, oblegid danfon o Dduw ei uniganedig Fab i'r byd, fel y byddem fyw trwyddo ef." Pa le y mae'r doeth? pa le y mae ymholydd y byd hwn? traethant hwy gadernid gweithredoedd ofnadwy y Goruchaf, ac arswydant gan ofn drwg: mynegaf finnau fawredd ei gariad, ac a orfoleddaf dan obaith gogoniant.

3. Wrth edrych ar Iesu, y mae pechadur yn cael *gwybodaeth a meddiant o gyfiawnder i'w godi i ffafr ei Wneuthurwr.*

Un o syniadau mwyaf greddfol plant dynion ydyw fod Duw yn gyfiawn. "Oni wna Barnydd yr holl ddaear farn?" Oddiar hyny y gwelir fod yn rhaid wrth gyfiawnder perffaith i ymddangos yn ei ŵydd, neu syrthio yn euog ger ei fron a marw. Ond pa le i gael y cyfiawnder digonol, sydd gwestiwn ag y mae holl ymdrech dyn i'w ateb yn diweddu mewn pryder ac anobaith.

Edrych ar Iesu, bechadur, a chei ddeall yn gyntaf na cheir y cyfiawnder anghenrheidiol yn nhir y rhai byw. Wedi i bob peth arall fethu, y danfonodd Duw ei Fab. Pa bryd y daeth efe?

Pan oeddem ni eto yn weiniaid i gadw'r ddeddf, a'r ddeddf, hithau, yn wan i'n cyfiawnhâu ni; wedi i'r aberthau hir ddangos nas gallasent byth berffeithio yr addolydd, Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun, yr hwn a'i rhoddodd ei hun drosom ni, yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd. Cofia, pan y byddi di yn ceisio gwneyd cyfiawnder i ti dy hun, dy fod yn ymosod at yr un orchest â Mab Duw—yn cynnyg gwneyd yr hyn y daeth Duw i'r cnawd, ac i barthau isaf y ddaear, i'w gyflawni. Os ennilli di dy fywyd trwy dy waith dy hun, yr oedd gwaith Crist yn afreidiol, a'i farwolaeth yn myned yn ofer. Pan fyddi yn ymosod ar y fath amcan aruthrol, y mae Cyfryngwr y testament newydd yn gofyn i ti, A elli di yfed o'r cwpan yr yfais i hono, a'th fedyddio â'r bedydd y bedyddiwyd fi âg ef? A elli di gyflawni yr ufudd-dod a gyflawnais i, a marw y farwolaeth a ddyoddefais i? A elli di ogoneddu Duw ar y ddaear, cyflawni pob cyfiawnder i'r eithaf, a'th waith i ddiweddu mewn bedydd o ddagrau, chwys, a gwaed, offrymu dy hun yn ddifai i Dduw, a thrwy dywallt dy enaid i farwolaeth ennill i ti dy hun dragywyddol ryddhâd? O ddynion hunangyfiawn, edrychwch a diflenwch! Y mae gwneyd cyfiawnder i'th ddieuogi ger bron Barnwr pawb, peth na chostiodd i ti, bryfyn, mo dy foethau erioed, wedi costio ei fywyd i Fab Duw. Pe byddit yn nesâu at Dduw trwy ufudd-dod yr holl saint, a thrwy waed yr holl grëaduriaid, gan ddirmygu efe a ddirmygai dy ryfyg. Mae aberth y groes yn llefaru fod eisieu mwy na chrëadur i wneuthur cyfiawnder i droseddwr.

Dyna'r groes fel hyna, meddi, yn fy suddo i anobaith; a pha beth a wnaf? Edrych eto ar Iesu. Os oeddit yn gweled wrth edrych arno fod gweithred cyfiawnder yn beth anmhosibl i ti, ti a weli ynddo hefyd fod hyny yn beth afreidiol. Y mae efe ei hun wedi ei wneuthur i ni gan Dduw yn gyfiawnder. Erbyn trengu ar ei groes, dyna efe i ni "yr Arglwydd ein cyfiawnder." Wedi ei draddodi dros ein pechodau, efe a gyfodwyd i'n cyfiawnhâu. A oedd y ddeddf yn llefaru, "Gan farw y byddi farw?" mae'r farwolaeth hòno wedi ei dyoddef yn angeu'r Ceidwad. "Crist yw yr hwn a fu farw;" a phwy yw yr hwn sydd yn damnio? A ydyw'r ddeddf yn dywedyd, "Gwna hyn, a byw fyddi?" Hyny a wnaethpwyd i berffeithrwydd yn ei fywyd ef. Mae pob cyfiawnder wedi ei gyflawni yn ei fywyd, a phob bai wedi cael

ateb am dano yn ei farwolaeth. Tyred ato: cei dy ddieuogi trwy ei waed, a'th achub trwy ei fywyd ef!

Ië, ond pa fodd y'm cyfiawnhëir? beth sydd yn eisieu o'm tu i? Dim ond edrych. Mae'r cyfiawnder yn Nghrist, ac y mae Crist a'i gyfiawnder ar drostan yr efengyl. "Canys ynddi hi y dadguddir cyfiawnder Duw." Edrych, a bydd fyw. Pan yr oedd yr Arglwydd yn galw Abraham i olygu ei etifeddiaeth, efe a ddywedai wrtho, "Cyfod dy lygaid, ac edrych o'r lle yr wyt ynddo tua'r gogledd, a'r dehau, a'r dwyrain, a'r gorllewin; canys yr holl dir a weli, i ti y rhoddaf ef." Felly y mae Duw heddyw yn galw pechadur, Edrych o'r lle yr wyt ynddo—o'r cyflwr euog, annheilwng, a cholledig,—dyna'r fan i edrych; edrych o Bethlehem i Galfaria—o'r baban yn y preseb hyd y Tywysog iachawdwriaeth wedi ei berffeithio ar y groes; cyfod dy lygaid ar y cyfiawnder, y gras, y dedwyddwch sydd yn Nghrist Iesu; i ti y rhoddaf y cwbl! Mae trem ar y cyfiawnder sydd yn Nghrist yn ei feddiannu. Mae yr olwg arno yn ennill yr holl galon i'w garu; a'r hyn y mae Duw yn ei roddi, a'r enaid yn ei gofleidio, eiddo yr enaid ydyw.

4. Wrth edrych ar Iesu, y mae pechadur *yn cael ei wir sancteiddio a'i adnewyddu i ddelw Duw.*

Y mae Crist wedi ei wneuthur, megys yn gyfiawnder, felly hefyd yn sancteiddrwydd i bechadur; ac y mae hyn i ni yn anmhrisiadwy; o herwydd heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd.

Edrych ar Iesu, fy enaid, tuag at gael gwybodaeth am natur sancteiddrwydd. Mae ei orchymynion fel Brenin, ei athrawiaeth fel Prophwyd, a'i waith fel Offeiriad, yn oleuni ar y ddelw a fydd yn hynodi ei deulu byth. Beth yw sancteiddrwydd ond enaid wedi ei draddodi i athrawiaeth Crist, cydffurfiad â'i farwolaeth ef, argraff y groes ar dymher ysbryd dyn? Mae yna ronyn o sancteiddrwydd, yn wir, os yw yr enaid wedi ei godi i ansawdd tuag at bob gwrthddrych, cyfatebol i'w ymddangosiad yn wyneb croes Crist. Edrych ar Iesu yn marw, a dywed wedi hyny beth y mae efe yn ei haeddu oddiar dy law. Onid yw y Duw a'i rhoes i farw drosot yn teilyngu dy gariad a'th wasanaeth? Pa fodd y mae'r groes yn dy ddysgu i deimlo at bechod oedd yn gofyn y fath aberth? A oes rhywbeth yn ormod i ti wneuthur, neu i ti ymwrthod âg ef, er mwyn llesâu dy frawd dros yr hwn y bu Crist

farw? Astudia'r groes yn ddyfal; o herwydd ei gwersi hi wedi eu toddi i dy ysbryd ydyw sancteiddrwydd. Os wyt yn teimlo yn dywyll yn y fath wersi, cofia fod Iesu'r Prophwyd yn esbonio Iesu'r Offeiriad. Mae ei athrawiaeth yn eglurhâd ar ystyr ei groes, a'r groes yn agoriad ar athrawiaeth a moesau ei grefydd. Yn ngoleuni'r groes yr wyt yn deall rhywbeth beth yw croeshoelio'r cnawd—beth yw marw i'r byd—beth yw rhoi dy einioes dros y brodyr—beth yw caru Duw am iddo ef yn gyntaf ein caru ni—beth yw caru ein gelynion, gwneuthur da i'r rhai â'n casânt, a gweddïo dros y rhai a wnêl niwed i ni,—dyledswyddau sydd yn ymddangos yn ddyrus ac anmhosibl i'r dyn anianol, ond yn rhesymol wasanaeth yn ngolwg y cristion wrth y groes. Ynddi a thrwyddi hi y ceir gwybodaeth gywir, ddofn, fywiol, ac effeithiol o'n holl ddyledswydd at Dduw a'n cymydog; a dyna yw sancteiddrwydd.

Edrych ar Iesu, a thi a gei ynddo ef gynllun ac esiampl o sancteiddrwydd. Yn Nghrist y mae rhinwedd megys wedi ymgnawdoli—yr athrawiaeth am sancteiddrwydd wedi ei throi yn ffaith, yn byw ac yn gweithio o flaen ein llygaid. Dyma un o ddybenion Duw yn anfon ei Fab: fel y caem ni nid yn unig glywed ganddo, ond gweled ynddo, a hyny yn ein natur ni ein hunain, gynllun o'r holl ogoniant a fydd arnom yn dragywydd. Efe a sancteiddiodd ei brïod Fab, ac a'i danfonodd i'r byd, fel y byddai yn gynddelw, yn gynllun o'r holl deulu; ac y mae yn sancteiddio'r teulu i'w gwneyd "yn unffurf â delw ei Fab ef, fel y byddai Efe yn gyntafanedig ymhlith brodyr lawer." Edrych, ynte, ar y Brawd henaf yn mhurdeb ei natur, gogoniant ei rasau, a pherffeithrwydd ei ufudd-dod; a chei yr iawn ddrychfeddwl am sancteiddrwydd. Pa le y mae gwir sancteiddrwydd? a ydyw efe yn rhywle heblaw yn y dychymyg tlws am dano? Ydyw! dacw sancteiddrwydd yn faban diniwed yn y preseb, yn dwyn calon Duw a dyn yn ei febyd, yn ddarostyngedig i'w rïeni, yn troi o gwmpas gwaith ei Dad yn ddeuddeg oed, ac wedi hyny yn ei fywyd cyhoeddus yn cyflawni pob cyfiawnder, yn rhodio oddiamgylch gan wneuthur daioni, yn zelog dros Dduw ac eto yn cydddwyn â dynion, yn hallt yn erbyn pechod ac eto yn dyner wrth bechadur, yn dyoddef dirmyg heb chwerwder, ac yn talu cariad am gâs. O'r diwedd wele yr egwyddorion oedd yn addurno ei

natur o'i debyd, ac yn ffrydio yn ufudd-dod ei fywyd, yn tòri allan i'w heithafoedd ar y groes. O fy natur wyrog, anwadal, rwgnachlyd! pwy a fuasai yn meddwl fod natur ddynol yn abl i'r fath beth? cariad, amynedd, zêl, llarieidd-dra, yn blaguro hyd a thrwy angeu, ïe angeu'r groes—dyn yn glynu wrth Dduw pan yr oedd Duw wedi ei adael—haul y Presennoldeb Dwyfol yn machludo ar y ddynoliaeth, ac eto ei blodau têg heb wywo, a'i harogl yn llanw ystafelloedd angeu! Fy Arglwydd a'm Duw! fy Iesu a'm Prynwr! mi adawaf ogoniant dy Dduwdod i ti dy hun; ond am berffeithrwydd dy ddynoliaeth, ar hyny yr edrychaf, canys dyna'r perffeithrwydd sydd i fod yn fuan arnaf finnau. Pe bae genyf ffydd Abraham, cariad Ioan, a zêl Paul, ni byddwn wedi cyrhaedd fy nôd; ni foddlonaf ar ddim llai, ac nis gallaf geisio dim mwy, na bod yr un ffurf â'th ddelw di, yr Hwn a'm ceraist, ac a roddaist dy hun drosof!

Wedi'r cwbl, nid digon yr hyn a nodwyd tuag at ein sancteiddio. Pe buasai Mab Duw yn gadael y byd wedi rhoddi i ddynion athrawiaeth ac esiampl o sancteiddrwydd, a dim yn ychwaneg, ni buasai ond gwneuthur eu trueni yn fwy sicr ac anesgusodol. Beth pe buasai yn aros ar hyny, gan ddywedyd, 'Dyma i chwi, blant dynion, y gwirionedd am sancteiddrwydd; dyma'r peth y mae'r ddeddf yn ei ofyn genych; ac nid gwiw i chwi ddywedyd ei bod hi yn gofyn gormod oddiwrth ddynoliaeth, canys wele natur ddynol yn fy Mherson i yn llon'd y gofyn hwnw. Wele yr holl ysbrydolrwydd a'r purdeb a geisia hi yn bosibl i ddyn; o herwydd chwi a'u gwelwch ynof fi. Os oes ynoch chwi ryw anallu i ufuddhâu i'r ddeddf, eich drwg chwi yw yr achos; y ddeddf gymhwysaf i ddyn yw hon a roddwyd iddo:'—pe fel hyna, a dim ond hyna, buasai Mab Duw wedi dyfod i'r byd i ddamnio'r byd yn hytrach na'i achub. Buasai felly ei athrawiaeth a'i esiampl yn dangos beth a ddylasem fod, ac yn ein condemnio am ein diffyg; buasai yn gadael dyn heb esgus am ei bechod, gyda'i air i'r byd, a'i oes yn y byd, yn cnoi yn nghydwybod y pechadur dros byth. Ond, bendigedig fyddo Duw! y mae gras a gwirionedd—gras at a chyda gwirionedd—wedi dyfod trwy Iesu Grist: gwirionedd am sancteiddrwydd ac ysbrydolrwydd y gyfraith, a gras i'w hysgrifenu yn y galon. Y mae aberth ac iawn Crist yn adferu pechadur i ffafr Duw, ac yn achos haeddiannol o'i holl sancteiddrwydd. "Yr

ydym ni wedi ein sancteiddio trwy offrymiad corff Iesu Grist unwaith. Iddo Ef yr hwn a'n carodd ni, ac a'n golchodd ni oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun—y byddo y gogoniant." Beth yw angeu'r groes ond ffynnon wedi ei hagoryd i bechod ac aflendid? a beth yw athrawiaeth ac esiampl y Messïah ond moddion i ddwyn y ffrydiau iachusol i'r galon? Mae Ysbryd sancteiddiad yn dyfod atom yn ffordd y groes, a'r groes yn effeithiol trwy yr Ysbryd i adnewyddu pechadur.

Ac y mae yr holl orchwyliaeth sancteiddhäol yn myned ymlaen drwy edrych. "Nyni oll âg wyneb agored, yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd, megys mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant, megys gan Ysbryd yr Arglwydd." Edrych ar Iesu, bechadur: mae yr olwg arno yn attalfa ar rwysg llygredigaeth, yn difa hen annuwioldeb y meddwl, ac yn dwyn y galon allan mewn edifeirwch, gobaith, cariad, a llawenydd, nes y mae'r pethau hyn yn dyfod o'r diwedd yn dymher sefydlog y galon, a'r pethau sydd yn wrthwyneb wedi eu darostwng. O y mynydyn dedwydd pan fyddo pob gwrthddrych dynol wedi cilio, pob teimlad daearol wedi diflanu, yr enaid, wrth syllu ar Grist, yn cael ei newid, nes y byddo Crist yn ei weled ei hunan yn yr enaid!

5. Edrych ar Iesu yw *cefnogiad a grym y cristion i barhâu hyd y diwedd, a'i gymhelliad effeithiol i redeg yr yrfa a osodwyd o'i flaen.*

Dyma gysylltiad y testun: "Rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen ni, gan edrych ar Iesu." Nid, rhedwn ar ol edrych unwaith, ond rhedwn gan edrych yn barhäus. Cawn esiampl i redeg yn "y cwmwl o dystion sydd wedi ei osod o'n hamgylch;" ond cawn esiampl, a nerth i gydffurfio â'r esiampl, trwy edrych ar Iesu. Y mae Efe wedi rhedeg yr yrfa ei hunan, yn sefyll ar y pen draw, yn barod i'n nerthu ar yr yrfa, ac i'n coroni wedi ei gorphen. Beth os yw'r cwrs yn rhedeg trwy anialwch lle nad oes na bwyd na dïod? Edrych ar yr Hwn a fedr roddi bara o'r nef a dwfr o'r graig. Beth os ä yr yrfa â mi trwy'r glynoedd dyfnion o adfyd? Edrych ar y Gŵr sydd yn sefyll rhwng y myrtwydd yn y pant. Beth os bydd y teyrnasoedd yn chwalu yn fy nyddiau, y ddaear a'i throsolion yn ymddattod? Edrych arno Ef a ddywed, "Myfi sydd yn cynnal ei cholofnau." Beth os daw yr adeg yr amlhâ anwiredd, yr oera cariad llawer, ac y byddaf finnau yn blino a

diffygio? Edrych ar "yr Hwn sydd nerth i'r diffygiol, ac a amlhâ gryfder i'r dirym. Y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd a adnewyddant eu nerth."

"Trwy gredu, ti orchfygi
Elynion rif y gwlith:
Crêd yn yr Oen yn unig;
Fe 'th wna yn hapus byth."

Y mae genyf ychydig eiriau eto i'w cyfeirio at wahanol ddosbarthiadau.

1. Y mae rhai na cheir mo honynt yn edrych yn ddifrifol i un man am iachawdwriaeth. Eu holl ymofyniad hwy ydyw, "Beth a fwytäwn? beth a yfwn? ac â pha beth yr ymddilladwn?" Mae yr enaid wedi anghofio ei wir anghen, ac yn was i'r blysiau corfforol, yn rhagddarbod dros y cnawd, ac yn peri i'w lygaid edrych ar y peth nid yw. Dacw y naill yn codi ei olwg ar olud y byd, fel Lot ar wastadedd yr Iorddonen, a'r llall yn edrych ar y gwîn pan fyddo coch yn y cwpan, neu â'i lygaid yn edrych ar wragedd dyeithr; ac fel hyn, trwy wasanaethu chwantau ac amryw feluswedd, yn cynllwyn yn erbyn eu heinioes eu hunain. O ddyn, yr wyt yn ddigon synwyrol, o bosibl, i ddarpar mewn ieuenctyd gyferbyn â henaint, neu mewn iechyd a hamdden at anhwylder a chystudd; eithr onid edrychi ymhellach? gwel beth sydd tu hwnt i hyny. Meddwl am yr awr y bydd y chwantau a'r gwrthddrychau yn cyd-ddiflanu, a'r hen frathiadau gwenwynig a gafodd y gydwybod ganddynt yn dechre chwyddo a llosgi; a pha beth a fydd y diwedd? Ai yr enaid annedwydd ar unwaith yn dirnad ei hanfodiad diddiwedd a'i gyflwr diobaith, ac yn marw, marw, marw byth? Neu, os bydd rhyw argoelion bywyd eto yn aros ynddo, yr unig fywyd a ddeillia o'r farwolaeth hòno a fydd cenfigen, cynddaredd, a chablu Duw! Bechadur, O bechadur! edrych ymlaen llaw ar einioes wedi darfod, dy chwantau wedi pallu, byd yn cilio, a'r dyfnder yn agor ei safn am danat; meiddia edrych ar y posiblrwydd, ar y tebygolrwydd, ïe, os heb dröedigaeth, ar y sicrwydd, y byddi di ryw awr yn cael dy ddamnio; ac yn dy ddychryn gan y fath ragolwg ofnadwy, edrych tua'r groes; a bydd fyw. Os â hen frathiadau'r seirph i losgi o dy fewn, cwyd dy olwg tua throstan yr efengyl; canys ni chollir pwy bynag a gredo.

2. Y mae eraill yn cymeryd arnynt edrych ar Iesu; ond nid

ydynt yn edrych arno er iachawdwriaeth. Edrych y maent à llygad y deall yn fwy nag à llygad y galon. Dyma'r gwirionedd am lawer o'r Cymry y dyddiau hyn. Darllenant y Bibl, gwrandawant bregethau, crynhöant yn y meddwl syniadau cywir am Grist, ac ymdrechant i gofio y pethau y byddant wedi eu casglu, ac i adrodd y pethau y byddant yn eu cofio; beirniadant ar y pregethau a'r materion, a dadleuant yn eu cylch. Ond pa le y mae yr edrychiad ar Grist sydd yn bywhâu'r galon, ac yn newid i'w ddelw? Nid pwnc i feirniadu arno, ond Person i gymdeithasu âg ef, yw Iesu Grist. Ai nid ydym, lawer o honom, yn y dyddiau hyn yn troi yn moddion gras yn debyg i'r dysgyblion yn troi o amgylch bedd yr Iesu? Dacw hwynt yn petruso, yn synu, yn ofni, yn dadleu; yn gweled y fan lle y gorweddodd, a'r napcyn a fu am ei ben, a'r amdo a fu am dano; "ond ef nis gwelsant." Felly yr ydym ninnau yn gweled y sacramentau sydd yn ei bortreiadu, ac yn clywed y dystiolaeth am dano, ond, yn rhy fynych, heb ei weled ef. Da i'r dysgyblion ydoedd i'r Gŵr ei hunan yn y man sefyll yn eu canol, a dywedyd wrthynt, Tangnefedd i chwi! a dangos iddynt ei ddwylaw a'i ystlys. Dyna a leipiodd eu holl ammheuon, a adgyweiriodd Pedr, a dòrodd lyffetheiriau Thomas, a sychodd ddagrau Mair, ac a barodd i'r holl ddysgyblion seinio mewn gorfoledd, "Ni a welsom yr Arglwydd!" Rhodder i chwithau, fy nghyfeillion, yr olwg hon arno yn ysbrydol, "fel y credoch chwi mai yr Iesu yw y Crist, Mab Duw, a chan gredu, y caffoch fywyd yn ei enw ef!"

3. Y mae eraill i'w cael yn edrych gormod iddynt eu hunain a rhy fychan ar Grist. Ei hunan yw natur myfyrdod yr enaid, a thestun ei ymddyddan yn feunyddiol. Y mae efe yn llawn llygaid o'r tu ol i weled beth a fu, ac yn llawn llygaid o'r tu fewn i weled ei galon; ond y mae arno eto eisieu llygaid o'r tu blaen i edrych tua'r groes. Gwir yw fod hunanymholiad yn ddyledswydd bwysig a buddiol; ond y mae hir edrych ar ddrwg neu dda ynom ein hunain, heb droi at yr Arglwydd oddiwrthym ein hunain, yn llygru ac nid yn sancteiddio'r meddwl. Wrth syllu ar ei rinwedd, mae yr enaid yn myned i ymfalchïo; ac wrth syllu ar ei fai, y mae yn ymollwng, yn gwario ei nerth mewn achwyniadau diffrwyth, ac o'r diwedd, yn troi yn anniddig, tuchanllyd, a chenfigenus. Beth pe buasai y brathedig gan y seirph tanllyd yn ymroi i edrych

ar ei archoll, ei lygad yn ymsefydlu ar ei glwyf, heb ganddo ond ocheneidio a llefain wrth gael hwnw yn chwyddo a llidio fwyfwy, ac heb fyth droi ei olwg i fyny? marw yn anocheladwy y buasai y fath un. Oni lefasid ar y cyfryw gan rywun craff a thosturiol, Y dyn! ai caru angeu yr ydwyt? tro dy lygaid oddiwrth dy friw, ac edrych i fyny ar y peth dysglaer sydd ar y polyn draw; edrych, edrych ar y sarph brês, a byw eto fyddi! Nid yw credadyn byth mor ddedwydd â phan y mae, trwy ffydd a chariad, yn edrych ar Iesu—yn syllu, yn synu, yn addoli, nes anghofio ei hun.

Fy enaid, beth bynag yw dy gyflwr, dy amgylchiad, neu dy deimlad, digon i ti yw hyn o gynghor: Edrych ar Iesu. A ydyw dy golledigaeth yn dy arswydo? Gwrando air yr Arglwydd: "Tröwch eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear, fel eich achuber." A wyt ti yn methu edifarhâu? Clyw yr addewid: "Hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wanasant; galarant hefyd am dano fel un yn galaru am ei uniganedig." Ai tywyll a digysur ydyw arnat? Dyma fel y troes ar eraill o dy flaen: "Edrychasant arno, a hwy a oleuwyd, a'u hwynebau ni chywilyddiwyd." A wyt yn cael dy galon yn ddaearol? Dacw Paul yn edrych ar y groes nes y croeshoeliwyd y byd iddo ef, ac yntau i'r byd. Edrych di ar Iesu yn dy ddysgwyliad, ac yntau a edrych arnat tithau yn ei ras, ac a'th gyflawna â'i gyflawnder ef. Wrth edrych ar y cae gwenith yn misoedd Mehefin a Gorphenaf, bûm yn dychymygu fod yr haul o'r nefoedd yn dywedyd, Edrych tuag ataf fi, dywysen, a minnau edrychaf arnat tithau, nes tuag Awst a Medi, y byddi wedi dy droi o'r lliw gwyrddlas yna i fod o'r un lliw melyn â minnau; edrych arnaf fi, a mi a edrychaf arnat tithau, nes dy lenwi a'th addfedu, a pheri i ti blygu dy ben gan bwys ffrwythlondeb. Edrychwn ninnau ar Iesu, ac o'r adlewyrch o'i ogoniant ef y newidir ninnau i'w ogoniant. Trwy edrych arno y cafodd y cristion ei fywyd ar y cyntaf; parhâu i edrych arno a'i cryfhäodd ac a'i cynnyddodd; edrych arno yn afon angeu a wna iddo fyned drwyddi yn ddïogel, ïe, yn gysurus; ac yna caiff fod byth gydag ef, yn gweled ei ogoniant, gan fod yn gydgyfranog o hono.

# PREGETH XXI.

## TYWALLTIAD YR YSBRYD.

JOEL ii. 28, 29: "A bydd, ar ol hyny, y tywalltaf fy Ysbryd 'ar bob cnawd; a'ch meibion a'ch merched a brophwydant; eich henuriaid a welant freuddwydion; eich gwŷr ieuainc a welant weledigaethau; ac ar y gweision hefyd ac ar y morwynion y tywalltaf fy Ysbryd yn y dyddiau hyny."

ACTAU ii. 16, 17, 18: "Eithr hyn yw y peth a ddywedwyd trwy y prophwyd Joel: A bydd yn y dyddiau diweddaf, medd Duw, y tywalltaf o'm Hysbryd ar bob cnawd; a'ch meibion chwi a'ch merched a brophwydant, a'ch gwŷr ieuainc a welant weledigaethau, a'ch henafgwyr a freuddwydiant freuddwydion; ac ar fy ngweision ac ar fy llawforwynion y tywalltaf o'm Hysbryd yn y dyddiau hyny; a hwy a brophwydant."

Y MAE yr ymadrodd "ar ol hyny" gan y prophwyd, ynghyda'r ymadrodd cyfystyr âg ef—"y dyddiau diweddaf"—gan yr apostol, yn golygu dyddiau Crist a'r efengyl. Felly y mae yr addewid hon am yr Ysbryd yn cael ei chyfyngu i'r tymmor hwnw. O flaen y dyddiau hyny nid oedd yr Ysbryd wedi ei roddi; ac ar eu hol hwynt nid ymrysona â neb mwyach yn dragywydd. Eto y mae yn rhaid i ni ddeall na bu y byd yma erioed yn hir heb Ysbryd yr Arglwydd yn gweithio ynddo. Cyn y cwymp yr oedd ein rhïeni cyntaf yn llawn o hono. Efe oedd gwreiddyn eu bôd hwy, ynghyda holl oleuni, sancteiddrwydd, a gogoniant eu natur. Ac os oedd melldith y cwymp yn cynnwys ymadawiad yr Ysbryd â dyn, a diflaniad ei holl gynnyrchion bendigedig o'r enaid, a rhoddi y crëadur i fyny i'r diafol a phechod

a'i holl ganlyniadau o'i ran ef am byth, eto yr oedd Mab Duw wedi ymrwymo i "brynu oddiwrth felldith y ddeddf, fel y delai bendith Abraham ar y cenedloedd, fel y derbyniem addewid yr Ysbryd trwy ffydd," sef ei dderbyn trwy ffydd yn Nghrist, yn ol yr addewid.

Ei fod ef yn yr eglwys o'r dechreuad sydd amlwg oddiwrth ei hanfod hi. Gan ei bod hi, a phob un o'i haelodau, trwy yr holl oesoedd, yn grëadigaeth ysbrydol, yn cael ei bôd a'i holl gynnaliaeth trwy Ysbryd yr Arglwydd, mae yn rhaid, pe buasai efe wedi ymadael yn llwyr, y buasai yr eglwys hithau wedi llwyr ddiflanu. Ac felly yr ydym yn cael yn yr Hen Destament, nid ei fod yn cael ei addaw, ond yn cael ei roddi y pryd hwnw; ac yr ydym yn gwybod am ddynion trwy yr oesoedd âg Ysbryd Duw ganddynt. Felly yr oedd efe yn Noah ac yn Caleb. Ac ar ei waith yn dwyn Israel i gyfammod âg ef ei hun, dywedir i'r Duw mawr osod ei Ysbryd sanctaidd o'u mewn hwy. Gosodwyd ef yn arbenig ar Moses fel eu harweinydd; yna ar Aaron a Miriam; ac yn y man, wele yr Arglwydd yn cymeryd ei Ysbryd oedd ar Moses, ac, heb ei amddifadu o hono ef, yn ei roddi hefyd ar ddeg a thriugain o henuriaid Israel, ac yn y modd hwnw yn eu cymhwyso i helpio Moses i arwain a dysgu y bobl. Ni a gawn Dafydd yn gweddïo am dywysiad, cynnaliad, ac arosiad yr Ysbryd daionus gydag ef. Ac megys yr oedd efe yn yr eglwys trwy ei ras, felly hefyd yr oedd yn amlygu ei bresennoldeb ynddi yn yr holl oesoedd trwy ei ddoniau amrywiol yn ol ei ewyllys ei hun ac anghen yr eglwys. Os y deddfwr doeth a fyddai yn eisieu, yr oedd Ysbryd Duw o fewn Moses i'r gwaith. Os y crefftwr celfydd, dacw Bezaleel ac Aholiab wedi eu llenwi, medd y gair, âg Ysbryd yr Arglwydd; nid mewn gras yn unig, ond mewn gwybodaeth, mewn doethineb a deall i ddychymygu cywreinrwydd, ac i weithio mewn aur, arian, a phrês. Yr oeddynt yn ddyfeiswyr a gweithwyr cywrain o'r blaen; ond yn awr wele y cwbl wedi eu perffeithio a'u cysegru i dabernacl Duw. A phan ddeuai y gelyn i mewn fel afon, yr oedd Ysbryd yr Arglwydd, mewn ysgìl milwraidd, gwroldeb meddwl, a nerth corfforol ar Josua, Baruch, Gideon, a Samson, ac eraill, yn ei ymlid ef ymaith. A chyda golwg ar y prophwydi o Enoc a Noah i lawr hyd Samuel, a'r rhai wedi, yr oedd yr Ysbryd, ynddynt hwy a thrwyddynt, yn ymwneyd â phlant dynion, fel y

dywedir am ddeiliaid eu gweinidogaeth, eu bod hwy "yn wastad yn gwrthwynebu yr Ysbryd Glân.

Rhaid yw, felly, fod yr Ysbryd yn ymwneyd â dynion trwy yr oesoedd, yn ymryson â hwy, yn dychwelyd rhai, yn gadael eraill, yn troi yn elyn iddynt ac ymladd yn eu herbyn. Mae yn wir fod y dwfr bywiol yn rhedeg yn isel iawn weithiau; ond am fod y ffynnon yn ddihysbydd, tòrai allan drachefn yn llifogydd cryfion. Os aeth crefydd yn isel wedi marwolaeth Abel a gwrthgiliad Cain, mae yn cael adfywiad yn nheulu Seth, pan y dechreuodd dynion, mewn rhyw fodd newydd, alw ar enw yr Arglwydd; a dyna, dybygid, yr adfywiad cyntaf a fu erioed yn yr eglwys. Ac y mae holl hanes Abraham, Isaac, Jacob, a Joseph, yn dangos eu bod yn llawn o Ysbryd yr Arglwydd. A pha mor fychan ac egwan bynag ydoedd gwir grefydd ymysg eu hiliogaeth yn yr Aipht, eto yr oedd hi yn fyw; yr Ysbryd, fel aberig fechan ar dywydd sych, i'w glywed yn sihwian yn ngriddfanau rhai o honynt dan feichiau yr Aiphtiaid, tra yr oedd ffydd hithau mewn llawer enaid, megys yn rhïeni Moses, yn blaguro oddiwrth ei arogl ef, fel planigyn tyner mewn anialwch. Ac ar sefydliad yr oruchwyliaeth Iuddewig, cafwyd rhywbeth fel tywalltiad o hono. Felly y mae Nehemiah, wrth nodi bendithion yr oruchwyliaeth hòno, yn coffâu fel dwy fendith arbenig, "A'th sabbath sanctaidd a hysbysaist iddynt—dy Ysbryd daionus hefyd a roddaist i'w dysgu hwynt." Felly ar eu gwaredigaeth o Babilon, lle yr oeddynt megys yn eu beddau, eu hesgyrn wedi gwywo, a'u gobaith wedi colli, ac wedi darfod am danynt o'u rhan hwy, wele anadl, neu Ysbryd yr Arglwydd, yn dyfod o'u mewn hwy nes yr oeddynt ar eu traed yn llu mawr iawn,—ar eu traed, yn dychwelyd adref, yn adgyweirio y mûr, yn codi y deml, ac yn gwrando cyfraith eu Duw, yn ei addoli, ac yn adsefydlu ei wasanaeth yn eu gwlad. "Nid trwy lu" y bu hyn, "ond trwy fy Ysbryd i, medd yr Arglwydd;" yr Ysbryd yn gweithio trostynt nes rhoi ffafr iddynt yn ngolwg breninoedd, ac ynddynt nes llenwi eu genau â chwerthin, a'u tafod â chanu. Ac yn y tymmor isel ar ol amser Malachi, yr oedd rhywrai o hyd yn cael eu codi a'u cadw i ddysgwyl yr ymwared mawr yn Jerusalem. Ac fel yr oedd yr amser yn nesu, wele yr Ysbryd, yr hwn oedd yn nghalonau dynion felly, yn tòri allan yn ffrydiau cryfion o orfoledd. Wele Elizabeth, a Zacharïas, a Mair, wedi eu cyflawni o'r

Ysbryd Glân; a phan y daethant at eu gilydd, O yr addoli oedd yno! Ac yn fuan wedi hyny, wele Ioan Fedyddiwr, oedd "wedi ei gyflawni o'r Ysbryd Glân, ïe, o groth ei fam," yn dyfod allan yn ysbryd a nerth Elias, ac yn troi llawer o blant Israel at yr Arglwydd eu Duw.

Ond y mae'r testun yn ein dysgu fod gweinyddiad arbenig o'r Ysbryd yn perthyn i ddyddiau yr efengyl. Mae yr holl addewidion am dano ef dan yr hen destament i'w cyflawni dan y newydd, a hyny yn y fath fodd fel mae'r Bibl yn llefaru am dano, mewn cymhariaeth, megys erioed heb ei roddi o'r blaen. "Canys eto nid oedd yr Ysbryd Glân wedi ei roddi," medd yr efengylwr Ioan. Er yr holl roddi dan yr hen destament, yr oedd fel heb ei roi yn yr ystyr hwn gan y rhoddiad mwy rhagorol tan y newydd. Ië, ni wyddai yr eglwys fod yr Ysbryd Glân i'w roddi felly. Gwyddai y byd rywbeth fod un Duw yn bod; ac yr oedd gan yr eglwys o'r dechre ryw ddirnadaeth fod Tri Pherson yn Nuw; ac o'r dechre yr oedd hi yn dysgwyl am ymddangosiad Mab Duw; ond yr oedd goruchwyliaeth yr Ysbryd yn perthyn mor neillduol i'r efengyl fel yr oedd dysgyblion Ioan y Bedyddiwr yn dyweyd nad oeddynt hwy wedi cymaint â chlywed fod Ysbryd Glân.

Yn awr gan fod y dyddiau hyny wedi gwawrio, y tymmor yn yr hwn y mae yr addewid fawr am yr Ysbryd wedi cael, yn cael, ac i gael ei chyflawni mewn helaethder, ni a geisiwn gyffroi meddyliau ein gilydd i'w geisio, ac i osod gwerth mawr arno ef a'i fendigedig weithrediadau. O y mae eisieu mawrhâu y Person mawr hwn a'i waith yn ngolwg ein meddyliau ni!

I. Paham yr ydym i ddymuno a dysgwyl tywalltiad yr Ysbryd?

1. *Am fod iachawdwriaeth y byd, o ran y cymhwysiad a'r perffeithiad o honi, yn dibynu ar weithrediad yr Ysbryd Glân.*

Mae y Tad tragywyddol wedi cynllunio a bwriadu achub pechaduriaid, a Mab Duw wedi marw trostynt mewn trefn i'w gwaredu; ond bydd amcanion y naill heb eu cyflawni, a marwolaeth y llall yn ofer, heb waith yr Ysbryd Glân. Efe sydd yn dwyn trueni cyflwr y pechadur i'w ystyriaeth a'i deimlad; ac efe, drachefn, sydd yn dwyn trefn yr efengyl i ddirnadaeth a meddiant y pechadur. Edrychwch ar ddyn wedi para yn annuwiol o'i febyd i fyny. Mae ei anwybodaeth yn fawr, ei drachwantau yn gryfion,

a'i gydwybod yn galed. Nid oes ond yr Hwn a'i gwnaeth a all beri i'w gleddyf nesâu ato, a dwyn ei gydwybod dan nerth argyhoedd-iad. Ac wedi ei gael ef i'r ystâd hòno, y mae efe mewn ansawdd anmharod i dderbyn yr efengyl. Y mae holl syniadau cynhenid ei galon, a'i reddfau tumewnol, yn gwbl ddystaw am dani, ïe, yn wrthwyneb iddi. Y mae yr efengyl yn cyhoeddi Duw yn Achub-wr; y mae yntau yn edrych arno yn unig fel Barnwr. Y mae yr efengyl yn cyhoeddi maddeuant o drugaredd ac mewn iawn; y mae ei gydwybod ef ei hun yn ei gondemnio i farw. Pwy a grêd dyn os na chrêd efe ei gydwybod? Yma nid oes ond nerth yr Ysbryd Glân—gweithrediad nerth ei gadernid ef—a ddichon oleuo yr enaid am drefn yr efengyl, a throsglwyddo drwy y goleuni hwnw deimlad o faddeuant, dwyn bendithion y drefn i'r profiad, ac adnewyddu y galon i'w charu, nes sefydlu trefn gras yr efengyl yn marn y pechadur, ac felly ddwyn ei ewyllys i'w chymeradwyo, a'i gydwybod euog i orphwys ynddi yn dragywydd.

Fel hyn y dengys Iesu Grist: "Pan ddêl efe, sef Ysbryd y gwirionedd, efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd. Efe a'm gogonedda i; canys efe a gymer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi. Yr holl bethau sydd eiddo y Tad ydynt eiddof fi; o herwydd hyn y dywedais mai o'r eiddof fi y cymer, ac y mynega i chwi." Pa beth ydyw yr eiddo yma? Trugaredd faddeuol, gras sancteidd-iol, bywyd tragywyddol; cymaint oedd yn nghalon Duw, ïe, ar helw Duw i'w rhoddi; cymaint y mae holl addewidion Duw yn eu cynnwys; cymaint a wnaeth eisoes, ac a wna eto, fyrddiynau yn ogoneddus a dedwydd dros byth. Ond pa le y mae yn nghadw? eiddo pwy ydyw? "Eiddo y Tad." Dyna ei ffynnon dragyw-yddol. Yn natur ac arfaethau y Duw mawr yr oedd y peth na ddychymygodd calon dyn wedi ei ddarparu ac yn nghadw erioed. Ië, medd y pechadur euog, mae ymhell oddiwrthyf; a'r peth sydd bell a dwfn iawn, pwy a'i caiff? Mi wn fod gwala a gweddill gyda fy Nhad; ond yr wyf fi yma yn marw. Wel, y mae yn dyfod yn nês. Mae Duw yn Nghrist yn nês atom nag ydoedd efe ynddo ei hun. "Holl eiddo y Tad ydynt eiddof fi;" mae yr holl eiddo yn ffrwyth fy haeddiant, ac o dan fy llaw i (Ioan iii. 35). Ond pa fodd y daw eiddo Crist yn eiddo y pechadur? "Efe"—Ysbryd y gwirionedd—"a gymer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi." Pan aiff yr Ysbryd i fynegu, mae yn rhoddi y pethau i'r enaid; mae yn

ei wneuthur yn ymwybodol o honynt, nes y mae yn profi yn raddol ei fod yn cael ei gyflawni â holl gyflawnder Duw. Mae yr enaid âg y mae gair Crist yn trigo ynddo, yn dyfod, trwy oleuni yr Ysbryd ar y gair, i aros yn y Tad ac yn y Mab, ac i fwynhâu yr iachawdwriaeth yn ei hachosion tragywyddol a bendigedig.

O bobl, chwi ewch i'r nefoedd heb ras Duw, ac heb waed Crist, càn gynted âg yr ewch chwi yno heb yr Ysbryd Glân. Ei gael ef ydyw cael y "pethau da" i gyd yn eu hachos a'u Heffeithydd; a bod hebddo ef ydyw bod heb dda yn trigo ynom. Nid oes dim sydd sanctaidd oddiwrth Dduw yn yr enaid, na dim sydd uniawn yn yr enaid tuag at Dduw, ond a weithia yr Ysbryd Glân. Rhaid i ni fyw yn yr Ysbryd—rhodio yn yr Ysbryd—credu, caru, llawenhâu, gweddïo, canu, yn yr Ysbryd Glân. Hebddo ef, diflana y weinidogaeth o'r pulpud, cilia bywyd a sancteiddrwydd o'r eglwys, a derfydd yr addoli o'r ordinhadau! Ofer i chwi foregodi, myned yn hwyr i gysgu, gofalu a gweithredu, heb orchwyliaeth a chadwraeth Ysbryd yr Arglwydd. Gellwch ddyweyd mewn balchder a mawredd calon, Ni a godwn gapelydd newyddion, a rhai gwych yn lle rhai gwael; "y priddfeini a syrthiasant, ond â chèryg nâdd yr adeiladwn; y sycamorwydd a dòrwyd, ond ni a'u newidiwn yn gedrwydd." Ofer i gyd! heb yr Ysbryd, aiff ein haddoldai yn ogofeydd lladron, Jerusalem yn chwaer i Sodoma, a thŷrau Sïon yn binaclau Babel. Gweddïwn, gan hyny, am y tywalltiad o hono yn ol yr addewid.

2. *Mae yr ammod ar ba un yr oedd yr Ysbryd yn cael ei addaw wedi ei gyflawni.*

Dwy brif addewid a wnaeth Duw i bechaduriaid, y rhai y mae ein holl iachawdwriaeth, a'n holl ddymuniad, yn gynnwysedig ynddynt. Un oedd rhoddi ei Fab i weithio drosom, a'r llall yw rhoddi ei Ysbryd i weithio ynom. Ond am fod y naill yn seiliedig ar y llall, yr oedd yn rhaid cyflawni y gyntaf mewn trefn i gyflawni yr ail. Felly mae Ioan yn dywedyd, "Canys eto nid oedd yr Ysbryd wedi ei roddi, o herwydd na ogoneddasid yr Iesu eto." A'r un modd y mae'r Gwaredwr ei hunan yn sicrhâu: "Buddiol yw i chwi fy myned i ymaith; canys onid âf fi, ni ddaw y Dyddanydd atoch; eithr os myfi a âf, mi a'i hanfonaf ef atoch." Yn awr, sylwch, y mae efe wedi myned i ddeheulaw y Mawredd, a myned drwy ei waed ei hun, ac wedi derbyn gan y Tad yr

addewid o'r Ysbryd Glân. Yr oedd yr addewid wedi ei gwneyd er ys llawer oes; ond yn awr dyma'r ammod wedi ei gyflawni, ac y mae holl gynnwysiad yr addewid bellach yn meddiant Mab Duw. "Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef." Paham? Wele, efe sydd "wedi gwneuthur heddwch trwy waed ei groes ef;" ac o ganlyniad, y mae holl gyflawnder yr Ysbryd ynddo ef mewn trefn i'w gyfranu i bechaduriaid.

Onid yw hyn yn gymhelliad grymus i ni ddysgwyl a gofyn am yr Ysbryd Glân? Os wyt ti yn dlawd a gwywedig, fy enaid, edrych pa fodd y mae pethau yn y nefoedd ar dy gyfer. Mae y Tad wedi derbyn iawn trosot, a rhoddi yr Ysbryd yn ol yr addewid i'r Mab, a'r Mab wedi rhoddi yr iawn, ac wedi derbyn yr Ysbryd ar dy gyfer di gan y Tad. A thrwy yr iawn, mae'r Tad a'r Mab yn cyttuno i'w roddi ef i bechadur; y ddau yn ei roddi, a'r ddau trwyddo yn dyfod at y pechadur, ac yn gwneyd eu trigfa gydag ef. Bendigedig fyddo Duw am fod pethau yn y nefoedd fel y maent! Ynot ti, fy enaid, y mae llawer o bethau yn haeddu i Dduw gymeryd ei Ysbryd Sanctaidd oddiwrthyt; ond yn y nefoedd, y mae pob peth yn ei gymhell i'w roddi. Ysbryd y Tad a'r Mab ydyw; Ysbryd y Tad sydd yn eich caru, Ysbryd y Mab a roes ei fywyd drosoch; pa wêdd na ddyry y rhai hyn i ti bob peth? Yn yr iawn gall yr Ysbryd ddyfod i'n hymgeleddu yn unol â gogoniant Duw; ac y mae ymysgaroedd a thosturiaethau Duwdod yn ei gymhell i'w roddi. "Yr Hwn a dosturia wrthynt, a'u tywys, ac a'u harwain wrth y ffynnonau dyfroedd."Ië, dadau a mamau, gellwch chwi ddirnad y meddwl hwn: "Os chwychwi, y rhai ydych ddrwg, a fedrwch roi rhoddion da i'ch plant chwi, pa faint mwy y rhydd eich Tad o'r nef yr Ysbryd Glân i'r rhai a ofyno ganddo?"

3. Mae yn rym i ddysgwyl am dano ef i *ystyried ein bod yn byw dan oruchwyliaeth yr Ysbryd, ac felly yn y tymmor âg y mae yr addewidion am dano i gael eu cyflawni.*

Bendith fawr y testament newydd ydyw yr Ysbryd Glân. Yn y tywalltiad cyntaf o hono, sefydlwyd ei oruchwyliaeth ef ei hunan, yn yr hon y mae i fod gyda'r eglwys hyd ddiwedd y byd. Er i Iesu Grist yn ystod ei weinidogaeth ar y ddaear fyned yn ddiwedd i'r ddeddf, a gosod sail i oruchwyliaeth ac eglwys fwy ysbrydol yn y byd, eto efe a aeth ymaith i'r nefoedd, gan adael y

cyfan i sefyll fel yr oeddynt o ddyddiau Moses. Ac yr oedd pethau yr hen oruchwyliaeth bellach yn gau dystion i Dduw, yn gwrthwynebu yr efengyl, ac yn aml yn eu pleidwyr yn gwrthddywedyd ac yn cablu. Dyna yr efengyl yn cyhoeddi fod Duw wedi ymddangos yn y cnawd; ond y mae'r deml yn dyweyd, 'Naddo; ynof fi mae Duw yn trigo, ac nid yn nheml corff yr Iesu.' Mynega yr efengyl fod Offeiriad arall wedi codi, ac wedi dileu pechod trwy ei aberthu ei hun. 'Nac oes,' meddai yr offeiriadaeth Iuddewig, 'wele fi eto mewn awdurdod.' 'Nac oes,' meddai yr allor, 'yr wyt fi yn galw am aberth fore a nawn, am fod cydwybod pechod gan yr addolwyr.' Ond, meddai Iesu Grist, byddwch chwi ddystaw, fy nysgyblion, llechwch yn ninas Jerusalem, hyd oni wisger chwi â nerth o'r uchelder. Daw Ysbryd y gwirionedd i lawr. "Efe a dystiolaetha am danaf fi, a chwithau hefyd a dystiolaethwch; chwi a fyddwch dystion yn Jerusalem, ac yn holl Judea, a Samaria, ac hyd eithaf y ddaear." Ac i lawr y daeth yr Ysbryd nes rhoi genedigaeth newydd i eglwys Dduw. A thra yr oedd efe, fel enaid, yn ymadael o hen gorff Moses, yr ydoedd yn amlygu ei bresennoldeb gydag athrawiaeth a gosodiadau Crist trwy arwyddion a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd a doniau, na chlybuwyd erioed am y fath beth yn Israel, nes oedd y pethau am yr Iesu croeshoeliedig yn myned yn fawrion bethau Duw yn ngolwg miloedd o bobl. Dacw grëadigaeth newydd yn Jerusalem, yr eglwys gristionogol yn cael ei geni, goruchwyliaeth a chyfnod yn dechreu na bu eu cyffelyb ar y byd erioed o'r blaen. A byth wedi gosod i fyny yr oruchwyliaeth newydd, yr oedd, ac y mae, ac fe fydd yr Ysbryd gyda'r eglwys hyd ddiwedd amser. Beunydd wedi dydd y Pentecost, darllenwn fod y dysgyblion yn cael eu llenwi o'r Ysbryd. A dyma oedd eu cymhelliad mawr gyda'u gwrandäwyr i gredu yr efengyl: "Chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân." Ac felly cawn hwy yn Samaria, yn nhŷ Cornelius, yn Galatia, ac yn Corinth, ac ymha le bynag yr aent i bregethu, â'r Ysbryd yn cydweithio ac yn syrthio ar ddynion gyda gwrandawiad ffydd.

Fe ddichon ein bod ni yn dra amddifad o hono ef y dyddiau hyn; ond y mae tymmor y tywallt heb ddarfod, ac wele air ac ordinhadau yr efengyl genym; a chan fod ei arfau gweithio ef heb eu cymeryd o'n hen chwarel ni, gallwn ymgysuro i ddysgwyl y Gweithiwr mawr ei hun.

4. I'n cryfhâu i ddysgwyl am yr Ysbryd, ystyriwn ymhellach *radlonrwydd y fendith fawr hon.*

Pan sonir am "dywallt" yr Ysbryd yn y testun, y gymhariaeth, dybygid, yw dwfr. A phob amser y cymherir yr iachawdwriaeth i'r elfen hòno, yr ydym yn meddwl, ymysg pethau eraill, am ei rhadlonrwydd. "Cwpanaid o ddwfr oer" yw'r peth lleiaf a ellwch chwi ei roi. Ac yr oedd raid fod y gorthrymder yn dôst yn Jerusalem pryd y cwynent, "Yr ydym yn yfed ein dwfr am arian; ein coed sydd yn dyfod am werth." Mae yn wir fod trigolion y trefi yma yn talu rhywbeth am eu dwfr; ond y draul i'w ddwyn atom, hyd yn nôd trwy bibellau i'n tai, ydyw yr achos o hyny. Ond y mae dwfr y bywyd wedi ei ddwyn i ddinas Duw ar draul un arall. Mae'r cwbl yn rhad i'r dinasyddion. "Yr hwn sydd yn ewyllysio, cymered ddwfr y bywyd yn rhad." Felly yn yr holl drefn o wneyd pechadur yn gyfranog o'r Ysbryd Glân, gras sydd yn teyrnasu yn y cwbl. "Ysbryd y gras" ydyw efe. "Y rhodd nefol" yw ei enw; "dawn yr Ysbryd Glân." Nid y dawn y mae yr Ysbryd yn ei gyfranu a olygir yn y fath ymadrodd, ond mai dawn Duw ydyw yr Ysbryd ei hun i bechadur; a dawn ydyw âg y bydd gras y Drindod yn rhyfedd yn y rhoddiad byth: y Tad a'r Mab yn ei ddanfon ef at y pechadur—yn ei roddi o'i fewn ef; a phan y maent hwy o ras yn ei anfon ef, y mae yntau, gyda yr un cariad a gras, yn dyfod at y pechadur.

Gwir y dywedir fod y pechadur yn gweddïo am dano, ac yn ei dderbyn; ond nid ydyw gofyn trugaredd, a derbyn rhodd, yn milwrio dim yn erbyn ei rhadlonrwydd. Ac eto nid yw y pechadur yn gwneuthur hyd yn nôd hyny ond trwy yr Ysbryd ei hun. Os oes yna hiraeth am dano a chalon i'w dderbyn, mae yn rhaid ei fod ef yn gweithredu yna eisoes. Dywed Iesu Grist, "Ni ddichon y byd ei dderbyn." Er fod y Tad wedi ei ddarpar, y Mab wedi ei haeddu, a'r ddau yn ei roddi i'r pechadur, eto ni ddichon efe ei dderbyn, heb sôn am ei haeddu. Ond ni raid iddo aros hebddo ef er bod felly. Y mae Duw yn ei roddi ef yn effeithiol o fewn dynion; ac y mae yr Ysbryd ar ei ddyfodiad yn gweithio derbyniad iddo ei hun yn y galon. Efe a ddaw mewn graddau llai i breswylio, i barotôi yr enaid i raddau mwy. Daw fel Sancteiddydd i beri dichon ei dderbyn fel Dyddanydd. Daw i beri gweddi; a daw drachefn i ddiwallu dymuniadau hiraethlawn

yr enaid yn ei weddïau. O, fy enaid, ped adwaenit ti ddawn Duw, a phwy sydd yn ei roddi, ti a ofynit iddo ef, ac efe a roddai i ti er yr holl annheilyngdod. Dyma ddawn y doniau i gyd; gwreiddyn, bywyd, nerth, a chysur yr enaid. Ah, nid oes genyf ddim modd i'w gael ef, meddi. Wele, dawn y Duw grasol ydyw, a'r dawn sydd yn awr yn ei holl gyflawnder yn meddiant Mab Duw i'w roddi i bechadur. Nid am arian y meddiennir ef, ond am ddim: "heb arian ac heb werth." Nid wrth weithredoedd y ddeddf y derbynir ef, ond wrth wrandawiad ffydd. Gochel, enaid, droi ei sancteiddrwydd a'i ras ef yn arian am dano, a gochel ddigaloni pan yn teimlo dy fod hebddo. Edrych am dano fel "hael Ysbryd;" hael yn ei ffynnon, hael yn ei drefn, hael ynddo ei hun; ei ras yn deillio o lïaws o dosturiaethau trwy yr isop a'r gwaed i bechadur euog a thlawd (Psalm li. 1, 7, 12).

Pan y mae yr Arglwydd yn ei roddi, ni a gawn nad oes dim yn y gwrthddrychau i'w gymhell ond eu trueni. "Ni newynant ac ni sychedant," medd yr addewid. Pwy ydynt hwy a ddiwellir felly? ai rhywrai teilwng iawn? Nage, fel y dengys yr adnod flaenorol; nid ydynt ond trueiniaid newydd ddyfod o'r carchar. Duw yn tosturio,—dyna ffynnon eu cyflenwad. "Yr Hwn a dosturia wrthynt a'u tywys, ac a'u harwain wrth y ffynnonau dyfroedd" (Esa. xlix. 9, 10). Gras hollalluog sydd yn dywedyd, "Agoraf afonydd ar leoedd uchel, a ffynnonau yn nghanol y dyffrynoedd; gwnaf y diffeithwch yn llŷn dwfr, a'r crasdir yn ffrydiau dyfroedd." Nid oedd dim yn cymhell Duw ond ei fod yn gweled trueiniaid a thlodion â'u tafod yn pallu o syched, heb ddim yn agos atynt i'w dòri. "Pan geisio y trueiniaid a'r tlodion ddwfr, ac nis cânt; pan ballo eu tafod o syched,—myfi yr Arglwydd a'u gwrandawaf hwynt: myfi Duw Israel," Duw wedi ei rwymo ei hun mewn cyfammod, "nis gadawaf hwynt" (Esa. xli. 17, 18). Dyna hwynt, medd Duw, er nad yn uffern, eto yn uffern iddynt eu hunain; maent yn cario gyda hwy uffern i uffern; ni bydd dodi yr enaid euog a llygredig yno yn ddim ond bwrw marwolaeth ac uffern i'r llŷn o dân. Ond myfi, Duw Israel, nis gadawaf y fath rai; agoraf afonydd a ffynnonau i'w golchi, eu disychedu, a'u hadnewyddu, ac felly i ddiffodd yr uffern sydd o'u mewn. Cewch y brophwydoliaeth hon yn hanesyddiaeth gan Paul: "Achubodd efe nyni trwy olchiad yr adenedigaeth, ac

adnewyddiad yr Ysbryd Glân, yr hwn a dywalltodd efe arnom ni yn helaeth, trwy Iesu Grist ein Hiachawdwr." Pwy oeddech chwi i gael y fath fendith, a'i chael fel hyna yn helaethach? Wel, cyn ei chael, yr oeddem ni "yn annoethion, yn anufudd, yn cyfeiliorni, yn gwasanaethu chwantau ac amryw feluswedd, gan fyw mewn drygioni a chenfigen, yn ddygasog, yn casâu ein gilydd." Felly yr oeddem nid yn unig yn anhaeddiannol o ddim da, ond yn haeddu pob melldith. Pa fodd, ynte, y cawsoch chwi y fendith fwyaf? "Ymddangosodd daioni a chariad Duw ein Hachubwr tuag at ddyn—yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni" (Titus iii. 3—6). Onid oes yma y cefnogiad cryfaf i ni, er ein holl ddrwg, i ofyn a dysgwyl yr Ysbryd? "Efe a ddaw fel gwlaw atom;" ac y mae'r gwlaw o'r nefoedd yn dyfod i bawb yn rhad.

5. Ystyriaeth arall i gryfhâu ein gobaith a'n dysgwyliad hiraethlawn am yr Ysbryd Glân ydyw *ei fod yn cael ei addaw yn ehelaeth.*

Mae yr ymadrodd "tywallt," ynddo ei hun, yn golygu cyflawnder a helaethrwydd. Ac felly y mae Paul yn dywedyd yn y geiriau a grybwyllasom eisoes, "Yr Ysbryd Glân, yr hwn a dywalltodd efe arnom ni yn helaeth, trwy Iesu Grist ein Hiachawdwr." Fel pe y dywedasai, Yr oedd efe yn cael ei roddi gynt i fesur; ond y mae yn cael ei dywallt arnom ni, a hyny yn helaeth trwy Iesu Grist. Mae'r iawn mawr wedi ei roddi, a chan hyny, mae'r dorau wedi eu hagor i'r dylifiant nerthol ddyfod i lawr. "Defnynwch nefoedd oddiuchod, a thywallted yr wybrenau gyfiawnder; ymagored y ddaear, ffrwythed iachawdwriaeth a chyfiawnder; cyd-darddant; myfi yr Arglwydd a'u crëais."

Y mae'r gair hwn, "tywallt," yn golygu weithiau, meddant, y cyflawnder graslawn yn ei ffynnon dragywyddol. "Dychwelwch wrth fy ngherydd; wele mi a dywalltaf fy Ysbryd i chwi" (Diar. i. 23), yr hyn a ddarllenir gan rai, "Wele, paraf i'm Hysbryd fyrlymu allan i chwi." Fel ffynnon yr hon ni phalla ei dyfroedd, megys ffynnon Treffynnon, yr hon sydd trwy yr oesoedd yn taflu i fyny dunnelli o ddyfroedd bob mynyd, heb sychu un amser, ond yn byrlymu o galon y ddaear yn ddibaid; felly yr Ysbryd Glân; mae efe yn byrlymu yn Nuw erioed yn anghenrheidiol, ac fe fyrlyma allan oddiwrtho i'w deulu am byth. "Yr Ysbryd sydd o Dduw" yw efe; ac nid yw efe neb llai na Duw ei hunan. O ran

ei Berson, y mae yn cael ei roddi yn hollol, ar unwaith a thros byth, i'r saint, tra yn ei ddylanwadau, ei ras a'i gysuron, ei fod yn cael ei dywallt yn olynol a pharhäus arnynt, ac weithiau yn helaeth, fel y gwelwn, trwy Iesu Grist. "Yr hwn sydd yn credu ynof fi," medd Iesu Grist, "megys y dywedodd yr ysgrythyr, afonydd o ddwfr bywiol a ddylifant o'i groth ef." Cyfeiria yna, dybygid, at y dyfroedd sanctaidd a welodd Ezeciel yn codi o dan riniog y deml tu deau i'r allor, ac yn chwyddo fwyfwy nes myned yn ddyfroedd nofiadwy. Yn awr dyma sylwedd y weledigaeth. Yn nheml ei gorff gogoneddus Ef y mae'r Ysbryd heb fesur; holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio ynddo yn gorfforol, a thrwy ei haeddiant yn rhedeg i bechadur diffrwyth nes ei wneyd yn debyg iddo ei hun; ffynnon o ddwfr yn tarddu ynddo, yn dylifo i fywyd tragywyddol. Pa le yr wyt ti, y pechadur sydd yn yfed o bydewau y byd hwn, ac yn sychedu drachefn? Pa le mae'r trueiniaid a'r tlodion sy'n ceisio dwfr ac yn methu ei gael? yn debyg fel yr ydoedd yn amser y sychder mawr yn Jerusalem: "Eu boneddigion a hebryngasant eu rhai bychain i'r dwfr; daethant i'r ffosydd, ni chawsant ddwfr; dychwelasant â'u llestri yn weigion; cywilyddio a gwladeiddio a wnaethant." Tröwch yma: cewch yr Ysbryd yn ffynnon o ddwfr bywiol, a'i rasau a'i gysuron yn dylifo byth. O fy mrodyr, mae y cymylau yn llawn gwlaw; y mae afon Duw eto yn llawn dwfr; yr Ysbryd yn ngweddill gan y Jehofah; tywallted ar ein hen ddaear sych a'i hen gwysau celyd, a'i rhychau gweigion; mwyded, O mwyded hi unwaith eto â chawodau, bendithied ei chnwd hi, nes dy gyfoethogi di yn ddirfawr, fy enaid, â ffrwythau yr Ysbryd.

Dengys y testun fod yma helaethrwydd hefyd o ran lliaws gwrthddrychau. "Bydd, yn y dyddiau diweddaf, y tywalltaf o'm Hysbryd ar bob cnawd." Yr oedd cyflawnder graddau weithiau yn yr eglwys Iuddewig; ond y hi wrthi ei hun oedd felly; fel cnu Gedeon, ar yr hwn yn unig yr oedd gwlith, tra yr oedd sychder ar yr holl ddaear; neu fel Gosen yn oleu, pan yr oedd pob man arall yn dywyll. Nid oedd yn unig ond rhyw bersonau ynddi hi yn llawn o'r Ysbryd. Felly Moses a'r deg a thriugain henuriaid Israel, ac o'r rhai hyny, nid oedd ond dau yn prophwydo. Ond yma "pob cnawd" yw y gwrthddrychau. Ac y mae hyny yn golygu pob math: pob gradd, rhyw, ac oedran, fel y gwelwn; y

meibion a'r merched, y gwŷr ieuainc a'r henafgwyr, ac hyd yn nôd y gweision a'r morwynion. Pa fodd yr oedd yn y gwersyll? Eldad a Medad yn unig a geid yn dal i brophwydo. Yr oedd yno gyfyngiad. "Gorphwysodd yr Ysbryd arnynt hwy, am eu bod hwy o'r rhai a ysgrifenasid." Ond pa fodd yr oedd yn yr oruwchystafell ddydd y Pentecost? "Ymddangosodd iddynt dafodau gwahanedig megys o dân, ac efe a eisteddodd ar bob un o honynt; a hwy oll a lanwyd â'r Ysbryd Glân;" nid yr apostolion yn unig. A chyn yr hwyr, yr oedd miloedd wedi derbyn dawn yr Ysbryd Glân. A pha fodd y bu yn nhŷ Cornelius dan bregeth Pedr? "Syrthiodd yr Ysbryd Glân," nid ar Cornelius yn unig, ond "ar bawb a oedd yn clywed y gair." Os yw y peth gwyrthiol oedd ynglŷn â thywalltiad yr Ysbryd y dyddiau hyny wedi peidio, y mae'r peth achubol yn parhâu, ac mor helaeth heddyw âg erioed. Nid yw Duw gyda gras ei Ysbryd yn gwneuthur dim gwahaniaeth, nid yn unig rhwng Iuddewon a Chenedloedd, ond rhwng neb a'u gilydd; dim gwahaniaeth, fel y dengys y testun, rhwng hen ac ieuanc, gwryw a benyw, rhïeni a phlant, meistriaid a gwasanaethyddion; y mae costrel mawr yr addewid yn cario'r dwfr bywiol at eu drysau oll.

A oes yma hen bobl? ambell un yn gallu dywedyd, "Mab pedwar ugain mlwydd ydwyf fi heddyw," ac felly â natur wedi gwywo, yn anghymhwys i fwynhâu pleserau daear; y llall yn ddeg a thriugain mlwydd, yn teimlo yr oes wedi darfod, a hyny o grefydd sydd yn aros ydyw, fe allai, teimlad galarus hen bechadur yn dyheu ac yn methu dyheu am dir uwch mewn profiad ysbrydol cyn marw. Wele yn y testun fodd i'ch dychwelyd at ddyddiau eich ieuenctyd. Ceisiwch y tywalltiad addawedig, ac fe adnewyddir eich ieuenctyd fel yr eryr; chwi a ffrwythwch eto yn eich henaint, tirfion ac iraidd fyddwch, i fynegu mai uniawn yw yr Arglwydd fy nghraig, ac, fel hyn, chwi a genwch yn y dyddiau blîn fel yn nyddiau eich ieuenctyd. A oes yma wŷr ieuainc yn dechre ymdeimlo â nerth temtasiynau cnawd a byd? Gweddïwch am yr Ysbryd Glân; gwna efe chwi yn gryfion, i orchfygu o honoch yr un drwg. Pa fodd y daliwyd rhai o honoch hyd yn hyn yn Liverpool, neu ryw dref fawr arall, lle mae Satan, duw y byd hwn, trwy ei blant nwyfus, cellweirus, gwatworus, ac annuwiol, yn fawr iawn ei ddylanwad uffernol? "Chwychwi, blant bychain,

a'u gorchfygasant hwy; oblegid mwy yw yr hwn sydd ynoch chwi na'r hwn sydd yn y byd." A oes yma rïeni duwiol yn pryderu am iachawdwriaeth eu plant? Clywch yr addewid: "Tywalltaf ddyfroedd ar y sychedig, a ffrydiau ar y sychdir; tywalltaf fy Ysbryd ar dy hâd, a'm bendith ar dy hiliogaeth; a hwy a dyfant megys ymysg glaswellt, fel helyg wrth ffrydiau dyfroedd;" tyfu mewn corff a meddwl, yn lle crebychu a chrino dan bechod a'i effeithiau. Dyma a wna "eich meibion fel planwydd yn tyfu yn eu hieuenctyd," nid fel drain a chwyn, "a'ch merched fel conglfaen nâdd wrth gyffelybrwydd palas," neu fel meini palas; Ysbryd Duw wedi naddu naddiad y ferch ieuanc, nes y mae mewn tymher ac ymddygiad yn addurn i'w theulu, i'w rhyw, ac i eglwys Crist. A oes yma weision a morwynion, y rhai y gorfu i chwi adael aelwydydd rhïeni hoff o honoch, a throi allan ymhell o'ch cartrefleoedd, fe allai, at ddyeithriaid nad ydynt yn gofalu dim am eich eneidiau anfarwol, na nemawr ychwaith am eich cysur tymmorol, dim ond am y caffont hwy wasanaeth diorphwys a deheuig oddiwrthych? Dyma Dduw'r nefoedd yn cofio am danoch; y mae Efe yn addaw bendith yr holl fendithion i chwi, ïe, i chwi. Adgofiwch Dduw o'i addewid; a chwi a gewch fod, nid yn unig yn gadwedig gydag ef yn y diwedd, ond yn ddefnyddiol drosto yn eich oes; gogoniant, nid yn unig yn eich aros, ond yn gorphwys arnoch, fel, os yn weision neu forwynion eich galwyd, na fydded gwaeth genych, canys chwi a ddangoswch i bawb mai "yr Arglwydd Crist yr ydych yn ei wasanaethu."

Y mae yma helaethrwydd hefyd o ran cynnydd a pharhâd. "Mi a weddïaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddyddanydd arall, fel yr aroso gyda chwi yn dragywyddol. Y mae yn aros gyda chwi, ac ynoch y bydd efe." Hwyrach na cha rhai o honom ddim rhyw dywalltiadau cryfion eto; ond, beth er hyny? bydd y dwfr o'r graig a daräwyd â gwialen Moses yn ein dilyn drwy yr anialwch, ac yn cryfhâu at y diwedd. "Yr hwn sydd yn trefnu i chwi yr Ysbryd," medd Paul wrth y Galatiaid; mae y gair *trefnu* yma yn arwyddo, meddir, gweinyddu yn barhäus, edrych am roddi cyflenwad digonol a mwyfwy. Ac felly yr oedd Paul yn myned ymlaen trwy wrthwynebiadau a chystuddiau; yr oll yn dygwydd iddo er iachawdwriaeth, "trwy gynnorthwy Ysbryd Iesu Grist;" y gair *cynnorthwy*, dywedir wrthym, yn golygu adgyflenwad pell-

ach, cymhorth ychwanegol. Ti a gefaist, gristion, gymhorth i farweiddio llawer chwant drwg, ac i ddiffodd llawer picell danllyd; ymddiried am gynnorthwy ychwanegol. Do, ti a gefaist lawer mwynhâd hyfryd; cais a dysgwyl, ac fe ddaw ychwaneg. Mae yr Ysbryd yn dyfod i mewn, fel y llanw, yn raddol, ond yn chwyddo yn fwy. Yr oedd y tònau nefol yn taflu i mewn er ys dyddiau yn yr oruwchystafell; ac ansawdd meddwl y dysgyblion yn myned yn fwyfwy dwfn, ysbrydol, a bywiol, nes y daeth y tywalltiad helaeth arnynt. Os cafwyd rhai defnynau i lawr i'r enaid,

"Beth am yr awr cawn fyn'd i'r môr?"

Y mae hyn yn sicr o ddyfod.

II. Galwn sylw at effeithiau y tywalltiad hwn a addewir.

Beth a weithredir trwy, beth a ddilyna, y tywalltiad arbenig hwn o'r Ysbryd Glân?

1. *Dychweledigion lawer.*

Yr ydych yn cofio i Ezeciel weled y dyfroedd sanctaidd yn rhedeg o dan riniog y deml i'r môr marw; a pha beth fu y canlyniad? Iachâu y dyfroedd, a phob peth lle yr oedd yr afon yn dyfod yn cael byw, a chael ynddi bysgod lawer iawn; ac os edrychai y prophwyd ar lànau yr afon, "wele," medd efe, "ar fin yr afon goed lawer iawn o'r tu yma ac o'r tu acw." Dyna ddŵr a thir yn llawn bywyd. Beth oedd hyn? Edrychwch i Jerusalem ddydd y Pentecost. Gyda thywalltiad yr Ysbryd, wele yr ugain a chant yn myned yn dair mil mewn un diwrnod. Ac yr oedd ychwanegiadau "beunydd," bob dydd, "at yr eglwys," nes aeth y miloedd yn fyrddiynau, na ddywedir pa sawl (Act. xx. 21). Yn y man ni a gawn y dysgyblion, yn ol gorchymyn y Pen, yn troi allan i'r byd paganaidd, fel byddin gref wedi eu harfogi â gwirionedd, ac yn llawn o'r Ysbryd Glân, ac â'r arfau nerthol trwy Dduw yn bwrw cestyll i'r llawr, yn goresgyn y gwledydd, yn cymeryd y dinasoedd yn enw yr Arglwydd Iesu Grist. Ac am eu llwyddiant y maent hwy yn siarad yn llyfr yr Actau: nid am nifer eu pregethau, nac am eu dull yn pregethu, na'r hwyl a gawsent wrth bregethu; na, dynion yn credu ac yn troi at yr Arglwydd trwy eu gweinidogaeth; dyna oedd yn eu gwneyd yn syndod iddynt eu hunain. "Mor gadarn y cynnyddodd gair yr Arglwydd, ac y

cryfhäodd!" Os aent i Antiochia, "nifer mawr a gredodd, ac a drôdd at yr Arglwydd." Os i Iconium, "credodd llïaws mawr o'r Iuddewon ac o'r Groegwyr hefyd." Os i Corinth, cafwyd i Dduw bobl lawer yn y ddinas hòno. Ac felly yn ebrwydd, ni a gawn eglwysi mawrion, cynnyddol, yn Judea, Galilea, a Samaria, ac ymlaen yn y byd cenedlig, fel gerddi prydferth yn nghanol yr anialwch. Bernir fod mwy wedi eu hachub yn yr oes apostolaidd nag o ddechreu y byd cyn hyny. Nid oedd gan Iesu Grist ddim achos i gwyno mwyach, "Yn ofer y llafuriais, yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth." Na, y mae yn cael gweled o lafur ei enaid a'i ddiwallu; y mae ei enedigion fel y gwlith o groth y wawr. Nid oes le bellach i Sïon gwyno, "Myfi a adäwyd fy hunan;" wele blant ei diepiledd yn galw am fwy o le; a hithau ei hun yn rhyfeddu: "Pwy yw y rhai hyn a ehedant fel cwmwl, ac fel colomenod i'w ffenestri?"

Ac i'r Ysbryd Glân yn wastad y mae'r llwyddiant rhyfedd yn yr oes apostolaidd yn cael ei brïodoli. Os caed nifer mawr i gredu yn Antiochia, "llaw yr Arglwydd" oedd yn cydweithio â'r pregethwyr. Os credodd llïaws mawr yn Iconium, "y dysgyblion a gyflawnwyd o'r Ysbryd Glân, ac a lefarasant felly fel y credodd y llïaws" (Act. xiii. 52, a xiv. 1). Duw oedd yn tywallt ei Ysbryd, nes yr oedd hwn, y llall, ac arall, yn dywedyd, "Eiddo yr Arglwydd ydwyf fi."

Rhaid i ninnau gael yr Ysbryd eto mewn trefn i lwyddo gyda gwaith yr Arglwydd. Y mae'r defnyddiau yn gyffelyb, y gwaith i'w wneyd arnynt yr un, a hwnw yn waith nas gall neb ei gyflawni ond Ysbryd yr Arglwydd. Pwy a all fywhâu y marw ond efe? Pwy a all grëu o newydd, a galw y pethau nid ydynt fel pe byddent, ond efe? Tra yn ddiolchgar am hyny o lwyddiant sydd ar ein llafur yn gartrefol a thramor, mae yn bryd gofyn, Paham y mae'r llwyddiant càn lleied? Mae Methodistiaid Calfinaidd Cymru wedi treulio, hwyrach, gymaint o flynyddoedd, a gwario mwy o arian, ar y Genadaeth Gartrefol, nag a wariwyd yn y diwygiad apostolaidd o ddydd y Pentecost hyd farwolaeth yr apostol Ioan; ac eto yr oedd yr holl fyd adnabyddus wedi ei gyffroi yn y tymmor hwnw, a miloedd o filoedd wedi eu hachub, pan, mewn cymhariaeth, nad ẁyr siroedd Caerlleon, Amwythig, na Henffordd, eto ddim am danom. Beth yw yr achos? Ai heb

yr Ysbryd yn ei dywalltiadau nerthol yr ydym? Gobaith y byd yw Ysbryd Crist.

2. *Gwybodaeth ysbrydol yn helaeth a chyffredinol.*

Golygir hyn, yn ddïau, yn y geiriau, "A'ch meibion chwi a'ch merched a brophwydant, a'ch gwŷr ieuainc a welant weledigaethau, a'ch henafgwŷr a freuddwydiant freuddwydion;" ac felly hefyd am y gweision a'r llawforwynion: "a hwy a brophwydant." Dynion yn cael dadguddiedigaethau yr Arglwydd oedd y prophwydi; ac yn fynych byddent yn eu cael trwy freuddwydion a gweledigaethau. Wel, dyma'r plant a'r gweision yn prophwydo, yr hen a'r ieuanc yn breuddwydio, ac yn gweled gweledigaethau. O pe byddem ni yn y dyddiau hyn yn llawn o'r Ysbryd Glân, y fath weledigaethau a gaem! Pe derbyniech chwi ef yn helaeth, fy mrodyr, ni wnaech chwi yna odid ddim ond dywedyd eich breuddwydion wrth eich gilydd. Bechadur, beth pe ceffit ti freuddwyd ar gyflwr colledig a barai i ti fel Daniel ddychrynu yn ddirfawr, a'th wêdd droi ynot yn llygredigaeth? Pa beth a ddygwyddodd i'r dyn a ddesgrifir gan Elihu? ei fywyd yn ffieiddio bara, a'i enaid fwyd blasus; ei gnawd yn darfod allan o olwg, ei esgyrn yn sefyll allan, ei enaid yn nesâu i'r bedd, a'i fywyd i'r dinystrwyr. Duw sydd wedi bod yn llefaru trwy hûn a gweledigaeth nos; breuddwyd a gafodd, yn dadguddio iddo anfoddlonrwydd yr Hollalluog o herwydd ei bechodau; ac y mae hyny yn effeithio yn ddirfawr ar ei gnawd a'i galon. Efe a fydd farw, ynte, yn sicr. Na fydd; y mae dehonglwr i'w gael, cenad o ladmerydd; a thrwy hwnw arweinir ef at drugaredd Duw, ac at iawn mawr, nes y gwaredir ei enaid ac y goleuir ei fywyd. Gyda yr Ysbryd, ceir "eglurhâd yr Ysbryd" ar y gwirionedd. Beth yw y peth mawr a weli di a'th frodyr, Paul? "Gogoniant Duw yn wyneb Iesu Grist." Pa fodd y daethoch i'w weled? "Duw, yr hwn a orchymynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, yw yr hwn a lewyrchodd yn ein calonau, i roddi goleuni gwybodaeth" y gogoniant hwn. Mor daer yr oedd efe yn gweddïo am hyn i'r Ephesiaid! "Nid wyf yn peidio gwneuthur coffa am danoch yn fy ngweddïau, ar i Dduw ein Harglwydd Iesu Grist, Tad y gogoniant, roddi i chwi Ysbryd doethineb a dadguddiad." A phe caent hwy ef, beth a welent? Hwy a welent "beth yw gobaith ei alwedigaeth ef, a pheth yw golud gogoniant ei etifeddiaeth ef

yn y saint, a pheth yw rhagorol fawredd ei nerth ef tuag atom ni y rhai ŷm yn credu." Mae dadguddiad yr Ysbryd yn rhoi golwg ar ogoniant pethau yr efengyl, nes dwyn yr enaid i'w caru ac i ymhyfrydu ynddynt, a chael ei sancteiddio drwyddynt. Wrth edrych ar ogoniant yr Arglwydd yn nrych yr efengyl, newidir y rhai sydd yn edrych i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant. Pa fodd yr effeithir hyny? "Megys gan Ysbryd yr Arglwydd." Yr Ysbryd yn unig sydd yn rhoi yr olwg sancteiddhäol, ac yn gwneuthur y newidiad rhyfedd; mae'r gwaith fel y Gweithiwr; y mae efe y peth a fuasent yn ei ddysgwyl oddiwrtho: "*megys gan* Ysbryd yr Arglwydd." "Byw yn yr Ysbryd" sydd fyw mewn awyr glîr iawn; yma chwi a welwch i'r byd arall. "Rhodio yn yr Ysbryd" yw rhodio yn ngwlad gweledigaeth—yn nhir Beula John Bunyan. Nid ä cristion yn yr Ysbryd i un amgylchiad na bydd efe yn gweled Duw, ac am hyny ymhob dim yn wỳnfydedig. Hyd yn nôd y rhai a geir yn yr amgylchiadau mwyaf anfanteisiol, byddant hwy, dan dywalltiad o'r Ysbryd, yn syndod am eu gwybodaeth grefyddol. "Llygaid y rhai a welant ni chauir, a chlustiau y rhai a glywant a wrandawant. Calon y rhai ehud hefyd a ddeall wybodaeth, a thafod y rhai bloesg a brysura lefaru yn eglur." A pheth am gyrhaeddiadau yr ysgoleigion uchelaf a ddysgir gan Ysbryd Duw? Gweddïwn am iddo ddisgyn ar yr eglwys a'r byd yn "Ysbryd doethineb a deall, Ysbryd cynghor a chadernid, Ysbryd gwybodaeth ac ofn yr Arglwydd."

3. Gydag ychwanegiadau mawr at yr eglwys, a gwybodaeth fawr yn yr eglwys, bydd tywalltiad yr Ysbryd yn cynnyrchu *duwioldeb mawr yn yr eglwys.*

Nid yn unig bydd llawer o dduwiolion, ond fe fydd duwiolion hefyd y fath oreu o ddynion mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb. Felly yr oedd y dyfroedd bywiol yn y môr marw, nid yn unig yn heigio pysgod yn llawer iawn, ond yr oedd y rhai hyny "yn ol eu rhyw, fel pysgod y môr mawr," yn rhagorol iawn; pob math, ac oll yn dda iawn. Ac am y coed a welid ar fin yr afon oddeutu, nid rhai crîn a gwywedig oeddynt, ond "pob pren ymborth," medd Ezeciel; "ei ddalen ni syrth, a'i ffrwyth ni dderfydd; yn ei fisoedd y dŵg ffrwyth newydd." Paham? "O herwydd ei ddyfroedd: hwy a ddaethant allan o'r cysegr; am hyny y bydd ei ffrwyth yn ymborth, a'i ddalen yn feddyginiaeth." Y mae ymgel-

edd Ysbryd Duw yn gwneyd pechadur tlawd a gwywedig fel y cedrwydd mewn cryfder, fel yr olewydden werdd mewn harddwch crefyddol yn nhŷ Dduw, ac fel y gwinwydd mewn ffrwythlondeb; pâr iddo ffrwytho yn ei ieuenctyd, ar hyd ei oes, yn ei henaint, i ogoniant Duw, ei gysur ei hun, a llês eraill.

Felly y dangosir yn y testun. Dan dywalltiad yr Ysbryd, bydd y saint yn "brophwydi" mewn crefydd. Dynion Duw y gelwid y prophwydi, dynion sanctaidd Duw, yn sefyll yn ei gynghor, ac yn mwynhâu ei gyfrinach. "Eich meibion a'ch merched chwi a brophwydant." Byddant felly fel Moses â'u hwynebau yn dysgleirio yn aml yn y mynydd gyda Duw, ac fel Jeremiah â'u henaid yn wylo mewn lleoedd dirgel am bechodau eraill. Meddyliwch am dduwioldeb Dafydd, yn enwedig fel ei cawn yn ei salmau. O yr oedd llwybrau ffydd a chariad y dyn hwnw ymhell, ymhell goruwch ein cyrhaeddiad ni! Ddyfned ei edifeirwch am bechod; mor angerddol oedd syched ei enaid am Dduw; gymaint oedd ei hoffder a'i hyfrydwch yn ngair yr Arglwydd! a hyn yn peri y fath ufudd-dod fel nad yw Ysbryd yr Arglwydd yn rhoi ei fŷs ond ar un ysmotyn du arno; a chyda yr eithriad o hwnw, ni chiliodd efe oddiwrth yr hyn oll a orchymynodd yr Arglwydd holl ddyddiau ei einioes. Digon o ganmoliaeth i rywun o'i hiliogaeth a fyddai dywedyd, "Efe a rodiodd yn ffyrdd Dafydd ei dad." Ond pan dywelltir yr Ysbryd ar breswylwyr Jerusalem—ar aelodau eglwys Crist, "bydd y llesgaf o honynt y dydd hwnw fel Dafydd."

Edrychwch ar effeithiau y tywalltiad ar yr apostolion eu hunain. Dyma a'u cyfnewidiodd ar unwaith o fod yn anwybodus, daearol eu syniadau, anwrol a llwfr, i fod yn gewri mewn zêl a duwioldeb. A phwy all lai na synu wrth y cyfnewidiad a weithid ar ddynion trwy eu gweinidogaeth? Y rhai oeddynt o'r blaen mor llygredig —eu hymarweddiad yn chwantau y cnawd, rhai wedi diddarbodi, yn ymroi i drythyllwch, wedi cael y fath gyfnewidiad, nes yr oedd yn brïodol eu cyfarch fel saint a'r ffyddloniaid yn Nghrist Iesu, a hwythau wedi eu dwyn i'r moesau goruchel a ddysgir yn yr Epistolau: eu ffydd, eu cariad, a'u rhinweddau da, yn gyhoeddus yn yr holl fyd, ac yn destun gorfoledd ac ymffrost yr apostolion. Beth a wnaeth y cyfnewidiad? Adnewyddiad yr Ysbryd Glân, yr hwn a dywalltwyd arnynt hwy yn helaeth. Edrychwch arnynt gyda'u

galwedigaethau: hyd yn nôd y rhai oedd yn lladron o'r blaen, ni ladratant mwyach, eithr yn hytrach cymerant boen, gan weithio â'u dwylaw yr hyn sydd dda, fel y byddo ganddynt beth i'w gyfranu i'r hwn y mae anghen arno. Edrychwch arnynt yn eu cystuddiau: dyoddefant ymdrech mawr o helbulon, a chymerant eu hyspeilio am y pethau sydd ganddynt yn llawen, gan wybod fod ganddynt iddynt eu hunain olud gwell yn y nefoedd, ac un parhäus. Edrychwch ar ysbryd eu dyledswyddau. Ië, meddir, hwy a ddeuant i'r addoliad ryw hanner awr wedi yr amser, ac yno i gysgu neu i wamalu. O na! y maent wedi eu llenwi â'r Ysbryd; y mae gair Crist yn preswylio ynddynt yn helaeth; maent yn dysgu a rhybuddio bawb eu gilydd mewn salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol, gan ganu trwy ras yn eu calonau i'r Arglwydd. Ië, hwy a roddant dipyn mewn casgliad pan geisir ganddynt. Nage, eithr mewn mawr brofiad cystudd a dwfn dlodi, cewch weled helaethrwydd eu llawenydd yn ymhelaethu i gyfoeth eu haelioni—hwynt-hwy yn ol eu gallu ac uwchlaw eu gallu yn ewyllysgar o honynt eu hunain, fel, yn lle bod neb yn deisyf arnynt hwy, eu bod hwy eu hunain yn deisyf ar y casglyddion trwy lawer o ymbil ar dderbyn o honynt y rhodd. Duwioldeb mawr oedd hyn oll, yn effaith cyfraniad mawr o Ysbryd yr Arglwydd. O fy Nuw, pa bryd y gwelir eto broffeswyr crefydd yn gyffredinol yn argyhoeddi, yn dystewi, yn synu, yn denu'r byd annuwiol â'u grasusau? Pan eu gwelir felly, hyny a fydd am fod Ysbryd y gogoniant, Ysbryd Duw, yn gorphwys arnynt.

4. Gyda thywalltiad yr Ysbryd, bydd *addoli neillduol a thrwyadl yn ordinhadau'r gair.*

Dynion, wedi eu llanw â'r Ysbryd a fyddant yn hynod, nid "mewn sanctaidd ymarweddiad" yn unig, ond mewn "duwioldeb" hefyd; eu dyledswyddau tuag at Dduw, a thros Dduw tuag at ddynion, yn llawn bywyd, nerth, ac ysbrydolrwydd. Meddyliwch am Elizabeth, Mair, Zecharïas, Simeon, ac Anna, pan yn gyflawn o'r Ysbryd Glân,—yr oeddynt wedi eu llyncu mewn mawl. Wedi tywalltiad dydd y Pentecost, dyna yr holl aelodau eglwysig "beunydd yn parhâu yn gyttûn yn y deml, ac yn tòri bara o dŷ i dŷ, yn cymeryd eu lluniaeth mewn llawenydd a symlrwydd calon, gan foli Duw." Pan syrthiodd yr Ysbryd Glân ar bawb a oedd yn clywed y gair yn nhŷ Cornelius, wele hwynt "yn llefaru â thaf-

odau, ac yn mawrygu Duw." Yr oedd syniadau newyddion yn eu meddyliau, teimladau newyddion yn eu calonau, yn gweithio mor gryfion nes arllwys eu hunain mewn iaith newydd ac anarferol.

Hyfryd genym weled capelau newyddion, ëang a phrydferth, yn cael eu cyfodi y dyddiau hyn; ond nac anghofier fod addoli Duw yn beth cwbl ar wahân oddiwrth bob addurniadau allanol. Gogoniant ein haddoldai a fydd canu a gweddïo, pregethu a gwrando, yn yr Ysbryd Glân. Da yw canu yn rheolaidd a chelfyddydol; ond y canu mae'r Arglwydd yn ei garu ydyw,—dynion wedi eu llyncu i fyny mewn addoli, yn cyd-dòri allan yn ein cynnulliadau mewn mawrygu Duw; dyfnder golygiadau am Dduw, dyfnder teimlad at Dduw, yn peri newydd-deb a nefoldeb yn eu lleisiau a'u hagweddau. Dyma a wnai ein pregethiad yn hynod ac yn nerthol. "Hwy a brophwydant." "A thafodau newyddion y llefarant." Beth yw hyny? ai rhagfynegu pethau i ddyfod? Nage, nid yn gymaint. Ai llefaru mewn iaith anhyddysg? Nage, ond dynion yn dysgu pethau Duw i ddynion gyda rhyw oleuni, teimlad, ac ymadrodd, nad oes ond Ysbryd Duw a all ei roddi: llefaru am drueni dyn, a'r anghenrheidrwydd am Grist, gyda nerth anorchfygol, nes bod y gwrandäwyr yn ffoi at Grist fel y caffont fywyd; dynion wedi adnabod eu calonau eu hunain yn llefaru nes gwneyd dirgelion calonau dynion eraill yn amlwg; dynion wedi gweled gogoniant Iesu Grist yn llefaru nes rhoddi gwybodaeth ei ogoniant ef i rai nad oeddynt yn ei adnabod. A ni, ynte, yn cofio i Dduw roddi addewid yr Ysbryd, na ddystewn, ac na adewn ddystawrwydd iddo, hyd oni chaffom achos i ddywedyd, Efe a dywalltodd yr Ysbryd Glân arnom ninnau yn helaeth, trwy Iesu Grist ein Hiachawdwr!

5. *Heddwch a llwyddiant mawr yn amgylchiadau allanol yr eglwys.*

"Ni chuddiaf chwaith fy wyneb mwy oddiwrthynt; o herwydd tywelltais fy Ysbryd ar dŷ Israel, medd yr Arglwydd Dduw." Mae bod Duw yn cuddio ei wyneb oddiwrth bobl a chenedl yn golygu ei fod yn attal pob ffafr oddiwrthynt, ei ŵg yn eu poeni â phob aflwydd. Ond y mae yr achos o bob anghysur ac aflwyddiant yn cael ei symud gan effeithiau tywalltiad yr Ysbryd. Gallwn ddywedyd fod drygioni'r byd yn blino yr eglwys ddwy ffordd:

fel y mae yn elyniaeth i'w herbyn hi, ac fel y mae yn dwyn barnau Duw ar y gwledydd y mae hi yn byw ynddynt. Mae'r byd yn poeni llawer arno ei hun; dynion dan lywodraeth eu chwantau yn dyfetha eu gilydd. A hwy a ymunant â'u gilydd i erlid y saint. "Deuwch," meddynt, "a dyfethwn hwynt fel na byddont yn genedl." A phan ddelo barnau ar y byd y mae yr eglwys ynddo, a hithau yn rhy aml wedi ymlygru yn llygredigaeth y byd, hi a fydd o ganlyniad yn dyoddef gydag ef. Ond pan dywallter yr Ysbryd, dyna wêdd newydd a hyfryd ar y byd. "Yn lle drain y cyfyd ffynnidwydd, yn lle mieri y cyfyd myrtwydd," nwydau drwg wedi eu darostwng, crëaduriaid câs ac ymrysongar yn troi yn rasusol a defnyddiol. Dacw Esaiah yn gweled pechodau'r wlad, a barnau Duw am y pechodau hyny, yn dyfetha byd ac eglwys (pen. xxxii. 13, 14). Hyd pa bryd yr erys yr aflwydd? "Hyd oni thywallter arnom yr Ysbryd o'r uchelder." Beth a fydd yn ganlynol? "Yna y trig barn yn yr anialwch, a chyfiawnder a erys yn y doldir; a gwaith cyfiawnder fydd heddwch, ïe, gweithred cyfiawnder fydd llonyddwch a dïogelwch hyd byth; a'm pobl a drîg mewn preswylfa heddychlawn, ac mewn anneddau dïogel, ac mewn gorphwysfäoedd llonydd."

Yr un modd, bydd ystâd yr eglwys ynddi ei hun, mewn canlyniad i dywalltiad yr Ysbryd, yn fendigedig a hyfryd. Yr un peth sydd yn peri aflonyddwch iddi oddifewn ac oddiallan. O ba le y mae rhyfeloedd ac ymladdau yn eglwys Crist? Pa fodd y rhanwyd hi yn bleidiau, a'r pleidiau hyny yn llawn eiddigeddau, cenfigenau, anghydfyddiaethau, ac ymrysonau, tuag at eu gilydd? Cristionogion sydd yn rhodio yn ol eu hysbrydoedd eu hunain, ac nid yn cymeryd eu harwain gan Ysbryd Crist. "Wele, mor ddaionus ac mor hyfryd yw trigo o frodyr ynghyd!" Ond pa fodd y cawn ni y cydfod, yr undeb, y carueiddwch hwn? Ni a'i cawn yn enaint gwerthfawr yn disgyn oddiwrth y Pen, neu yn ngeiriau Ioan, yn "eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw," yr hyn a geidw y saint yn y gwirionedd. Yr Ysbryd sydd yn eu huno â'r Tad ac â'r Mab, nes y maent yn y Tad ac yn y Mab, ac yn un â'u gilydd ynddynt hwy; ac felly "undeb yr Ysbryd" y gelwir yr undeb hwn. "Fel y mae y corff yn un, ac iddo aelodau lawer, a holl aelodau yr un corff, cyd byddont lawer, ydynt un corff, felly y mae Crist hefyd." Pa fodd? "O herwydd trwy un Ysbryd y

bedyddiwyd ni oll yn un corff, ac ni a ddïodwyd oll i un Ysbryd." Y mae pawb a dderbyniasant yr Ysbryd yn gwybod am gyffelyb deimladau crefyddol; ffrŵd o'r un ffynnon sydd yn eu calonau oll, yn rhedeg i'r un môr—yn tarddu i fywyd tragywyddol; ac y mae tywalltiad helaeth o'r Ysbryd yn dwyn yr amrywiol ffrydiau at eu gilydd, i fod yn un afon gref, ymhell cyn eu myned i'r môr. Y mae eglwys, pan geisio dynion gylchu o'i chwmpas, yn myned yn gandryll, fel llestr pren yn y gwrês; ond rhodder dwfr yr Ysbryd yn gawodau arni, hyny a'i sadia wrth ei gilydd, fel y dalio ac y dygo drysorau i'r byd.

Onid yw yn rhy amlwg fod yr Ysbryd yn y dyddiau hyn wedi ein gadael i raddau mawr? Ymysg y llïaws sydd yn arfer gwrando yr efengyl, y mae llawer yn aros yn wrandäwyr yn unig. Er dyfod i dŷ Dduw, ceir hwy yn ddigon caled i bechu yn rhyfygus. Y mae eneidiau argyhoeddedig yn aros yn hir yn yr esgoreddfa,—yn gorphwys ar gydsynio a theimlo heb ddyfod at Grist. Ac y mae llawer yr hyderir eu bod yn wir rasol yn ymddangos yn wywedig a marwaidd gyda chrefydd, yn ymollwng yn eu heneidiau yn lle gwrthsefyll grym cnawd a byd. Ac ni bydd ond pethau digalon fel hyn i'w canfod "hyd oni thywallter arnom yr Ysbryd o'r uchelder." Gall tad a mam duwiol ddywedyd wrth blentyn digrefydd, a phregethwr effrous wrth wrandäwr anghrediniol, "Oni achub yr Arglwydd di, pa fodd yr achubaf fi dydi?" Er cystal yw goleu'r *gas* yn y nos, nid oes dim ond goleuni haul a dry'r nos yn ddydd. Ac nid oes ond Ysbryd dadguddiad a'i gwna yn oleuni yn myd y meddwl, ac a gynnyrcha ffrwythlondeb sancteiddrwydd yn y galon.

Mor drwm yw meddwl am ddynion âg y mae unrhyw arwydd fod Ysbryd Duw yn eu gadael! "Gwae hwynt pan ymadawyf oddiwrthynt." Beth pe peidiai y cawodau o'r nefoedd ddisgyn i ddyfrhâu y ddaear? newyn cyffredinol ac angeuol a fyddai y canlyniad. Beth pe na chyfodai haul eto, ac iddi fyned yn nos ac yn auaf gwastadol arnom? buan y dihoenem ac y trengem, ac felly hefyd bobpeth byw o'n hamgylch. Rhywbeth fel hyna, ond canmil gwaeth, yw ymadawiad yr Ysbryd sanctaidd â dynion. Nid oes i'r cyfryw rai ond rhyw ddysgwyl ofnadwy am farwolaeth yn ei hystyr fwyaf gwirioneddol a brawychus. "Cymer addysg, O Jerusalem, rhag i'm henaid i ymado oddiwrthyt."

Taer-weddïwn am dywalltiad yr Ysbryd. Ceisiwn â'n holl galon y fendith anmhrisiadwy hon. Bydded dydd a nos yn dystion o'n hymdrech â Duw yn ingoedd gweddi am ei hael Ysbryd. Gwyliwn wrthwynebu yr Ysbryd; a chofiwn y rhybudd, "Na thristewch Lân Ysbryd Duw." Gochelwn gellwair â themtasiynau i bechod. Safwn ymhell oddiwrth lwybrau yr yspeilydd. Na wnawn ddim sydd yn groes i natur ac ewyllys yr Arglwydd ein Sancteiddydd. Rhodiwn yn ei ffyrdd, dilynwn ei gyfarwyddiadau, ac edrychwn eto am gymhorth yn ein holl orchwylion crefyddol. Myned ymlaen hebddo yw ei dristâu. O gweddïwch, fy mrodyr, 'O Arglwydd, bywhâ dy waith yn nghanol y blynyddoedd; dyhidla wlaw graslawn, O Dduw, ar dy etifeddiaeth; gwrteithia hi wedi ei blino. O anadl, tyred oddiwrth y pedwar gwynt, fel yn nyffryn yr esgyrn sychion y safo ar eu traed lu mawr iawn.'

# PREGETH XXII.

## O'R CORFF GYDA YR ARGLWYDD.

2 CORINTHIAID v. 8: "Ond yr ydym yn hyf, ac yn gweled yn dda yn hytrach fod oddicartref o'r corff, a chartrefu gyda yr Arglwydd."

MAE gair a rhagluniaeth Duw yn cyd-dystiolaethu bod yn rhaid i ni farw; am hyny nid all dim fod yn fwy dymunol nag i ni gael tymher ein meddyliau yn cyfateb i dynghed ddigyfnewid ein hystâd, sef, gan fod yn rhaid i ni farw, ein bod wedi ein gweithio i farw yn wirfoddol. Nid oes dim mwy afresymol a difudd na bod mewn ymladdfa barhäus â'r hyn sydd anocheladwy, na dim mwy doeth ynddo ei hun na mwy buddiol i ninnau na chymmodi â'r hyn nis gellir ei osgoi, ac ymostwng yn ddystaw i ddedfryd âg y mae yn anmhosibl ei galw yn ol. Mae yr adnodau hyn yn dangos er nad yw angeu ynddo ei hun yn wrthddrych i'w ddymuno, eto fod yr efengyl wedi cysylltu pethau wrtho, a'i ordeinio yn ffordd i fwynhâu y fath wynfyd âg sydd yn ei wneyd yn amgylchiad i'w ddeisyfu; ac y mae'r cristion, wrth edrych arno yn y cysylltiad hwnw, yn hyf ac yn gweled yn dda yn hytrach fod oddicartref o'r corff, a chartrefu gyda'r Arglwydd.

Yr ystâd y mae'r saint yn teimlo mor angerddol yn ei chylch ydyw, marwolaeth mewn trefn i fod gyda'r Arglwydd; a'r modd y maent yn teimlo tuag at yr amgylchiad hwn ydyw, hyfdra, boddlonrwydd, ewyllysgarwch i fyned drwyddo. Mae y naill deimlad yn ei olygu fel y mae yn ofnadwy a drwg, a'r llall fel y mae yn hyfryd a da, a'r ddau yn ei ystyried mewn cysylltiad â'r hyn sydd

yn ddiatreg yn ei ddilyn: "cartrefu gyda'r Arglwydd." Yr ydym "yn gwybod, tra yr ydym yn gartrefol yn y corff, ein bod oddicartref oddiwrth yr Arglwydd," ac yn gwybod, pan yr ymadawn o'r corff, y byddwn yn cartrefu gyda'r Arglwydd; am hyny "yr ydym yn hyf, ïe, "yn hyderus bob amser." Nid iâs drancedig ydyw, fel dewrder milwr yn mhoethder y frwydr; ond dyma dymher sefydlog a gwastadol ein meddyliau. Bob amser yr ŷm beunydd yn marw, ïe, yn barod i wynebu myrdd o farwolaethau, er mwyn hyn. Yr oedd mawredd y gobaith o'i flaen, a'r teimlad o'i golled nes ei fwynhâu, yn peri fod gwroldeb yr apostol yn ennynu wrth sôn am dano—"Yr ydym yn hyf, ac yn gweled yn dda." Nid peth yr ydym yn ddigon gwrol i ymostwng iddo gan ei fod yn rhaid; ond dyma ydyw boddlonrwydd ein hewyllys—ein hyfrydwch penaf. "Y mae genyf chwant i'm dattod, ac i fod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw."

Crëawdwr yr ansawdd hon ar enaid pechadur ydyw Duw, fel y gwelwn yn y 5ed adnod: "A'r hwn â'n gweithiodd ni i hynyma yw Duw, yr hwn hefyd a roddodd i ni ernes yr Ysbryd;" a thrwy hyny efe a roddodd i ni flaenffrwyth a sicrwydd y fuchedd dragywyddol: "Canys ni a wyddom," meddir yn nechre y bennod, "os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd; canys am hyny yr ydym yn ocheneidio, gan ddeisyfu cael ein harwisgo â'n tŷ sydd o'r nef." Rhag i neb ei dybied yn annaturiol, ac megys yn elyn i gyfansoddiad ei natur trwy ei fod mor barod i ymadael â'r corff, yr hwn sydd yn rhan hanfodol o honi, mae yn penodi ac yn egluro ei ddymuniad yn llawn: "Yn yr hyn nid ŷm yn chwennych ein dyosg, ond ein harwisgo." Mae y dyosg yma yn arwyddo mwy na'r act o farw, fel y mae yr arwisgo yn cynnwys mwy na'r act o fyned i'r nefoedd; mae y ddau yn arwyddo ystâd. "Nid ŷm yn chwennych ein dyosg;" nid yw marw nac ymadael â'r corff gwael hwn ynddo ei hun yn ddymunol; llawer llai yr ydym yn chwennych ystâd ddyosgedig, bod yn hollol a thros byth heb fod mewn undeb âg un corff. Yn y corff y dygwyd ein henaid i fôd, trwyddo y mae wedi arfer gweithredu, nid ŵyr ef ddim pa fodd y gwna hebddo; ac, yn wir, mewn corff y mae i fod byth; pa mor hapus bynag a fyddai heb gorff, nid dyna ei ddiwedd. Felly, "nid ŷm yn chwennych ein dyosg." Beth ynte? "Ond ein

harwisgo." Nid ein diwisgo, ond ein harwisgo â'n tŷ sydd o'r nef, neu tŷ nefol y corff gwael hwn wedi newid, a'i wneyd yn gymhwys breswylfa i'r enaid yn y nef. "Ac os wedi ein gwisgo" â'r corff ysbrydol yma—"nid yn noethion ein ceir; nid mewn cyflwr dyosgedig y byddwn, nid eneidiau noethion heb gyrff a fydd genym, eithr rhai wedi eu harwisgo â'r adeilad gan Dduw, y tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd. Beth yw y tŷ hwn—y tŷ *yn* y nefoedd, ac nid y nefoedd ei hun fel lle—dichon nas gallwn sicrhâu. Meddylia rhai y golygir yma y caiff yr enaid dedwydd, wedi ymadael â'r corff, ei wisgo â rhyw ddefnydd neu fater, ymha un yr erys hyd yr adgyfodiad. Ond y mae yn ddïogel i ni gyfeirio, pa fodd bynag, at yr ystâd o ogoniant a gwynfyded-igrwydd a fwynhâ enaid duwiol wedi myned trwy angeu. Gan fod yn anmhosibl cyrhaedd y cyflwr gogoneddus hwnw heb ym-adael â'r corff marwol breulyd hwn, "yr ydym yn hyf, ac yn gweled yn dda," meddir yma, "yn hytrach fod oddicartref o'r corff, a chartrefu gyda yr Arglwydd."

I. Y DDWY YSTAD A GYFERBYNIR, RHWNG PA RAI Y MAE DYMUNIAD YR ENAID GRASOL YN GWEITHREDU: bod yn y corff, a bod gyda yr Arglwydd.

Yr ydym yn y corff, nid yn gymaint yn lleol, ond ynddo mewn undeb bywiol, serchogrwydd, a chymundeb hyfryd. Ac y mae'r dull ag y mae yr enaid yn bresennol yn y corff yn dangos rhyw-beth o'r modd y mae i fod eto yn bresennol gyda yr Arglwydd. Yr ydym i gartrefu gyda yr Arglwydd yn dra chyffelyb âg yr ŷm yn gartrefol yn y corff: mewn undeb gwirioneddol a chymdeithas hyfryd âg ef; cariad a gras yr Arglwydd yn trosglwyddo bywyd, harddwch, a hapusrwydd i'r enaid, megys ag y mae yr enaid yn fywyd a bywiogrwydd i'r corff.

1. *Mae y ddwy ystâd hyn yn rhyfedd a dirgel iawn.*

Mae cartrefiad yr enaid yn y corff yn wybodaeth ry ryfedd i mi; uchel yw, ni fedraf oddiwrthi: dau sylwedd mor wahanol âg ysbryd a chnawd—meddwl a thelpyn o glai—wedi eu cyfansoddi yn un crëadur; y fath undeb rhyngddynt â'u gilydd fel nas gall yr ysbryd, tra byddo'r corff mewn einioes, ddïanc o hono. Yr oedd yr ysbryd aflan yn gallu myned i mewn ac allan o gyrff dynion wrth ei ewyllys, ond nid all yr enaid dynol wneyd hyny. Gall ysgogi holl aelodau y corff, a myned ynddo lle yr ewyllysio;

ond nis gall efe ddim myned o hono tra parhäo y dyn yn ddyn byw; nid oes dim ond angeu a wna ysgariaeth rhyngddynt a'u gilydd. Ni fyn yr enaid ddim bod heb gorff chwaith. Yn hwn y dygwyd ef i fôd, a thrwyddo y mae'n gweithredu. Os nad all y corff actio heb yr enaid, felly nis gall yr enaid, fel y mae yn y fuchedd hon, actio heb y corff. Buasai heb un syniad am lïaws o bethau oni bae iddo eu cael trwy synwyrau y corff: eu gweled drwy'r llygaid, neu eu clywed drwy'r clustiau. Nid oes un ffordd i enaid, tra yn ẏ corff, dderbyn na rhoddi adeiladaeth ond trwy alluoedd y corff; ped anmherid ymenydd hwn, y mae yntau yn dyrysu yn ei weithrediadau. Dyna gynnulleidfa wedi ymglymu wrth ei gweinidog. Ond ni bydd enaid duwiol eu gweinidog o un gwasanaeth i'w bobl mwy wedi gadael y corff. Trwy ddwylaw hwn yr estynai iddynt arwyddion ei garedigrwydd; traed hwn a'i cariai i ymweled â hwynt pan yn gleifion; trwy ei glustiau y derbyniai efe eu cwynion, a thrwy ei dafod y dyddanai hwynt â'r dyddanwch â'r hwn y dyddenid ef ei hunan gan Dduw. Trwy y corff yr oedd egwyddorion grasol ei enaid yn dyfod yn amlwg i'w meddyliau, ac y cawsant, fe ddichon, fûdd ei esiamplau dros lawer o flynyddoedd.

Ond y mae undeb yr enaid â'r Arglwydd yn fwy rhyfedd nac undeb â'r corff. Nid ydym ni yn gwybod fawr am dano fel y mae wedi dechreu rhwng Crist a'n heneidiau yn y bywyd hwn. Wele yr Ysbryd yn preswylio yn y saint, Crist yn trigo trwy ffydd yn y galon, y cristion yn aros yn Nuw, a Duw ynddo yntau, ac yn trosglwyddo goleuni bywyd a llawenydd i'r enaid fel âg y mae cymundeb gwirioneddol rhyngddynt â'u gilydd. Ond pa fodd, nis gwyddom. Gwyddom fod ein meddwl un fynyd mewn dyledswydd grefyddol yn dywyll ac yn farwaidd; ond y fynyd nesaf y mae yn canfod pethau Duw yn eu gogoniant, nes mae ei fyfyrdodau yn ymsefydlu, ei serchiadau wedi bywhâu; bywyd, goleuni, nerth, a llawenydd yn ymwasgaru trwy'r fynwes. Ond pa fodd y bu hyn, nis gwyddom ni. Llawer llai ynte y gwyddom beth fydd y cymundeb hwn wedi ei berffeithio yn y nef. "Nid amlygwyd eto beth a fyddwn." Ni a wyddom fod y fath undeb yn bod. Mae yn rhaid fod rhywbeth yn cyfateb i eiriau'r Bibl yn bod: "Yr hwn a gysylltir â'r Arglwydd, un ysbryd yw." Oes, y mae rhywbeth yn cyfateb i'r geiriau rhyfedd, "Myfi ynddynt hwy,

a hwythau ynof fi—gweled ei wyneb Ef—yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll!" Pa beth a fydd bod Duw yn a thrwy yr enaid fel y tân yn a thrwy yr haiarn nes ei droi i'r un naws âg ef ei hun!

2. *Nis gall y cristion fyned i mewn i'r naill ystâd tra byddo yn aros yn y llall.*

Mae ei undeb â'r Arglwydd heb ei berffeithio tra byddo yr undeb â'r corff yn parhâu. Tra yn gartrefol yn y corff, y mae oddicartref oddiwrth yr Arglwydd. Yr awr oreu ar yr enaid duwiol mewn dyledswydd—y gyfeillach agosaf a'r adnabyddiaeth fwyaf clir—y presennoldeb mwyaf teimladol a brofodd efe ar y ddaear erioed, nid oedd ond golwg o bell, b̀yr-adloniad oddicartref, mewn cymhariaeth i fwyniant y nefoedd. Rhaid myned oddicartref o'r corff, i gartrefu gyda'r Arglwydd.

Tra yn y corff, y mae'r meddwl yn llygredig. Hiraetha y cristion lawer am berffeithrwydd; gobeithia yn y naill oedran y bydd iddo ei gyrhaedd yn yr oedran arall; hydera mewn iechyd y bydd yn well mewn cystudd, neu mewn ieuenctyd y bydd yn well mewn henaint; ond yn llygredig y mae yn ei gael ei hun tra yn y corff, pa faint bynag fyddo ei radd mewn gras. Y mae cymaint o dywyllwch am Grist, ac o anghydffurfiad âg ef, a fyddo yn ansawdd y meddwl, yn gymaint a hyny o ddiffyg yn yr undeb dedwydd â Christ, ac o bellder o'i gartref. Mor aml y bu yr enaid yn amcanu ymgysylltu yn llwyr â'i Wrthddrych trwy weithrediadau grasol; ond yn lle hyny tywyllwch, oferedd, crwydriadau a fyddai yno, nes yr oedd y cristion yn cywilyddio a chwyno, "Cwblhâu yr hyn sydd dda nid wyf yn medru arno." Ië, os na bydd ei wyliadwriaeth yn barhäus, y mae'r drwg yma yn barod i dòri allan yn ei ewyllys a'i serchiadau yn ymadawiad â'r Duw byw, ac yn ymlyniad wrth bethau eraill, nes myned âg ef ymhellach oddicartref nag o'r blaen. Bydd eisieu yn wastadol gymhelliadau cryfion yr efengyl i'w gadw gyda ei Dduw. Am hyny y mae yn ocheneidio yn llwythog, 'O pe bawn i gartref, byddwn yn rhydd o'r afreoleidd-dra sydd yn actau fy meddwl; mi a garwn megys y'm cerir; adnabyddwn megys y'm hadweinir.' A chan nas cyrhaedda hyny mewn un tymmor tra yn y corff, efe a foddlona i hwn fyned i'r bedd er mwyn ei fwynhâu.

Tra yn y corff y mae'r meddwl yn wan. Nid yn unig y mae

anmherffeithrwydd pechadurus, ond y mae gwendid naturiol ynglŷn â'r enaid tra yn y corff, sydd yn ei anghymhwyso i ogoniant a mwynhâd y nefoedd. Er fod yr enaid yn gweithredu mewn amgyffred a deall drwy y corff, eto mae ei weithrediadau yn weinion o herwydd gwendid yr offeryn y mae yn gweithio drwyddo. Po wanaf y byddo hwn, gwanaf oll yn gyffredin a fydd ei weithrediadau yntau. Buost yn hir, fy enaid, heb fedru gweithredu dim drwy'r corff. Nid oedd gan dy fam a'th gofleidiai un ffordd at dy feddwl yn dy fabandod. Pan ddechreuodd y peiriannau corfforol gynnyddu, dyna dithau yn ymagor; ond mewn dirnadaeth egwan a graddol iawn yr oeddit yn gweithredu. Yr oedd raid dy borthi di fel y corff â llaeth, ac nid â bwyd cryf. "Fel bachgen y llefarwn, fel bachgen y deallwn, fel bachgen y meddyliwn." Gyda fod y dyn yn ŵr, dyna efe yn myned yn blentyn drachefn o dan effeithiau henaint. Ni fedr nac amgyffred na chofio fel y bu. Mae'r corff yn blino, yn afiach, yn gysglyd; ac y mae yr holl bethau hyn yn gwanychu actau'r meddwl.

Mae y ddau, y corff a'r enaid yma, yn rhy wan i ddal tragywyddol bwys gogoniant. Gwell i ni yn y byd hwn rodio wrth oleu anmherffaith ffydd mewn dyledswyddau trymaidd na phe tòrai gogoniant y nef arnom; ni wnai hyny ddim ond llethu corff ac enaid. Pan ddaeth gronyn o hono i'r golwg ar ben y mynydd sanctaidd, yr oedd Pedr yn colli arno ei hun; "nis gwyddai beth yr oedd yn ei ddywedyd." Pan ymddangosodd Crist yn ei ogoniant i Ioan a fuasai yn fynych â'i ben ar ei fynwes, efe a syrthiodd wrth ei draed fel marw. Aeth â Saul o Tarsis i'r ddaear. Trôdd wêdd Daniel yn llygredigaeth; yr oedd y gogoniant yn myned â'i anadl oddiarno. "Ni ddichon cîg a gwaed etifeddu teyrnas Dduw." Rhaid perffeithio gras yr enaid, a rhaid gwisgo y corff âg anfarwoldeb, tuag at eu gwneyd yn gymhwys i ogoniant.

Nid yw yr egwyddor o ffydd, trwy yr hon y mae'r enaid yn byw ar Grist yn y corff, ddim yn abl i'w ddwyn adref. Ffydd a golwg yw y ddau allu mawr trwy ba rai y mae yr enaid yn myned allan at Grist; y naill yn y byd hwn, a'r llall yn yr hwn a ddaw, y naill yn dechre a'r llall yn perffeithio, gras yr enaid. Ni pherffeithia ffydd ddim; y mae yn dechre yr adnabyddiaeth, ond golwg a bair i'r enaid adnabod megys ei hadwaenir. Dechreua

hi newid yr enaid i'r ddelw, ond gweled Crist megys ag y mae a'i gwna yn gwbl gyffelyb iddo. "Yr ydym yn gwybod, tra yr ydym yn gartrefol yn y corff, ein bod oddicartref oddiwrth yr Arglwydd." Paham a pha fodd felly? "Canys wrth ffydd yr ydym yn rhodio, ac nid wrth olwg." "Yr awr hon y mae yn aros ffydd;" a da i ni yw hyny yma. Trwy ffydd, "gweled yr ydym yr awr hon;" ïe, gweled peth na wybu y dyn anianol erioed; gweled yr un Gwrthddrych â'r nefolion, a'i weled Ef oll yn hawddgar, yn rhagori ar ddeng mil. Eithr, "gweled yr ydym yr awr hon trwy ddrych, mewn dammeg." Mae yr adnabyddiaeth yn rhwym o fod yn anmherffaith. Nid efe ei hun yn ddigyfrwng yr ydym yn ei weled, ond cysgod o hono yn y drych. Ac y mae ein hamgyffredion o hono mor anmherffaith, nes nad ydyw ond rhywbeth yn debyg i wneyd allan ystyr dammeg; rhywbeth yn dywyll ac ansicr. Byddwn yn penffwdanu gyda'r ddammeg, fel y Philistiaid gyda dychymyg Samson am ddyddiau, heb weled dim ond ein tywyllwch, a'r cwbl yn diweddu mewn ochenaid, Am yr Emmanuel, nid allwn ni mo'i gael ef! Mor fychan yw yr hyn a wyddom ni! Rhaid cael aredig âg anner y Gŵr a lefarodd y dychymyg; derbyn help yr Ysbryd a roes y gair, cyn y gallwn weled dim. Fel y dywedai yr eglwys am ei Hanwylyd, "Wele efe yn sefyll y tu ol i'n pared;" nis gellir felly ei weled na'i glywed ond yn aneglur. Eithr pan y tyner y pared pridd i lawr, ac i oleuni gogoniant berffeithio yr enaid, nid drych na thystiolaeth a fydd ganddo mwyach; ond bydd yn "gweled wyneb yn wyneb;" ei weled Ef ei hun. "Ni a gawn ei weled ef megys âg y mae. Eto megys nad yw goleu ffydd yn dyfetha goleu natur, ond yn ei berffeithio, felly y gwna goleu gogoniant â goleuni ffydd.

3. *Mae gan y credadyn sicrwydd am y naill ystâd gystal a'r llall.*

Gŵyr am fod yn y corff drwy brofiad, a gŵyr am yr ystâd arall trwy ffydd. Os nad all ffydd ei sefydlu ef ynddi, y mae hi yn dwyn sicrwydd i'w fynwes am dani; ac felly efe a ŵyr fod yr ystâd nefol yn bod, a'i bod hi yn well na'r fuchedd hon. Nid oedd yr eglwys Iuddewig ddim yn dirnad goleuni a rhyddid cyflwr yr eglwys dan yr efengyl; eto gwyddent fod y cyfryw gyflwr i'w ddysgwyl, ac y byddai yn well na'r cyflwr yr oeddent hwy ynddo. Felly er eu bod yn mawrhâu Duw am air ac ordinhadau yr ystâd

hòno, sychedent am ei gweled yn cilio i roddi lle i'r efengyl. "Hyd oni wawrio'r dydd, a chilio o'r cysgodau;" ymlaen at hyny yr edrychent yn awyddus. Yn gyffelyb y mae yr eglwys dan yr efengyl gyda golwg ar ystâd ddyfodol gogoniant. "Nid amlygwyd eto beth a fyddwn." Pe cawsai Paul genad i ddywedyd beth a welodd a pheth a glywodd yn mharadwys Duw, buasai yn dda genym. Ond ni a wyddom fod y sefyllfa nefol yn llawer iawn gwell na'r sefyllfa ar y ddaear; byddwn yno heb yr hyn sydd yn poeni, yn mwynhâu yr hyn sydd hyfryd; ac felly yr ydym, er galw y sabbath yn hyfrydwch, yn hiraethu am yr orphwysfa sydd eto yn ol.

Gŵyr y cristion fod y fath ystâd i'w dysgwyl, canys y mae efe yn cael y Bibl yn bendant yn dyweyd fod y fath le yn bod. Mae'r duwiol yn un sydd yn rhoddi pob coel ar eiriau Duw; ac y mae yr Ysgrythyr yn eglur ddyweyd am wlad well; am Dduw wedi parotôi dinas i'w bobl; "dinas ag iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw." Sicrhâ fod etifeddiaeth yn nghadw yn y nefoedd i'r rhai oll a adgenedlwyd. Yr oedd Crist yn benderfynol yn dyweyd fod gan ei Dad dŷ, yn yr hwn yr oedd llawer o drigfanau, a'i fod ef yn myned i barotôi lle i ni. Felly, fel yr wyf yn rhwym o gredu am wledydd yn y byd hwn ar sail gair dynion, yr wyf, a dyweyd y lleiaf, mor rhwym o gredu am y nef. Y mae rhyw le ac ystâd yn bod sydd yn cyfateb i'r geiriau gwerthfawr hyn.

Mae gan y cristion frodyr wedi myned yno. Aeth Enoc ac Elias yno yn y corff; daeth Moses ac Elias oddiyno wedi bod yno am oesoedd, a dychwelasant yno drachefn; y mae Mab Duw wedi esgyn yno drwy yr awyr yn weledig; ac yr oedd angelion Duw yn disgyn i sicrhâu mai yno yr aethai efe, ac y daw drachefn i gymeryd ei bobl ato yno. Yr oedd Paul yn byw ac yn llafurio flynyddoedd ar y ddaear wedi bod yno dros enyd; a chafodd Stephan weled y wlad hòno o'r ddaear.

Mae portrëad ac arddangosiad o'r lle wedi ei wneyd cyn hyn ymysg dynion ar y ddaear. Fe aeth Duw â Moses i'r mynydd, ac a roes *idea* iddo am y pethau nefol eu hunain; beth a fyddai ansawdd pethau yno pan y cyflawnid y dirgelwch yn nghnawdoliaeth ac esgyniad y Gwaredwr. Yna efe a'i hanfonodd i dynu pictiwr o nefoedd fach yn y gwersyll. Yn y canol yr oedd y

cysegr, pabell Duw; yn nirgelfa hono yr oedd yr arch a'r drugareddfa, y cerubiaid, a'r Shecinah. I mewn yno, wedi gwneyd cymmod yn y cysegr, yr oedd yr archoffeiriad yn myned i weithredu tuag at Dduw dros yr addolwyr oedd yn aros allan. Oddiamgylch yr oedd y deuddeg llwyth. Beth yw hyn oll? Bỳr-ddarluniad ydyw o'r nef ei hun. Hon yw y Jerusalem nefol, lle yr esgyn y saint o holl gyrau y byd; y deml lle yr addolir Duw yn berffaith. Yma y mae Efe yn Nghrist ar orseddfainc ei ras, y llechau yn gyfan o dan gauad aur yr iawn, yntau, yn un â'i ogoniant, yn gwasgar ffrwythau ei ras i'r eglwys drwy'r nef a'r llawr. Yr Archoffeiriad mawr, ar ol gwneyd cymmod yn nhabernacl ei gorff a thrwy ei waed ei hun, sydd wedi myned i mewn yno, i ymddangos ger bron Duw drosom ni; y ddalen aur ar ei dalcen—dy achos di, fy enaid, ar ei galon—y thuser aur yn ei law—a'r Mawredd yn gwenu arno, gan ddywedyd, Myfi a gefais iawn! Yno y mae myrddiwn o angelion, ac ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd. Ehedeg yno a wnaethant yn angeu; daethant i dangnefedd; arosant dan gysgod yr Hollalluog, yr hwn sydd yn breswylfa i'w bobl trwy yr holl genedlaethau. Maent yn aros yn ei babell byth, gan ddysgwyl y mabwysiad, sef prynedigaeth eu corff.

Ac mae'r saint ar y ddaear yn dyfod atynt yn addoliad yr efengyl, ac felly yn cael blaenffrwyth ac ernes o'r nefoedd cyn myned iddi. Mae eu henaid yn dyheu am fyned yno. Yr ystâd nefol sydd yn gymhelliad iddynt i bob dyledswydd—yn sefyll yn lle pob mwyniant—yn ddigon o ad-daliad am bob blinder. Ant drwy y cwbl a'u cyferfydd dan ganu wrth gofio fod y nef o'u blaen.

4. *Mae'r credadyn yn y byd hwn yn sefyll mewn perthynas â'r ddwy ystâd.*

Y mae cyfathrach rhyngddo â'r corff ac â'r Arglwydd—â'r byd hwn, ac â'r byd a ddaw. Mae yn ei fynwes deimladau sy'n cyd-daro â'r ddwy ystâd, a chanddo waith a chyfeillion yn y ddwy. Felly mae gan bob un hawl a dylanwad cryf ar ei feddwl. Yn rhinwedd ei undeb â'r corff, y mae wedi dyfod i berthynas â gwraig, plant, a chyfeillion o'r un natur âg ef ei hun, ac yn cael ei amgylchu â llïaws o wrthddrychau cyfaddas i'w synwyrau corfforol, a phleserau sydd at archwaeth y bywyd anifeilaidd hwn. Yn ei undeb â'i Arglwydd, daeth i gyfathrach â thrigolion nefol, ac yn

alluog i fwynhâu pleserau angelion; a mynai ei ysbryd weithiau fyned oddicartref oddiwrth y teulu corfforol yma, a chartrefu yn y cymundeb ysbrydol yr ochr arall i'r llèn.

Fel hyn mae nef a daear yn cydsugno yr enaid, nes y mae yn gyfyng arno o'r ddeutu, heb wybod pa beth i'w ddewis. Ychydig ychwaneg o ymwrando ar deimladau natur lawer tro a dröai y fantol o ochr aros yn y corff, a gradd mwy o ffydd a'i tröai o blaid bod gyda yr Arglwydd. Pe medrem roi llais natur yn ngenau y corff, yn debyg fel y mae John Howe yn sylwi ar hyn, dadleuai dros arosiad yr enaid yn ei hen gartref: "Onid myfi yw y corff a ffurfiwyd o bwrpas i ti—y gragen sydd wedi tyfu am danat o'r dechreuad? Ynof fi y cefaist fôd; trwof y dechreuaist weithredu. I'm synwyrau yr ydwyt yn ddyledus am dy syniadau cyntaf, ac ni wyddost mewn un modd beth a feddi na pha sut y gweithredi hebof fi. Paham yr ymadewi â'th hen gartref? Ti yw fy enaid, fy mywyd a'm gogoniant i; os ymadewi, yr wyf yn llygru, yn myned yn dail i'r ddaear, ac yn fwyd i bryfed. Trwy fy undeb â thi y mae i mi gyfran mewn crefydd; pan y byddi di yn gweddïo ar Dduw, câf finnau fyned ar fy ngliniau; pan y byddi yn bendithio Duw, câf finnau ganu; a phan byddi yn ymborthi ar ffrwythau angeu Crist yn y swper, câf finnau yr arwyddion, yn awgrym fod rhywbeth amgen i'r anifail yn fy aros eto. Ond am y bedd, nid oes dim crefydd yno; yn angeu, nid oes goffa am ei enw; yn y bedd pwy a folianna yr Arglwydd? ni thraethir ei drugaredd ef mewn bedd, ni chlodfora y llwch mo hono. Os bûm yn fagl i ti, ac yn llyffetheirio dy weithrediadau, bûm hefyd o ryw help. Trwy fy llygaid i y gwelaist hardd lythyrenau ei enw Ef gyntaf erioed; trwy fy nghlustiau i clywaist yr hyfryd lais; myfi a'th ddygodd drwy goedwig berleisiol i ben y bryn hyfryd i weled y dolydd wedi eu gwisgo â defaid, a'r dyffrynoedd wedi eu gorchuddio âg ŷd, nes byddai hwyl bloeddio a chanu yn disgyn arnat tithau, pan hwyrach na fydd ysbryd noeth yn derbyn un effaith oddiwrth y fath wrthddrychau." "Ah," medd yr enaid, "nid fy nghynllun i yw yr ymadawiad; nid wyf yn chwennych fy nyosg."

Ond yma y mae Iesu Grist megys yn tòri ar yr ymddyddan. Dywed efe yn mhrofiad y credadyn, "Un ochr i'r ddalen yw hona: mae genyf finnau air i'w ddyweyd ar y pwnc. O enaid,

onid myfi a'th gerais â chariad tragywyddol, ac a'th brynais i Dduw trwy fy ngwaed, a gymerais gnawd fel yr eiddot ti i farw drosot, ac a roddais fy Ysbryd i'th fywhâu? A ydyw y corff yn sôn am ryw bleserau a fwynhei drwy dy undeb âg ef? meddwl, attolwg, beth a gefaist trwy dy berthynas â minnau. Yn rhinwedd dy berthynas â mi, codwyd dy berson i heddwch Duw, a'th natur i'w ddelw; oes! y mae i ti ffynnonau anhysbydd o bleserau yn y Duwdod mawr. Agorwyd i ti byrth y trigfanau nefol; y mae parodrwydd i'th dderbyn i'r tragywyddol bebyll. Gollwng yr hen gorff yna i lawr i'r bedd; ac os yw yn dda genyt am dano, yr wyf yn sicrhâu hyn cyn i ti ymadael, Mi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf. Cyfnewidiaf y corff gwael hwn fel y gwneler ef yr un ffurf â'm corff gogoneddus i. Myfi yw yr Adgyfodiad a'r Bywyd; yr hwn sydd yn credu ynof fi, er iddo farw, a fydd byw. Wedi rhoddi corff ac enaid i'm gofal i, mi a gadwaf y ddau hyd y dydd hwnw."

Pan ddaw y pethau hyn i'r profiad, gweithiant gredinwyr yn gydffurf âg iaith y testun: "Yr ydym yn hyf, ac yn gweled yn dda yn hytrach fod oddicartref o'r corff, a chartrefu gyda yr Arglwydd."

II. Yr hyn sydd yn peri i'r cristion, pan mewn iawn dymher, ddewis y naill ystad yn hytrach na'r llall.

Amgylchiad nad oes ei gyffelyb yn y grëadigaeth yw marwolaeth dyn. Nid oes gan angel ddim a all farw, ac nid oes yn yr anifail ddim a all fyw ar ol marw. Mae gan ddyn ysbryd anfarwol fel yr angel, a chorff marwol fel yr anifail; ac wele'r ddau, wedi bod yn wastad ynghyd, heddyw yn myned i ymadael â'u gilydd dros oesoedd maith. Mae yr orchwyliaeth yn chwerw, a'r canlyniad yn arswydol: natur drwy ing a loesion angeuol yn ymollwng, a'r undeb diamgyffred yn tòri, a'r ysbryd dyosgedig yn dychwel at Dduw i'r byd anweledig a thragywyddol. Mae yn werth gwybod beth sydd yn gwneyd enaid y credadyn yn ddigon hyderus i wynebu y fath amgylchiad yn wirfoddol ac o ddewisiad. A dyma yw hyny: "Cartrefu gyda yr Arglwydd."

1. Ystyriwn *gyda phwy y bydd y credadyn yn cartrefu:* gyda yr Arglwydd Iesu.

Wele y Person mwyaf rhyfeddol sydd yn bod. Nid oes gyffelyb iddo ymysg dynion nac angelion; ac nid oes Berson yr un fath

âg ef yn Hanfod Duw ei hun. Duw yn y dyn Crist Iesu: cartrefu gydag Ef y mae yr ysbryd a berffeithiwyd. Efe yw canolbwynt yr arfaethau tragywyddol, cyflawnwr dyfais Duw, gwrthddrych yr hen brophwydoliaethau, sylwedd yr holl gysgodau, cnewyllyn yr holl addewidion, dysgwyliad yr oesoedd, a dymuniant yr holl genedloedd, at yr hwn y mae y ddau destament yn cydgyfeirio, yn yr hwn y mae Duw a dyn yn cydgyfarfod mewn heddwch, ac angelion a saint, teulu y nef a'r llawr, yn un eglwys. Ynddo ef y maent wedi eu hadgrynoi yn un, ynddo ef yn cydsefyll, a thrwyddo yn cydweled a chydfwynhâu Duw yn dragywydd.

Llawer sydd o edrych ar bersonau o urddas. Pwy mor urddasol âg ef? â'n Harglwydd ni? Y mae efe "uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd." Llawer o sylw a wneir o'r rhai a chwiliasant i ddyfnderau natur, ac a ddygasant bethau dirgel i oleuni. Pwy fel yr Hwn a hysbysodd y Duw na welodd neb erioed, a roes feddyliau ei galon ar gyhoedd, ac a ddŷg fywyd ac anllygredigaeth i oleuni? Llawer o graffu a fydd ar y rhai a gyflawnasant orchestion mawrion. Beth am fod gydag Ef a ysigodd ben y sarph, a yspeiliodd dywysogaethau, a ddattododd weithredoedd y diafol, a ddybenodd gamwedd, a gododd hen ddeiliaid marwolaeth i deyrnasu mewn bywyd, gan fod yn angeu i'w hangeu yn ei angeu ei hun? Bydd ôl ei waith ar grëadigaeth Duw byth. Sychedodd yr enaid crediniol lawer am ei adnabod; syllodd lawer arno yn y drych a'r ddammeg; ond gartref y bydd yr Arglwydd ei hun yn ddigyfrwng ger bron y meddwl byth.

2. Ystyriwn *ymha le y mae'r Arglwydd yn cartrefu.* Gyda golwg ar ba ystâd o eiddo Crist mae'r enaid duwiol yn dymuno bod gydag Ef?

Yr ydym yn barod i feddwl y buasai yn dda genym fod gyda yr Arglwydd Crist ymhob amgylchiad y bu efe ar ei daith yn y byd. Mi dybiwn y buasai yn dda genyf ei wylio yn y preseb; gorwedd wrth ei draed ef fel ci bach i glepian cyfarth os daethai Herod na neb yn agos i wneyd drwg iddo. Pwy na fuasai yn caru bod gydag ef yn teithio o Judea i Galilea ac yn ol—o Bethania i Jerusalem yn ol ac ymlaen—dros afon Cedron i ardd Gethsemane? Pwy na fuasai yn hoffi bod gydag ef ar ben y mynydd sanctaidd yn dwyn y nefoedd i lawr i'r ddaear, ac ar ben

y llall yn esgyn o'r ddaear i'r nefoedd? Beth a fuasai ei weled ef yn gweddïo nes yr oedd ei wyneb yn dysgleirio—yn gorchymyn yr elfenau cynddeiriog i lonyddwch—clefydau a chythreuliaid yn ffoi o'i flaen? Beth a fuasai clywed ei eiriau grasol yn dyferu o'i enau ef ei hun, gwrando arno yn dyddanu benywod gweiniaid, ac yn bendithio plant bach?

Ond beth, yn wir, a fydd bod gydag ef yn ei gartref, o dan y gogoniant oedd iddo ef gyda'r Tad cyn bod y byd! Mae yn rhaid i ni feddwl fod hwn yn rhywbeth mawr, canys yr oedd ef ei hun yn sôn llawer am dano. Nid oedd mawredd bydol ddim yn werth ganddo ef edrych arno eilwaith. Y mae dillad esmwyth, prïodi a rhoi i brïodas, yn burion pethau i blant y byd hwn; ond yr oedd ffordd yr Iesu fry—ei syniadau yn gydnabyddus â phethau oedd yn gosod gwywdra ar deyrnasoedd y byd a'u gogoniant. Nid oedd gwychder y deml, neu'r cynnyg i'w wneyd yn frenin, yn ddim yn ei olwg ef a gadwai ei lygad ar ogoniant y tŷ nefol, ac a arosai am yr adeg i fod yn ben crëadigaeth Duw. Ond yr oedd ei serchiadau ef yn cyffro wrth sôn am y gogoniant oedd iddo gyda'r Tad cyn bod y byd. "Fy ngogoniant! Onid oedd raid i Grist fyned i mewn i'w ogoniant? Mab y dyn a eistedd ar orsedd ei ogoniant; efe a ddaw yn ei ogoniant ei hun, ac yn ngogoniant ei Dad, gyda'r angelion sanctaidd." Wel, yn y gogoniant hwn y cei di, enaid duwiol, ei weled ef, ac aros gydag ef yn ddiddiwedd. Caiff gogoniant ei Dduwdod ei lawn amlygu; a'i natur ddynol a fu yn y tlodi a'r dirmyg, a welir yno dan ogoniant mwy na dysgleirdeb yr haul. Canfyddir y Duw-ddyn yn mwynhâu ei holl ogoniant cyfryngol, yn Ben ar bob tywysogaeth ac awdurdod, ïe, ar holl grëadigaeth Duw, yn gyfrwng cymundeb â Duw rhwng saint ac angelion, ac felly yn llywio addoliad y gymanfa fawr a bendigedig. Bydd holl gamrau ei ddarostyngiad yn myned yn foroedd o ryfeddodau yn ngoleu ei fawrhydi yn y nef. Gwn fy mod yn dyweyd am hyn yn wael a thywyll; ond pe bawn gartref yn ei weled ef, dywedwn yn amgenach. Os daeth brenines y deau o eithafoedd y ddaear i weled gogoniant Solomon, y mae mwy na Solomon yma; mae yn werth myned i dragywyddoldeb i gael dirnadaeth am ei ogoniant ef.

3. Ystyriwn *pa beth a fydd cartrefu gyda yr Arglwydd.*

Cynnwysir yn hyn lawer mwy na bod yn yr un fan âg efe, ac yn

edrych arno; mae yn golygu byw yr un bywyd âg ef, bod yn gyd-gyfranog âg ef yn ei ogoniant. Bydd y seintiau nefol yn myned i mewn i'w lawenydd; ei lawenydd ef wedi ei gyflawni ynddynt hwy; yfant gydag ef yr un gwîn newydd yn nheyrnas ei Dad. Megys yr ordeiniodd y Tad iddo ef deyrnas, felly yr ordeiniodd yntau iddynt hwythau. Dyrchafwyd ef i deyrnasu gyda'r Tad ar ei orseddfainc, ac y mae yntau yn dyrchafu ei bobl i deyrnasu yno gydag ef. "Yr hwn sydd yn gorchfygu, rhoddaf iddo ef eistedd gyda mi ar fy ngorseddfainc, megys y gorchfygais innau, ac yr eisteddais gyda'm Tad ar ei orseddfainc ef." Os dyna dy gartref, gristion, paham, ynte, yr ofni fyned trwy lỳn cysgod angeu, y ffordd uniongyrchol, a'r unig ffordd, i'th gartref dedwydd?

4. *Cartrefu* gyda yr Arglwydd a fydd hyn; *nid myned a dyfod*, ond *aros* gydag ef.

Mae yr Iesu yn ei ras yn ymweled â christion yn fynych yn y bywyd hwn; ond y mae efe gydag ef megys i'r ddau ddysgybl oedd yn myned tuag Emmaus: yn awr yn ymegluro, ac yna yn diflanu. Mae yn edrych trwy ffenestri yr ordinhadau; ond gyda bod y truan yn dechre gwaeddi, Dacw fy Nuw i! mae efe yn cilio ac yn ymguddio. Yn debyg fel y mae'r baban gyda goleuni'r ganwyll: y mynyd hwn y mae efe, dybygid, wedi canfod y goleu, a'i lygaid bach yn ymsefydlu arno; ond y mynyd nesaf, dyna efe wedi ei golli, ac yn edrych am dano yn ofer,—felly y mae cristion yn y byd hwn gyda yr Iesu: ei gael a'i golli yw ei holl hanes yma. Ond wedi myned gartref ato, "felly y byddwn yn wastadol gyda yr Arglwydd," heb berygl colli yr olwg arno byth mwyach. Wel, ynte, medd y cristion, pan lewyrcho ei ffydd, Henffych ddattodiad y corff, os câf trwy hyny fod gyda Christ, a mwynhâu yn ei gymdeithas ddi-gonolrwydd llawenydd, a digrifwch yn dragywydd!

Os mynem lefaru iaith y testun, cofier y rhaid i ni fedru iaith yr adnod o flaen y testun: "Canys wrth ffydd yr ydym yn rhodio, ac nid wrth olwg." Rhodio wrth olwg a fydd cartrefu gyda yr Arglwydd; ac os ydym â'n hwyneb yn gywir ar y cartref hwnw, yr ydym yma yn rhodio wrth ffydd. Ni cheir y golwg dyfodol heb ffydd yn bresennol; ac nid oes ffydd heb olwg i'w dilyn. Tydi y dyn nad wyt yn rhodio wrth ffydd yma, nad wyt yn credu yn Nghrist yn awr, paid a meddwl y byddi yn rhodio wrth olwg draw, yn cartrefu gyda yr Arglwydd ar ol marw. A thithau,

gristion, sy'n rhodio wrth ffydd yma, paid ag ammheu na byddi yn rhodio wrth olwg draw. "Yr Arglwydd a rydd ras a gogoniant." Pob un yn ei drefn ei hun: y blaenffrwyth yw ffydd yn Nghrist; wedi hyny ceir y golwg dedwydd ar Grist yn ei ymddangosiad, a chartrefu gydag ef yn dragywydd. Y mae un yn dyfod ar fy ol i, medd ffydd, sydd fwy na myfi. Y wawr yn tòri yn yr enaid, dyna yw ffydd yma: yr hanner dydd, dysgleirdeb y ffurfafen, dyna fydd y golwg draw. Cei ddywedyd yno, Ffarwel, hen Fibl anwyl! nid wyf yn credu mwyach o herwydd dy ymadrodd di, wele fi yn ei weled Ef fy hunan, ac mi a wn mai hwn yw y Crist, fy Iachawdwr a fy Mrawd! Pan y byddo dyn oddicartref, y mae yn dda ganddo gael llythyr oddiwrth y teulu gartref. Llythyr o'r nefoedd yw yr efengyl; ond y mae yn rhaid cael llygad a thafod ffydd i allu ei iawn ddarllen. Mae'r diffydd yn methu dirnad rhyfeddodau yr efengyl; mae efe yn dallu ac yn dyrysu yn ei goleuni, fel dylluan yn ngoleu'r haul, ac felly yn llechu yn ngheubrenydd hunangyfiawnder. Ond yr hwn y mae ganddo ffydd sydd â llygad ei feddwl yn agored; mae yn gweled gogoniant yr Arglwydd trwy dywyniad yr efengyl; ac y mae yr olwg o bell arno wedi tynu ei serch ato, fel na bydd byth bellach wrth ei fodd hyd nes yr elo, trwy farw, i gartrefu gydag ef.

## PREGETH XXIII.

### CALON BAROD.

JOB xi. 13, 14, 15: "Os dydi a barotôi dy galon, ac a estyni dy ddwylaw ato ef; os oes drygioni yn dy law, bwrw ef ymaith ymhell, ac na ddycddef i anwiredd drigo yn dy luestai; canys yna y codi dy wyneb yn ddifrychau; ïe, byddi safadwy, ac nid ofni."

MAE y geiriau yn cynnwys cyfarwyddyd Sophar i Job yn ei drallod, ynghyda sicrwydd, os byddai iddo ei gymeryd, yr adferid ef yn fuan i iechyd a llwyddiant. Os oedd y cynghor yn seiliedig ar y dyb fod Job yn ddyn annuwiol, a'r addewid yn golygu yn unig hapusrwydd a mwyniant daearol, yr oedd y cynghor yn tarddu o gamsyniad, a'r addewid yn ddisail. Gŵr perffaith ac uniawn oedd Job, yn ofni Duw ac yn cilio oddiwrth ddrygioni, heb ei gyffelyb ar y ddaear, yn parhâu yn ei berffeithrwydd er i Dduw ei ddymchwelyd â'r blinderau chwerwaf. Nid oedd un cysylltiad rhwng annuwioldeb â'i gwymp, na rhwng edifeirwch â'i adferiad i lwyddiant a chyfoeth yn y fuchedd hon. Pe buasai Job yn marw yn ei drallod, ni buasai gan ei gyfeillion ddim seiliau i benderfynu ei fod wedi marw yn ei bechod a than farn Duw. Nid oedd ef ei hunan yn dymuno nac yn dysgwyl dim amgen. "Ffieiddiais einioes; ni fynwn fyw byth." Yr ydych chwi yn addaw einioes i mi i'm cymhell i ddychwelyd; ond nid yw y cymhelliad mor effeithiol gyda mi. "Ni fynwn fyw byth.

Pa nerth sydd i mi obeithio? a pha ddiwedd fydd i mi fel yr estynwn fy hoedl? O na ddeuai fy nymuniad! sef rhyngu bodd i Dduw fy nryllio, a gollwng ei law yn rhydd, a'm tòri ymaith; yna cysur a fyddai eto i mi." Yr ydych chwi yn addaw cysur yma. Yr wyf finnau yn fy nghystudd yn darfod âg ef yma, ac yn ei ganfod ac yn ei ddysgwyl draw i'r bedd.

Ond er fod cyfeillion Job, drwy gamolygu rhagluniaeth Duw, a'i gyflwr a'i gymeriad yntau, yn aml yn llefaru allan o'r pwrpas, eto y mae eu hymddyddanion yn cynnwys athrawiaeth dda a chyfarwyddiadau buddiol, yn neillduol i ddynion mewn trallod. Felly rhydd y geiriau hyn addysg dda. Mae galw pechadur i droi at Dduw mewn cystudd yn wastad yn brïodol; a rhaid addef fod llawer wedi eu codi i ddaioni tymmorol drwy hyny. Mae Ahab a Ninefeh yn esiamplau o hyn. Pan ddychwelai Israel at yr Arglwydd, efe a'u gwaredai hwynt. Yr oedd eu daioni, ac estyniad eu heinioes ar y ddaear, yn dibynu ar eu rhodiad gyda Duw. Ond, yn neillduol, gosodwch yr annuwiol yn wrthddrych y cynghor hwn yn lle Job, a daioni ysbrydol yn lle mwyniant y byd yn fater yr addewid yma, ac y mae y geiriau yn cynnwys athrawiaeth sylweddol a phwysig. Maent yn ddarluniad trwyadl o wir grefydd, ac yn dangos mai y meddiant o honi yw yr unig ffordd i ddedwyddwch. Ei gwrthddrych yw Duw. Ei heisteddle yw y galon. Llwybr mawr ei hymarferiad yw gweddi: "estyn y dwylaw ato Ef." Ei heffaith yw sancteiddrwydd: bwrw pechod ymhell. Ei mwyniant neu ei gwobr yw, codi'r wyneb yn ddifrychau, bod yn sefydlog, ac yn ddiofn.

I. Parotoad calon at Dduw: "Os dydi a barotôi dy galon."

Darllenir gan rai, "Os dydi a gyfeiri dy galon;" neu, "a osodi dy galon;" neu, "a sefydli;" neu, "a gadarnhei dy galon." Arwydda, rhoddi yn y galon dueddiad at Dduw—ei gosod megys mewn iawn gywair, a'i sefydlu yn y tueddiad neu'r cywair hwnw. "Parod yw fy nghalon," medd y Salmydd. "*My heart is fixed*," medd y cyfieithiad Seisonig. "*My heart is firmly prepared*," medd Ainsworth. "Fy nghalon sydd yn gadarn-barod."

Wrth ystyried ansawdd naturiol calon dyn tuag at Dduw, a natur y parotöad hwn, mae yn amlwg nad oes dim a'i heffeithia ond adnewyddiad grasol yr enaid gan yr Ysbryd Glân. Wrth y galon yr ydym ni yn golygu y meddwl a'i holl alluoedd fel

egwyddor holl weithrediadau dyn. Y mae hon wrth natur yn ddrwg: o honi y mae'r pethau gwaethaf yn dyfod allan. Ei phrif nodwedd tuag at Dduw yw gelyniaeth; ac y mae yr elyniaeth hon yn dangos ei hun mewn gollwng Duw dros gôf; nid ydyw Efe yn ei holl feddyliau. Os daw'r Goruchaf i'r gydwybod, nid ydyw yn gymeradwy gan y galon gadw Duw yn ei wybodaeth; mae'r galon yn cilio oddiwrth yr Arglwydd. Mae Duw yn ei ddeddf, yn ei Fab, yn y bendithion y mae yn eu cymhell, ac yn y dyledswyddau y mae yn eu gofyn, yn un y mae yr enaid yn ei wir gasâu; nid oes ganddo ewyllys iddo. Ac os bydd efe yn gwasgu ar y galon mewn argyhoeddiadau—yn rhwymo'r dyn yn ei gydwybod i adael ei bechodau a throi ato ef, mae'r pechadur yn cynddeiriogi yn erbyn Duw, ac yn dywedyd wrtho, Cilia oddiwrthyf, canys nid ydwyf yn chwennych gwybod dy ffyrdd! Bechaduriaid, credwch fi: nid yw eich difaterwch ynghylch y Bibl, y diffyg blâs ar y sabbath a'i ordinhadau, y blino ar weddïo yn y dirgel, yr anghof o Dduw ar hyd ystod yr oes, yr ymesgusodi rhag ufuddhâu iddo, a'r oedi dychwelyd ato yn Nghrist, yn ddim amgen na gelyniaeth y galon ato. Nid oes gan hyny ddim a barotöa y galon hon at Dduw ond adnewyddiad grasol ei holl gynneddfau gan Ysbryd yr Arglwydd. Hebddo ef, ni wna argyhoeddiadau ddim ond peri i'r galon ymranu: y farn a'r gydwybod yn dirgymhell yr enaid i droi at Dduw, ond yr ewyllys a'r serchiadau yn dywedyd, "Nid hwn ond Barabbas;" pleser cnawd a byd i mi, ac nid cyfraith yr Arglwydd. Gall, yn wir, fod argraffiadau arwynebol yn cael eu gwneyd ar y serchiadau eu hunain, nes y mae'r dyn yn wylo fel Esau, yn ymostwng fel Ahab, yn derbyn y gair trwy lawenydd, fel yr hwn a hauwyd ar y creigleoedd, neu yn ceisio Duw yn fore fel Israel; ond fe welir "y mwynder yn ymado fel cwmwl y bore, ac fel gwlith boreuol;" canys nid yw y galon yn uniawn gyda Duw. Neu os canfyddir rhywbeth tebyg i gyfnewidiad arosol ar y galon, nis gwna hwnw ond ei dofi gyda'i chwantau—newid ei chwrs o'r naill sianel i'r llall; o anfoesoldeb i ddeddfoldeb; y mae ei hansawdd at Dduw yn para yr un; nid oes yna osod y serch ar y pethau sydd uchod—dim sychedu am Dduw, na gorfoleddu yn Nghrist Iesu. Mae'r llew wedi ei ddofi, fel nad yw yn llarpio fel cynt; ond nid yw eto wedi dyfod fel yr ŷch i bori gwellt. Rhaid crëu o newydd, geni drachefn, ysgrifenu'r

gyfraith yn y galon. Mae'r tro hwn mor effeithiol, fel y mae yr anwydau naturiol yn cael eu galw yn "ffrwyth yr Ysbryd." Yn eu hanfod y maent yr un âg o'r blaen; ond yn eu naws a'u tuedd, wele hwynt yn newydd.

Mae y gwaith hwn a brïodolir i Dduw yn cael ei gymhell ar y dyn; ac fe fydd parotôi y galon yn orchwyl bywyd y cristion, ond yr oll yn waith Duw yn y dyn. Nis gall dyn wneuthur dim da heb Ysbryd Duw, ac nis gweithia yr Ysbryd ond yn a thrwy'r dyn. Gwaith y dyn yw credu, gweddïo, a byw yn dduwiol; eto cynnyrchion yr Ysbryd ydynt. "Duw sydd yn gweithredu pob peth yn mhawb." "Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu, o'i ewyllys da ef." Mae'r saint yn gweddïo yn yr Ysbryd, yn llawenhâu ynddo, ac yn marweiddio gweithredoedd y corff drwyddo. Wedi y planer egwyddorion grasol yn yr enaid, ei amcan a'i lafur a fydd cyrhaedd perffeithrwydd yn y pethau hyn. Ond y mae yn cyrchu atynt o hyd trwy yr Ysbryd. Mae yn byw yn yr Ysbryd, ac yn rhodio ynddo. Os dywed Duw, "Gwnewch i chwi galon newydd," y mae yntau yn gweddïo am dani, ac yn ymarfer â phob moddion i'w chael. Efe a geisia yn dêg at edifarhâu a chredu trwy ymdrechu mewn gweddi, myfyrdod, ac ymarferiad âg ordinhadau'r cysegr; a phob mymryn o ddaioni a enniller ganddo, y mae yn cyfrif hyny i ras ac Ysbryd Duw.

Y mae eisieu parotôi y galon yn

1. *I ymhyfrydu yn Nuw o ran ei natur.*

Nyni yn parotôi ein calon ydyw ceisio ansawdd foesol y galon yn dymherus i gyd-daro mewn cwbl gydgordiad â natur oruchel y Jehofah; ymhyfrydu nid yn unig yn ei brïodoliaethau naturiol, ond yn ei brïodoliaethau moesol ef; ei gyfiawnder a'i sancteiddrwydd. Y mae yn rhaid i barodrwydd y galon i sancteiddrwydd fod yn gynnwysedig mewn cydffurfiad â natur Duw. Heb dy newid i ddelw Duw, fy enaid, ni bydd dy galon yn barod i ddim tuag at Dduw ond i'w arswydo a'i gasâu ymhob man y tarewi wrtho. Yr oedd Dafydd yn ol calon Duw, a Duw wrth fodd calon Dafydd, am fod Duw yn ei weled ei hun yn Dafydd, a Dafydd yn cael yr hyn oedd yn archwaeth bur ei ysbryd yn Nuw.

Crëwyd dyn ar ddelw Duw; ond wrth geisio myned yn debyg i'r Duwdod mewn ffordd annhêg, efe a gollodd y ddelw brïodol oedd arno. Mae'r ddwy natur yn groes i'w gilydd, a phob cym-

undeb rhyngddynt wedi darfod. Ond yn nhrefn yr efengyl, adferir pechadur i ddelw Duw. Y mae Efe weithian yn ein natur yn galw, 'Byddwch fel myfi, fy mrodyr; canys yr wyf fi fel chwi.' Trem ar ei degwch á'n newidiai i'r unrhyw ddelw. Goleuni yw Duw; ac y mae'r saint yn oleuni yn yr Arglwydd. Duw'r tangnefedd yw efe; ac y maent hwythau yn feibion tangnefedd; y maent yn drugarogion fel y mae eu Tad yn drugarog, ac yn bur fel y mae yntau yn bur. Os y gwir Dduw yw efe, Israeliaid yn wir yw ei bobl. "Duw, cariad yw;" ac y mae holl blant Duw yn gwisgo cariad, yn aros mewn cariad, ac felly yn aros yn Nuw, a Duw ynddynt hwythau. Os nad allant debygoli iddo yn ngwaith ei allu, ymdebygant iddo yn ngwyrthiau ei gariad. Hwy a garant nid yn unig eu cyfeillion, ond eu gelynion; bendithiant y rhai a'u melldithiant, a gwnant dda i'r rhai a'u casânt. Y mae yma gyffelybrwydd tebyg ag sydd rhwng yr argraff â'r sêl. Mae'r gwrym ar y sêl yn gwneyd pant ar y cŵyr, mae yn wir; eithr felly y maent yn cyfateb i'w gilydd, a'r naill yn dwyn delw y llall. Gellwch wybod oddiwrth ansawdd calon y duwiol fod Duw yn un mawr iawn; o herwydd y mae'r duwiol yn myned yn llai na dim ger ei fron ef. Ofnadwy yw Efe, o herwydd y mae'r cristion yn crynu o'i flaen. Hollbresennol ydyw, canys y mae yr enaid duwiol yn ymdeimlo yn wastad yn ei ŵydd. Hollalluog yw, o herwydd gwendid yn ymddiried ynddo yw ffydd. Teimlo ei hun yn cael ei adferu i ddelw Duw sydd yn wynfyd i'r enaid. Ni byddai hapusrwydd y dyn a adferid mewn moment o nychod henaint i hoenusrwydd a grymusder ieuenctyd, yn ddim i'w gymharu wrth adnewyddiad sanctaidd enaid llygredig: y meddwl tywyll wedi ei oleuo, yr ewyllys gelynol at Dduw yn dymuno ei fwynhâu, y serch afreolaidd bellach yn glynu wrth yr Arglwydd. Dyna wir degwch a hapusrwydd natur dyn; dechreuad nefoedd ar y ddaear; rhywbeth yn cymhwyso yr enaid i ymhyfrydu yn Nuw yn dragywydd.

O ddyn, gwybydd nad oes ond un ffynnon hapusrwydd yn agored yn y byd arall; nid oes neb na dim ond Duw yn fwynhâd yno; ac y mae dy ysbryd halogedig heb ei dymheru i'w fwynhâu ef. Pa beth a wneir? Ni newidir byth mo natur Duw; a chan hyny os deui di ac yntau i ymhyfrydu yn eich gilydd, rhaid ydyw dy barotôi di tuag ato ef. Ni waeth i ti heb geisio ei wneyd ef yn dy

ddychymyg yn rhywbeth nad yw. Efe yw y Graig na syfl ac nas newidir. Ac ni waeth i ti heb ymddyeithro oddiwrtho, a llechu mewn anwybodaeth am dano. Efe a ddaw yn sicr i'th ddirnadaeth a'th gydwybod; bydd raid i ti fyned ato. Ac er mwyn bod yn ddedwydd ynddo a chydag ef, anghenrhaid yw parotôi'r galon. Rhydd hyny i'r enaid flâs hyfryd ar bethau yr Arglwydd. "Ymnewidiwch drwy adnewyddiad eich meddwl, fel y profoch beth yw daionus a chymeradwy a pherffaith ewyllys Duw." Ni wna i ti geisio bod yn debyg i Dduw mewn mawredd ac uchafiaeth ddim ond cyffro eiddigedd yr unig wir Dduw i'th gwympo i ystlysau'r ffôs. Ond trô yr awydd yna am debygrwydd i'r Mawredd anfeidrol yn ymdrech am ymdebygu iddo yn foesol—mewn cyfiawnder, sancteiddrwydd, a daioni. Yna pan waeddi, "Dringaf yn uwch na'r cymylau, tebyg fyddaf i'r Goruchaf," yntau a etyb, "Ië, tyred, dring! dring i fyny yma! Bwriedais dy gael yn debyg i mi fy hun; er mwyn dy sancteiddio yr anfonais fy Mab i farw drosot, ac y rhoddaf fy Ysbryd i'th grëu o'r newydd." Felly ar dy fynediad i'r byd y mae da a drwg wedi eu hysgaru oddiwrth eu gilydd yn gyfangwbl—uffern yn mynu yr halogedig iddi ei hun, a'r nefoedd yn tynu pawb o'r un ansawdd â hithau, bydd dy ysbryd di wedi ei barotôi i ymgysylltu â'r Ysbryd tragywyddol, ac i fod yn ddifyr ynddo yn oes oesoedd. Enaid, a wyt ti yn ymhyfrydu mewn sancteiddrwydd? a oes ynot ddymuniad am yr addoliad perffaith fry? a fyddi weithiau yn ymfendigo wrth feddwl am yr hyn ydyw Duw? Dyna ansawdd ysbryd na cheir ond ar galon wedi ei pharotôi. Y mae eisieu parotôi y galon yn

2. *I ymostwng i Dduw yn nhrefn ei ras.*

Ar y cyntaf, yr oedd dyn yn ffafr Duw, ac ar lwybr i ddyfod i dragywyddol fwynhâd o hono trwy ei ufudd-dod ei hun. Ond trwy bechu yn erbyn Duw, efe a gollodd ei heddwch, ac a aeth yn agored i fod dan ei lid dros byth. Y gwrthryfel hwn, gyda'i gosb a'i felldith, sydd wedi ysgaru dyn oddiwrth Dduw, ac oddiwrth bawb sydd yn caru Duw, ac, megys gagendor mawr, yn lluddias pob cymundeb heddychol mwyach. Eithr y mae Duw o'i fawr drugaredd wedi meddwl moddion fel na yrer ymaith ei herwr oddiwrtho yn dragywydd. Gosododd ei Fab yn iawn; ac yn Nghrist y mae efe yn cymmodi'r byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau. Y genadwri yn awr ydyw, Abrec! plygwch

y glin! Y mae Duw yn barod i faddeu a chyfiawnhâu yn ei drefn; pob peth sydd barod; ïe! o du Dduw; ond y mae yn rhaid cael dy galon dithau, bechadur, yn barod i gyfarfod âg ef yn y drefn hòno. Ni byddai i ti geisio cadw'r ddeddf er mwyn dy gyfiawnhâu drwyddi yn ddim amgen na gwrthryfel yn erbyn yr efengyl. Ni bydd dim a wnei yn gymeradwy nes i ti ymostwng i drefn Duw. "Hyn yw gwaith Duw: credu ò honoch yn yr hwn a anfonodd efe." Dyma yr hyn a'th wna yn ddedwydd byth yn dy ymyl. Rhaid derbyn y cwbl o ras, ac ymorphwys am deilyngdod ar haeddiant un arall. A thuag at ei dderbyn ef, rhaid i ti ymwrthod â'th holl bechodau. "Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gŵr anwir ei feddyliau." A raid aros, ar ol gadael y ffordd ddrwg a'r meddyliau anwir, i wneuthur llawer o ddaioni tuag at gael hyder i nesu at Dduw am drugaredd? Na, heb oedi, "dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymer drugaredd arno; ac at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth." A wyt ti yn cymeradwyò'r telerau? "Deuwch allan o'u canol hwy, ac ymddidolwch, medd yr Arglwydd, ac na chyffyrddwch â dim aflan; ac mi a'ch derbyniaf chwi, ac a fyddaf yn Dad i chwi, a chwithau a fyddwch yn feibion ac yn ferched i mi, medd yr Arglwydd Hollalluog." "Efe a edrych ar ddynion, ac os dywed neb, Mi a bechais, ac a ŵyrais uniondeb, ac ni lwyddodd i mi; efe a wared ei enaid ef rhag myned i'r clawdd, a'i fywyd a wêl oleuni."

Y mae un perl gwerthfawr yn bod, meddi; a chael hwnw a'm gwnelai yn gyfoethog yn wir. Ië, yn gyfoethog yn y byd hwn ac yn yr hwn a ddaw; ond ni feddienni di mo hono heb werthu cymaint oll ag a feddi i'w brynu ef. Ei brynu yw'r ffordd i'w feddu, a'i bris yw cymaint oll ag a feddi. A oes ynot galon barod i wneuthur hyny? Rhaid gwerthu cymaint ag a fedd natur wan: caru Crist yn fwy na charu tad neu fam, mab neu ferch; serch at bawb a phobpeth yn cael ei gadw mewn darostyngiad i serch ato ef, a pharodrwydd meddwl i'w gadael os bydd raid er ei fwyn. Rhaid gwerthu cymaint ag a fedd natur bechadurus: tynu'r llygad dehau, a thòri'r llaw ddehau, os ceir hwy yn ein rhwystro. Nid oes dim blaenion i'w harbed; ni wiw ymgrymu i'r un Rimmon; mae holl weithredoedd y cnawd i'w gadael, y gwyniau i'w marweiddio, a phob gau lwybr i'w gasâu. Rhaid gwerthu cymaint ag a fedd ysbryd deddfol. Yn fynych, pan y bydd dyn,

mewn ufudd-dod i argyhoeddiadau, yn diwygio oddiwrth bechodau, y mae ysbryd deddfol yn cryfhâu. Nid oes fai yn cael ei adael, na dyledswydd ei gwneuthur, na bydd y deddfoldeb yn crafangu am y cwbl i'w dwyn fel teilyngdod at orsedd Duw. Dyma wneuthur da! beth gan hyny a fydd i mi? Ha bechadur, medd yr efengyl, nid wyt ti yn haeddu dim derbyniad; nid yw dy ddiwygiad dyledus yn ddim iawn am dy droseddau; er edifarhâu, yr wyt yn haeddu dy ddamnio; a'th ddamnio a wneir hefyd os na roddi di un *stoop* mawr eto. Beth yw hwnw? Ymorwedd ar haeddiant un arall. Y mae yma Waredwr; ond efe a ddaeth nid i alw y rhai cyfiawn, ond i gadw pechaduriaid. Dy gadw fel un hunan-gyfiawn a wnai holl drefn gras yn ofer. Tafl ymaith dy byneidiau o hunan-gyfiawnder, yr un modd â ffieidd-dra yr anghyfiawnderau, fel y'th gadwer yn unig trwy gyfiawnder Crist. Caled yw yr ymadrodd, medd y pechadur: gelwir fi i adael fy mhechodau i ufuddhâu i Dduw, ac wedi hyny i gyfrif fy ufudd-dod yn dòm a cholled; peidio pwyso dim ar fy ngwaith fy hun, ac ymorphwys yn gwbl ar waith un arall. Gyda fy mhechodau, mi a gawn bleser wrth fyw; ac oddiwrth fy ufudd-dod, dysgwyliwn obaith wrth farw; ond dyma yr efengyl yn fy ngholledu o'r ddau. Wedi myned â'm duwiau ymaith, beth sydd genyf fi mwyach? Ydyw, y mae hyn wedi peri i lïaws ymadael â'r Duw byw! Yr oedd gwahoddedigion y swper mawr yn rhy hoff o'u pethau eu hunain i'w gadael. Yr oedd y gŵr ieuanc yn gweled y *terms* yn rhy uchel, er mai teyrnas yn y nef oedd yno ar ei gyfer. Israel, er ei holl zêl yn dilyn deddf cyfiawnder, ni chyrhaeddodd ddeddf cyfiawnder byth. Paham? Nacâu plygu i drefn y nefoedd yr ydoedd. "Canys hwynt-hwy heb wybod cyfiawnder Duw, ac yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, nid ymostyngasant i gyfiawnder Duw."

Ond y mae gras Duw yn cyfnewid y galon, ac yn ei dwyn i gydgordio â Duw yn ei drefn. Mae ei holl ddybenion yn cydffurfio, a'i theimladau yn gyd-dymherus â threfn yr efengyl. Beth bynag a ddywed Duw, dywed yr enaid bellach, "Parod yw fy nghalon." A ydyw Duw yn gofyn ufudd-dod i'w ddeddfau? "Gostyngais fy nghalon," medd y credadyn, "i wneuthur dy ddeddfau byth hyd y diwedd. O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddeddfau!" A raid gadael yr ufudd-dod fel sail teilyngdod, a ffoi

at Grist heb ddim? Boddlawn iawn, medd yr enaid grasol; "ïe, yn ddiammheu, yr wyf yn cyfrif pob peth yn golled o herwydd ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd—ac y'm ceir ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun." Dyma lle y byddaf mwy, medd y pechadur edifeiriol a chrediniol; doed y ddeddf i daranu, euogrwydd pechod i'm molestu, teimlad o'm hannheilyngdod i'm suddo, dyledswyddau a rhinweddau i gynnyg eu gwasanaeth i'm dal i fyny,—yn eu hwyneb oll, mi ymorweddaf ar Iesu Grist. Ped agorid myrdd o ffyrdd i fyned i'r nefoedd, hon yw yr unig ffordd i mi. Dacw Benhadad falch yn galw yn drahäus am bob peth gan Ahab: ei arian a'i aur, ei wragedd a'i feibion, y cyfan; rhaid iddo eu cael yn ol fel y myno; eithr pwy ond yr un gŵr a orfu yn fuan wedi hyny anfon ei weision at Ahab gyda sachlïan am eu llwynau, a rhaffau am eu penau, gan ddywedyd, "Benhadad dy was a ddywed, Attolwg gâd i mi fyw!" Rhaid yw eto barotôi calon pechadur tuag at gyfryw gyfnewidiad. Yn nydd gwir argyhoeddiad, iselir uchelder dyn, a'r Arglwydd Iesu yn unig a ddyrchefir. Crist sydd bob peth gan yr enaid bellach: ei ddadl am bob bendith, ei gymhelliad i bob gwaith, ei ymffrost ymhob man a cher bron pawb. Y mae yn rhaid parotôi'r galon yn

3. *I gyfarfod â Duw yn ei holl orchwyliaethau.*

Byddaf fi yn cael fy nhueddu i feddwl, yn ol llawer o arwyddion, fod Duw yn myned i wneuthur ei waith, ei ddyeithr-waith, yn ein dyddiau ni. Pa beth a pha fodd, nis gwn; ond mi dybiwn fod geiriau Crist yn genadwri neillduol at gristionogion yr amser hwn: "Bydded eich lwynau wedi eu hymwregysu, a'ch canwyllau wedi eu goleu, a chwithau yn debyg i ddynion yn dysgwyl eu Harglwydd. Wele yr wyf yn dyfod fel lleidr; gwŷn ei fyd yr hwn sydd yn gwylio, ac yn cadw ei ddillad, fel na rodio yn noeth, ac iddynt weled ei anharddwch ef." Ond, heb sôn am bethau anarferol, y mae eisieu parotôi ein calonau i gyfarfod â Duw yn ei orchwyliaethau cyffredin ynglŷn â ni yn bersonol. Mae ein tro ninnau i yfed cwpan blinder yn sicr o ddyfod.

Y mae llawer o bethau yn ngorchwyliaethau Duw yn ddyrys i reswm, yn flin i natur, ac yn ofnadwy i gydwybod. Dyfnder mawr yw barnedigaethau Duw; y mae mesur eu huchder a phlymio i'w dyfnder yn rhywbeth sydd uwchlaw gallu dyn. Felly y dengys Sophar yn mhennod y testun. "A elli di wrth chwilio

gael gafael ar Dduw? a elli di gael yr Hollalluog hyd berffeithrwydd? Cyfuwch â'r nefoedd ydyw, beth a wnei di? dyfnach nag uffern yw, beth a elli di ei wybod? Mae ei fesur ef yn hŵy na'r ddaear ac yn lletach na'r môr. Os tỳr efe ymaith, ac os carchara, os casgl ynghyd, pwy a'i rhwystra ef?" Wrth geisio deall y gorchwyliaethau, y mae dyn yn ei ddangos ei hun yn asyn. "Dyn gwâg er hyny a gymer arno fod yn ddoeth, er geni dyn fel llwdn asen wyllt." Yna mae'r testun yn dilyn: parotôi y galon at Dduw yw y llwybr goreu. Y mae gwyneb y byd yn llawn cymysgedd: gorthrymder, gwaed, y trechaf yn treisio a'r gwanaf yn gwaeddi; y rhai sy'n llenwi'r byd â thrigfanau trawsder yn chware mewn môr o hawddfyd, a saint yr Arglwydd â'u cerydd yn dyfod bob bore! Y mae ceryddon Duw yn flinion i natur. O fel yr ymaflwyd yn Job ar binacl llwyddiant, ac y chwalwyd ei nyth; lladd ei blant, difa ei iechyd, a pharddüo ei enw da! Ac y maent yn ofnadwy i'r gydwybod. Trwy y gorchwyliaethau allanol y mae saethau yn cyrhaedd yr enaid yn dufewnol. "Y mae saethau yr Hollalluog ynof, y rhai y mae eu gwenwyn yn yfed fy ysbryd," medd Job. Beth a wneir? Parotôi y galon tuag at Dduw, mewn ffoi trwy ffydd at Grist; dyna ddigon yn wyneb digofaint ei orchwyliaethau. "Pa beth a atebaf pan y'm cerydder?" ebe Habaccuc; credaf yn fy Nuw eto, a byw fyddaf, canys "y cyfiawn a fydd byw trwy ei ffydd." A pha beth yw y parotöad calon tuag at Dduw gyda golwg ar ddybenion y gorchwyliaethau? Darfod â phechod. "Trwy hyn y glanheir anwiredd Jacob; a dyma yr holl ffrwyth, tynu ymaith y pechod;" nid tynu ymaith yr orchwyliaeth, ond dyfod yn lân trwyddi. Ac yn wyneb dyryswch neu aneglurdeb y gorchwyliaethau, parotöwn ein calon trwy ymostwng i benarglwyddiaeth Duw. Paham yr ymrysonaf yn ei erbyn Ef? medd perchen y galon barotöedig; "nid yw efe yn rhoddi cyfrif am ddim o'i weithredoedd. Y mae efe yn un, a phwy a'i try ef? a'r hyn y mae ei enaid ef yn ei chwennychu, efe a'i gwna." Mae yn ddoeth i wybod beth sydd oreu i'w wneuthur, ac i wneuthur i bob peth gydweithio er daioni i mi. Wele fi yn ei law, fel y priddgist yn llaw'r crochenydd; llunied fi fel y myno! O yr hen Eli ddysyml! yr oedd efe wedi bod wrthi drwy'r nos yn parotôi ei galon at y ddedfryd ar ei dŷ drannoeth. "Beth yw y gair a lefarodd yr Arglwydd wrthyt?"

ebe efe wrth Samuel ieuanc; "na chela, attolwg, oddiwrthyf." Paid a sugndynu gormod oddiwrth y bachgen, rhag y daw allan ddwfr chwerwach nag a fynit. Na, yr wyf yn barod. "Yn y dydd hwnw y dygaf i ben yn erbyn Eli yr hyn oll a ddywedais am ei dŷ ef, gan ddechre a diweddu ar unwaith." Amen, medd Eli. "Ni wneir iawn am anwiredd tŷ Eli âg aberth, nac â bwydoffrwm byth." Wele, Duw sydd yn dywedyd, ebe Eli; "yr Arglwydd yw efe; gwnaed a fyddo da yn ei olwg." "Dychwel âg arch Duw i'r ddinas," medd Dafydd, pan yn ffoi o herwydd Absalom, wrth Sadoc yr offeiriad; "os câf fi ffafr yn ngolwg yr Arglwydd, efe a'm dŵg eilwaith, ac a bâr i mi ei gweled hi, a'r babell." Ond beth os dywed efe, Dafydd, nad yw yn foddlawn i ti? Ymostwng, ynte, a fydd fy lle i; "Wele fi, gwnaed i mi fel y byddo da yn ei olwg." Nid dim moesgarwch defodol, eithr parotöad calon, a ddŵg bechadur i'w dymher ostyngedig ac addfwyn hon. Rhaid parotôi'r galon hefyd yn

4. *I ymgysegru i Dduw yn ei holl wasanaeth.*

Pan y byddo rhyw un amcan wedi llyncu y galon oddiwrth bob amcan arall iddo ei hun, a bwriad sefydlog wedi ei ffurfio ynddi i gyrchu at hwnw, costied a gostio, mae'r galon yn barod i'r peth hwnw; mae pob croes-amcan yn cael ei wrthod yn hollol. Amcan oes y cristion yw gwasanaethu yr Arglwydd; y mae yn dal pob gwasanaeth arall mewn darostyngiad; ac y mae yr enaid yn ei holl alluoedd yn ymuno ac ymgyflwyno i ogoneddu Duw. Dywedir am Rehoboam, mab Solomon: "Efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg; canys ni pharotôdd efe ei galon i geisio yr Arglwydd." Ar ymyl y ddalen, dywedir, "Ni sefydlodd," neu, "ni osododd," neu, "ni chyfeiriodd efe ei galon i geisio yr Arglwydd" (2 Cron. xii. 14). O'r ochr arall, dywedir wrth Jehosaphat, pan ei ceryddir am gynnorthwyo Ahab annuwiol, "Er hyny pethau da a gafwyd ynot ti; canys ti a dynaist ymaith y llwyni o'r wlad, ac a barotöaist dy galon i geisio Duw" (2 Cron. xix. 3). Nid oedd Rehoboam heb ryw bethau canmoladwy mewn cysylltiad âg ef; ymostyngodd i raniad y freniniaeth, a darfu iddo ef a'i bobl rodio yn ffyrdd Dafydd a Solomon am dair blynedd. Eto nid oedd ei galon wedi ei sefydlu mewn iawn gyfeiriad i wasanaeth yr Arglwydd. Ac am Jehosaphat o'r tu arall, yr oedd beïau, ni a welwn, yn perthyn iddo; ond yr oedd trwy bob peth yn gosod gwasanaeth

Duw yn amcan ei galon. A dyna pa fath un yw'r duwiol yn wastad.

Parotöwn ein calon i wasanaethu Duw ymhob ymarferiad personol: i ymroddi i ofni Duw, i adnabod Crist, i edifarhâu am bechod a'i farweiddio, i arfer duwioldeb gartref ymhob perthynas, ac arfer duwioldeb ymhob ystâd; "byw yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon:" gweddïo mewn adfyd, canu salmau mewn esmwythyd; ac yn y cyfan ymestyn at berffeithrwydd,—rhoddi i amynedd ei pherffaith waith, ymberffeithio mewn cariad, gobeithio yn berffaith am y gras a ddygir i ni yn nadguddiad Iesu Grist.

Parotöwn ein calon i wasanaethu Duw yn ei ordinhadau: gwylio ar y troed pan yn myned i dŷ Dduw; rhoddi heibio bob budreddi a helaethrwydd malais, a derbyn trwy addfwynder yr impiedig air, yr hwn a ddichon gadw ein heneidiau: y serchiadau o'r un ansawdd â'r eiddo Dafydd, pan y dywedai, "Fel y brefa yr hŷdd am yr afonydd dyfroedd, felly yr hiraetha fy enaid am danat ti, O Dduw; sychedig yw fy enaid am Dduw, am y Duw byw." O càn leied pethau sydd yn rhy fynych yn annhymheru y galon at wasanaeth tŷ Dduw! Difyrwch diniwed ynddo ei hun, a llesol er iechyd,—cafodd hwnw fryd y meddwl mor llwyr, fel pan ddaeth yr alwad i weddïo ac addoli Duw, fod y galon yn anmharod i fyned ger ei fron.

Parotöwn ein calon at waith Duw yn ein hoes, beth bynag a fyddo. Gwaith Dafydd oedd parotôi at adeiladu tŷ Dduw; ac yr oedd yr Arglwydd wedi parotôi ei galon ef a'i bobl tuag at hyny. Gwaith Jehosaphat, a breninoedd duwiol eraill, oedd diwygio y wlad oddiwrth eilunaddoliaeth, ac yr oeddynt,—oddiar ymroddiad calon yn gwneuthur hyny. Gwaith Ezra oedd deall a dysgu cyfraith yr Arglwydd i'r bobl a ddychwelasant o'r gaethglud; "canys Ezra a barotöisai ei galon i geisio cyfraith yr Arglwydd, ac i'w gwneuthur, ac i ddysgu yn Israel ddeddfau a barnedigaethau." Gorchwyl y Macedoniaid cristionogol oedd cynnorthwyo'r saint tlodion yn Jerusalem: gras mawr oedd arnynt, yn peri pob parodrwydd meddwl. Beth yw gwaith neillduol ein dydd ni? Onid oes alwad arnom i barotôi'r galon tuag at lenwi'r byd âg efengyl Crist? Tybygem fod prophwydoliaethau'r gair, a rhagluniaethau Duw, yn cydalw ar Sïon i ymbarotôi at hyn o orchwyl. Mae'r diafol yn dal awenau ei lywodraeth â llaw grynedig; mae

yr ysbryd oedd yn dal i fyny addoliad eilunod mudion wedi cilio oddiwrthynt, a'u gadael i falurio fel *mummies* yr Aipht; mae'r byd megys ar ddyfod allan o gibau ei ofergoelion; mae Mahometaniaeth a Phabyddiaeth fel dwy hen wrâch anynad, yn cyd-dòri mewn dyddiau, ac yn bur debyg o fyned i'w beddau ar fyrder; mae cyfandir Ewrop yn gogwyddo at y Bibl; mae'r bwystfil, yntau, fel yn gwingo cyn trengu—anffyddiaeth ac anghristiaeth yn cydweithio yn erbyn yr Arglwydd a'i Grist ef; ond y mae yr Iesu ar gymeryd ei allu mawr, a gorchfygu. Parotöa, fy enaid, i fyned gydag ef mewn gweddi: "Gwregysa dy gleddyf ar dy glun, O Gadarn, á'th ogoniant a'th harddwch; ac yn dy harddwch marchoga yn llwyddiannus, o herwydd gwirionedd, a lledneisrwydd, a chyfiawnder!" Os yw efe yn myned i ddanfon ei dystion hyd eithaf y ddaear, parotöa i aberthu plant a meddiannau at ei wasanaeth. Os yw yn myned i lunio ei eglwys at yr hen gynllun cyntaf—"llïaws y rhai a gredasant oedd o un galon ac un enaid," —parotöa i lacio yn dy hynodrwydd sectaidd, os nid i'w roddi i fyny. Ymhob peth, ymbarotöa i gydweithio â Brenin Sïon. Rhaid parotôi y galon eto yn

5. *I amcanu at fwynhâd dedwydd o Dduw fel ein gwobr.*

Yn y byd hwn, os bydd raid colli cyfoeth, colli iechyd, colli plant neu berthynasau anwyl eraill, cymerwn Dduw ei hun yn lle'r cwbl. Os na chawn weled yr Iuddewon wedi eu galw, y dyn pechod wedi ei ddinystrio, a'r mil-blynyddoedd wedi gwawrio, ymgysurwn yn y Duw a addawodd ac a wna hyny yn ei amser. Digon yw efe yn lle pawb a phobpeth. "Myfi yw dy wobr mawr iawn." Ac wrth feddwl am y byd a ddaw, parotöwn i fwynhâu ei ddedwyddwch, trwy galon wedi ei diddyfnu o'r byd, ac yn ymhyfrydu yn yr Arglwydd.

II. Mae y galon barod hon i'w harllwys ei hun mewn gweddi. "Os dydi a barotôi dy galon, ac a estyni dy ddwylaw ato ef."

Y mae estyn y dwylaw at Dduw yn arwyddo gweddïo arno. "Erglyw lef fy ymbil pan waeddaf arnat, pan ddyrchafwyf fy nwylaw tuag at dy gafell sanctaidd," medd y Salmydd. "Yr wyf yn ewyllysio i'r gwŷr weddïo ymhob man," medd Paul, "gan ddyrchafu dwylaw sanctaidd, heb na digter na dadl." Estynid neu dyrchefid y dwylaw mewn gweddi fel gweithrediad oedd yn gyd-

nabyddiaeth o Dduw yn y nefoedd, ac yn arwydd o angerdd dymuniad am ei fendithion, ac o ddyfal ddysgwyliad wrtho.

Wedi parotôi y galon at Dduw, bydd gweddi yn fynediad ato. Mewn gweddi yr ydym yn myned i gysegr Duw, am drugaredd i faddeu yr anwiredd, ac am ras yn gymhorth at bob dyledswydd ac amgylchiad. Pan y caiff yr enaid ddirnadaeth am bla'r galon, pechodau yr oes yn dyfod i'r côf, teimlad o ŵg Duw am bechod yn argraffedig ar y gydwybod, ac y rhoddir iddo, ar gyfer hyny, amgyffred am drugaredd Duw yn Nghrist, y pethau hyn a ferwant ynghyd yn y fynwes, ac a dywelltir allan mewn gweddi.

III. Y MAE HYN I'W DDILYN GAN DDIWYGIAD PERSONOL A THEULUAIDD: "Os dydi a barotôi dy galon, ac a estyni dy ddwylaw ato ef," dyna'r cwbl sydd yn eisieu arnat wedi ei wneyd; O nage: y mae calon lân yn sicr o effeithio dwylaw glân, canys ni thâl dwylaw aflan i'w hestyn mewn gweddi at Dduw: "Os oes drygioni yn dy law, bwrw ef ymaith ymhell, ac na ddyoddef i anwiredd drigo yn dy luestai."

Pa beth yw bwrw drygioni ymaith ymhell?

1. *Bwrw yr ymarferiad o bechod ymaith yn hollol:* ymlanhâu oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd; rhodio yn nghwbl o ewyllys Duw, fel na byddo yr un gorchymyn heb ei gadw, yr un ddyledswydd heb ei chyflawni, na'r un bai heb ei adael; ac yn enwedig, rhoddi heibio y pechod parod i'n hamgylchu. Gorchest fawr yw hyn; bwrw heibio y pechod neillduol y byddo rhywbeth yn ardymher y corff, neu ddygiad i fyny, neu hen arferiad, yn peri fod yn anhawdd i ddyn ei adael. Ond os mynem ddïanc rhag digofaint Duw, nesâu ato, a'i fwynhâu, rhaid yw bwrw y pechod hwnw ymaith, gyda phob drygioni. Mor glodfawr i enw dyn, ac i ras Duw, a fydd gallu dywedyd wrth ei gladdu, Bu y dyn hwn yn cael gynt y gair o fod yn afradlawn neu yn feddw, yn dwyllwr neu yn gybydd; ond wedi dyfod i adnabod Crist, ac i ymgysylltu â'i bobl, ni chlywyd byth y fath air am dano; efe a wnaed yn grëadur newydd mewn gwirionedd. Mae gras yn gwneuthur y cyfryw gyfnewidiad. "Hyn fu rhai o honoch chwi," y saint yn Corinth; buoch yn trybaeddu yn y pyllau ffieiddiaf; "eithr chwi a olchwyd, eithr chwi a sancteiddiwyd, eithr chwi a gyfiawnhäwyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni."

2. *Bwrw'r pechod ymaith yn ei wreiddyn a'i achos.* Y mae

llygredigaeth gwreiddiol ein natur yn cael ei nodi allan yn ei ffrwythau; ond y mae'r fwyall i'w chodi ar y gwreiddyn. Hawdd yw ei weled yn y gofer budr; ond y mae'r halen i'w fwrw i ffynnonell y dyfroedd. Rhaid "dyosg yr hen ddyn ynghyda'i weithredoedd." Edrychwch am farweiddio gweithredoedd y corff cyn iddynt fyned yn weithredoedd; eu marweiddio yn y brydiau, y blysiau, a'r anian ddrwg. Os na roddwch chwi ymaith y pechod yn ei achos, ni fwriwch mohono ymaith ymhell. Er tynu'r ffrwyth, a thòri'r gangen, fe flagura'r pren drwg drachefn. Dacw rywrai wedi dïanc oddiwrth halogedigaeth y byd, a hyny trwy adnabyddiaeth yr Arglwydd a'r Achubwr Iesu Grist; y maent wedi adnabod ffordd cyfiawnder; eithr nid oeddynt wedi bwrw yr anwiredd ymaith ymhell; ac am hyny, dyna hwy yn cael eu rhwystro drachefn â'r pethau drwg, a'u gorchfygu ganddynt. Pa fodd y bu hyny? Yr oedd y galon heb ei chyfnewid—yr anian annuwiol heb ei diorseddu. "Dygwyddodd iddynt yn ol y wir ddïareb, Y ci a ymchwelodd at ei chwydiad ei hun; a'r hwch wedi ei golchi, i'w hymdreiglfa yn y dòm" (2 Pedr ii. 20—22). Mynwch fwrw'r drygioni ymaith ymhell trwy gael a meithrin anian dduwiol yn y galon. Ceisiwch yr olwg hòno ar Grist, y profiad hwnw o'i waed, a ddirymo gorff pechod.

3. *Ei fwrw ymaith mewn pob ymddangosiad a rhith, ac yn yr achlysuron iddo.* Pan elo dyn i rodio yr ymylau, i gellwair â'r demtasiwn, mae'r galon eisoes wedi ymhalogi; ac nid yn hir y bydd yr ymarweddiad yn lân. "Cadw dy ffordd ymhell oddiwrthi hi, ac na nesâ at ddrws ei thŷ hi," y wraig ddyeithr, a'r fenyw â'r ymadrodd gwenieithus. Beth oedd diwedd y dyn ieuanc a welwyd "yn myned ar hyd yr heol gerllaw ei chongl hi, ac a äi ar hyd y ffordd i'w thŷ hi?" Och! "wele fenyw yn cyfarfod âg ef, a chanddi ymddygiad putain, ac â chalon ddichellgar; hi a'i troes ef â'i haml eiriau têg, ac â gweniaeth ei gwefusau hi a'i cymhellodd ef; efe a'i canlynodd hi ar frys, fel yr ŷch yn myned i'r lladdfa, neu fel ynfyd yn myned i'r cyffion i'w gosbi." Wr ieuanc, dod bechod heibio yn yr achlysuron: yn y cwmni sydd yn arwain iddo, yn y llyfrau sydd yn dy enynu ato, yn y *business* a all fod yn demtasiwn iddo. Cau byrth y synwyrau corfforol rhag dynesiad y gelyn; gwylia ar ddychymygion y meddwl; ymgadw rhag pob rhith drygioni. Rhy gyffredin yw pechodau yn rhith pethau cyf-

reithlawn: cybydd-dod yn rhith cynnildeb—balchder yn rhith taclusrwydd—halogi dydd Duw yn rhith edrych ar ol pethau anghenrheidiol—esgeuluso moddion gras yn rhith methiant gan afiechyd, pryd nad yw hyny yn attal ymweliadau eraill. Erbyn y meddylioch chwi fod Satan yn cysylltu ei deyrnas wrth bob amcan dan y nef, cyfeillion, gorchwylion, cymdeithasau yn naturiol, gwladol, a chrefyddol, gwelir fod eisieu gwylio mawr tuag at gadw anwiredd ymhell. Mae llawer yn barod i haeru eu bod yn lân oddiwrth fai, ac yn cyflawni gair yr Arglwydd yn eu buchedd; eithr y mae gan adar yr awyr rywbeth i'w ddywedyd am danynt yn wastadol. Beth yw'r sŵn fod hwnacw yn y dafarn yn fynych, yn yfed gyda'r meddwon, yn hoff o fod allan yn hwyr y nos? Beth yw'r gair sydd am y llall am fargenio yn galed a gwasgu'r gwan? A pheth yw'r si am un arall mai nid ar ganol ffordd diweirdeb a phurdeb y mae ei rodiad? Myn, O ddyn, fod uwchlaw dy ammheu; darpar bethau onest, glân, hawddgar, yn ngolwg pob dyn.

4. *Ei fwrw ymaith gyda dygasedd.* Gwyddoch fod yr ymadrodd, Pell fyddo rhywbeth, yn ddull o lefaru sydd yn arwyddo cynhyrfiad teimlad. "Pell oddiwrth Dduw fyddo gwneuthur annuwioldeb. Pell yw cynghor yr annuwiol oddiwrthyf fi." Yr un peth â dywedyd, Na ato Duw i mi fod o'r un cynghor â'r annuwiol. Felly yma: Bwrw ddrygioni ymaith ymhell, fel peth nas gallot fyw yn agos ato. Peth gwerthfawr yw fod y meddwl wedi ei goethi gymaint gan ras, y teimladau wedi eu halltu gan sancteiddrwydd, fel na bydd yn naturiol i'r *idea* ddrwg ddyfod i mewn i'r galon, neu os daw, ei bod yn cael ei bwrw ymaith gyda dygasedd—ei lladd, fel y gwneir â'r neidr pan ddelo i'r tŷ. Nid dywedyd fel Balaam wrth genadau Balac, "Aroswch yma y nos hon," eithr fel yr Iesu wrth y temtiwr, "Ymaith, Satan!"

Fel hyn yr ydym i wneuthur gyda phob pechod, ond yn enwedig gyda phechod neillduol yr ydys wedi ymarfer âg ef, neu yn ei gadw, hyd yn hyn. "Od oes drygioni yn dy law, bwrw ef ymaith ymhell." Er i ti, bechadur, gadw'th ddrygioni megys mewn llaw gauedig, mae Duw yn yr uchelder, a'th gydwybod o'th fewn, yn gwybod am dano; ac ni chei byth dangnefedd nes ei fwrw ymaith. Yn arbenig, a oes genyt wobr anghyfiawnder yn dy law? a elwaist ti elw drwg? a wyt yn cadw eiddo a ennillaist

yn anghyfreithlawn? "na sâf mewn peth drwg;" dôs â'r eiddo a gefaist yn annhêg adref i'r neb a'i piau yn gyfiawn. Ofer i ti feddwl gwneyd iawn am dy gamwri trwy haelioni ac elusenau; gwna gyfiawnder yn gyntaf; bwrw'r drygioni ymaith o'th law ymhell. Gwelwch fel yr oedd iachawdwriaeth yn nerthol weithio yn nghalon Zacheus. Dacw'r camel, wedi ymddadlwytho o'i faich goludog, yn myned bellach ar ei liniau trwy'r porth cyfyng. "Os dygais ddim o'r eiddo neb trwy gamachwyn, yr ydwyf yn ei dalu ar ei bedwerydd."

Mae'r galon barod, a'r ysbryd gweddi, i ymddangos mewn diwygiad teuluaidd. "Na ddyoddef i anwiredd drigo yn dy luestai." Nid peth yw crefydd i'w gadael ar ein hol yn yr addoldŷ, ond y mae i'w harfer gartref yn benodol. Gadawed gŵr y tŷ i anwiredd drigo yn ei deulu, ac fe fydd anwiredd y teulu yn dyfod yn anwiredd iddo ef, ac yn cael ei osod yn ei erbyn ef. Chwerw iawn y daeth ar Eli, er ei dduwioldeb personol, "am yr anwiredd a wyddai efe; o herwydd i'w feibion haeddu iddynt felldith, ac nas gwaharddodd efe iddynt." Jacob, wrth gychwyn yn ol tua Bethel ar orchymyn Duw, a orchymynodd i'w deulu, "Bwriwch ymaith y duwiau dyeithr sydd yn eich plith chwi, ac ymlanhëwch." A phenderfyniad Dafydd frenin ydoedd, "Ni thrîg yn fy nhŷ yr un a wnelo dwyll; ni thrîg yn fy ngolwg yr un a ddywedo gelwydd." Dylai'r penteulu ofalu yn benaf dim am achos eneidiau y rhai fyddo dan ei ofal, fel y gallo roddi ei gyfrif yn llawen, ac nid yn drist, ddydd a ddaw. Dedwydd yw'r teulu sydd fel yr eiddo Cornelius, yr hwn oedd "yn ofni Duw ynghyda'i holl dŷ."

IV. Y MAE YR HWN SYDD YN MEDDU'R GALON BAROD, A'R YSBRYD GWEDDI, AC YN AMLYGU EU HEFFEITHIAU HYN, YN SICR O ETIFEDDU BENDITH DUW: "Canys yna y codi dy wyneb yn ddifrychau; ïe, byddi safadwy, ac nid ofni."

Mae ein testun yn arddangos crefydd gyflawn; crefydd yn puro'r galon, yn cynnyrchu gweddi, yn sancteiddio'r fuchedd, ac yn iawn-ddysgyblu'r teulu; ac wele berchenog y grefydd hon yn gallu nesâu at Dduw heb euogrwydd cydwybod—heb raid iddo byth ddyoddef fel llofrudd, neu leidr, neu ddrwgweithredwr—heb ofn drwg yn cythruddo ei feddwl—ei galon, wedi ei chryfhâu â gras, yn ddisigl yn ymddiried yn yr Arglwydd.

Pwy bynag sydd heb y grefydd hon, nid yw eto yn rhy ddiweddar iddo ddechre ar y parotöad dymunol. "Os dydi," ïe, ti y digrefydd hyd yn hyn, "a barotöi dy galon" trwy yr edifeirwch sydd tuag at Dduw, a'r ffydd sydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist, ni'th wrthodir gan yr Arglwydd, eithr efe a drugarhâ wrthyt, ac a rydd i ti oleuni'r bywyd.

## PREGETH XXIV.

### CYBYDD-DOD.

LUC xii. 15: "Ac efe a ddywedodd wrthynt, Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod; canys nid yw bywyd neb yn sefyll ar amlder y pethau sydd ganddo."

YR achlysur a gafodd Crist i roddi y rhybudd difrifol hwn ydoedd gwaith un o'i wrandäwyr yn appelio ato am gyfiawnder oddiar law ei frawd. Yr oedd y tad, tybygid, wedi marw; ac yr oedd dadl rhwng y brodyr ynghylch yr etifeddiaeth. Dyma hen destun ymryson rhwng plant dynion ymhob oes. Fe allai fod y gŵr hwn yn golygu Iesu Grist fel y Blaenor Messïah, ac felly yn ystyried fod ganddo hawl i benderfynu y fath faterion, neu o leiaf, gwyddai ei fod yn hallt yn erbyn pechodau y wlad, ac yn fawr ei ddylanwad ynddi. Yr oedd nerth ei eiriau, cyn hyn, wedi troi aml i gybydd caled a gorthrymus fel Zacheus mewn mynydyn yn gyfiawn ac yn hael. Am hyny mae yn edrych arno ef fel y mwyaf tebyg o lwyddo gyda'i frawd i wneyd cyfiawnder âg ef yn nosbarthiad yr etifeddiaeth. Felly dymuna arno gyfryngu rhyngddynt. "Athraw, dywed wrth fy mrawd am ranu â myfi yr etifeddiaeth." Arfer y dylanwad sydd genyt fel dyn anarferol, i fynu cyfiawnder i mi oddiar ei law. Er nad yw Crist yn cydsynio â'r cais, y mae yn cymeryd achlysur oddiwrtho i ddangos perygl a gwagder y byd. Pe bae dynion yn credu y peth a ddywed Crist yma, fe farweiddid eu hysfa am y byd, ac felly darfyddai

anghyfiawnder ac ymryson cymydogion a pherthynasau yn ei gylch.

Oddiwrth ein testun, cawn sylwi am natur y drwg a nodir yma, ac ar yr alwad ddifrifol i'w ochelyd: "Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod."

I. Y drwg y rhybuddir rhagddo: "Cybydd-dod."

Cybydd-dod yw ariangarwch; trachwant, fel y darllena William Salesbury: "Edrychwch ac ymogelwch rhag trachwant;" chwant tra mawr i'r byd hwn; caru arian fel nad oes dim digoni'r meddwl âg arian. Er y dichon fod gan ddyn ddigon nid yn unig iddo ei hun, ond i'w hiliogaeth hefyd, a hyny nid at anghenrheidiau yn unig, ond er gwychder a moethau, eto mae'r galon yn caru y byd mor angerddol fel na ddywed hi byth, Digon. Oddiar yr awyddfryd hwn, mae'r dyn yn ei geisio ef yn aml mewn ffyrdd anghyfiawn, ac yn wastad fel amcan ei fywyd a'i unig ddaioni.

Mae gwahanol rywogaethau a graddau o gybydd-dra yn bod; ac felly mae i'w gael o dan amrywiol enwau yn y Bibl, a'i ddeiliaid i'w canfod, weithiau, mewn agweddau cwbl wahanol i'w gilydd.

Mae'r cybydd moethus i'w gael, yr hwn sydd yn casglu golud i'r dyben o'i wastraffu arno ei hun a'i feluschwant. "Moethus fuoch ar y ddaear, a thrythyll; meithrin eich calonau a wnaethoch, megys mewn dydd lladdedigaeth." Mae llawer yn barod i ddyweyd am gybydd fel hwn, "Hael yw." Ond yr oedd yr un gŵr â'i gyfoeth yn pydru wrth ei gadw, a'i wisgoedd a ddylasent fod am gefn y tlodion yn cael eu bwyta gan bryfed. Mae efe yn anghyfiawn ac annhrugarog: cyflog y llafurwr yn cael ei gamattal, a chŵyn y tlawd yn cael ei droi heibio (Iago v. 1—5), fel Nabal gyda Dafydd, yn dangos dim ond sarugrwydd a difenwad.

Mae'r cybydd truenus i'w gael, drachefn. Ceir hwn yn caru cyfoeth er ei fwyn ei hunan, ac yn ei garu yn ormod i'w fwynhâu. Er meddu cyfoeth, golud, ac anrhydedd, nid oes ganddo ddim gallu i'w fwynhâu, ac am hyny mae yn dlawd a dirmygus yn nghanol ei wychder a'i ddigonoldeb.

Mae'r cybydd pryderus yn bod, hefyd. Mae cysylltiad calon hwn â'r byd yn dangos ei hunan yn y carc a'r gofal gofidus yn ei gylch. Mae ei frawd mwy llwyddiannus yn galw ar ei enaid i fwyta, yfed, a bod yn llawen; mae yntau o dan lywodraeth yr un trachwant yn gofyn, "Beth a fwytäwn, neu beth a yfwn, neu â

pha beth yr ymddilladwn?" Ac er cael ei anghenrheidiau, nid yw ef yn foddlawn ar hyny; mae yn anniddig yn ei ystâd bresennol, ac yn ofni am amser i ddyfod—mae ei galon yn caru ychwaneg.

Gwelir cybydd-dod rhai yn tòri allan mewn actau drygionus yn erbyn dynion; mewn eraill, mae i'w ganfod yn benaf yn eu hymddygiadau tuag at Dduw. Felly, dybygid, yr oedd cybydd-dod y gŵr hwn oedd yma yn cyfarch yr Iesu. Nid oes dim prawf ei fod yn ceisio dim annhêg oddiar law ei frawd; ond y mae ei holl ddull a'i ymadroddion yn dangos ei fod ef yn dewis y byd yn fwy na Duw. Yn lle dyfod at Iachawdwr y byd i ymofyn am iachawdwriaeth i'w enaid, dyna efe mor llawn o'i amcanion daearol, fel y myn wneyd Crist, crefydd, a'r cwbl, yn wasanaethgar i'w cyrhaeddyd. Amser yn fwy na thragywyddoldeb, y byd yn fwy na Duw, oedd yn ngolwg ei feddwl. Cybydd-dod oedd hyn, medd Crist; ac yn y ddammeg a lefarodd efe ar yr achlysur, mae yn profi yr un peth. Ni chyhuddir mo'r gŵr goludog ynddi o wneuthur dim yn anghyfiawn tuag at ddynion. Ei dir ef oedd y tir, a Duw oedd wedi bendithio ei gnwd, a'r cwbl yr oedd ef yn fwriadu ei wneyd oedd casglu trysor, a byw i'w fwynhâu. Pa niwed oedd yn hyn? Onid yw crefyddwyr y wlad yn gyffredin â'u llygaid ar yr un peth? "Canmolant dithau o byddi da wrthyt dy hun." Mae rhïeni yn fwy na boddlawn i'w plant, os byddant yn troi allan fel hyn, yn ddynion iddynt eu hunain ac i'r byd: os casglant hwy ffortun o'u hieuenctyd, i fyw arni yn anrhydeddus wedi myned yn hen, beth mwyach a ddywed rhïeni ychwaneg wrthynt? dyna ddigon. Nage, cybydd-dod ydyw, medd Iesu Grist. Nid yw'r creädur yn ceisio'r byd i ddim ond i'w fwynhâu, nac yn ceisio dim i'w enaid fwynhâu ond y byd, heb ynddo un dymuniad am fod yn gyfoethog tuag at Dduw.

Na thwyller chwi, fy nghyfeillion; er i chwi drîn y byd mewn ffordd dêg, a bod Duw yn llwyddo eich llafur, ac er eich bod wrth ei ddefnyddio yn gwneyd llês i eraill, eto os hunan yw y prif nôd, tyru neu fwynhâu cyfoeth y prif ddedwyddwch, y mae yn rhaid i chwi syrthio wrth farn Crist fel dynion ariangar a chybyddlyd; ac os felly, mae'r holl felldithion sydd yn y llyfr hwn am y bai hwnw yn gorwedd arnoch chwi yn marn y Goruchaf. Ofer i ddyn ymlanhâu oddiwrth drais a gorthrymder, ïe, ac actio nid yn

unig yn gyfiawn ond yn haelionus hefyd—cybydd ydyw, a chybydd a fydd, tra bo'r galon yn caru y byd yn fwy nag yn caru Duw.

Dychwelwn i ystyried yn

II. Y RHYBUDD MAE CRIST YN EI RODDI YN ERBYN Y BAI HWN.

Mae dull yr Arglwydd Iesu yn ddifrifol iawn yn ei roddi, a'i ymadroddion yn dra chryfion. "Edrychwch," neu gwyliwch, "ac ymogelwch rhag cybydd-dod." Edrychwch ati, a hyny gyda'r gofal a'r penderfyniad mwyaf, ar eich bod yn wastad yn gwylio rhag cybydd-dod. Dengys yn hyn fod perygl mawr yn y drwg hwn, a bod plant dynion yn dra thueddol i syrthio iddo.

1. *Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod ar hyd eich bywyd.* Mae'r byd a'i chwantau yn gweithio ar neu tuag at eu gilydd tra byddo dyn ar y ddaear; y byd yn cynhyrfu y chwantau, a'r chwantau yn dwfndueddu yn y galon at y byd, a hyny ymhob mynwes, ac ar bob achlysur. Nid oes un ystâd, nac un oedran, nac hyd yn nôd un gradd mewn duwioldeb, yn sefyll goruwch y brofedigaeth. Felly mae yr apostol Ioan yn gwaeddi ar blant bychain, gwŷr ieuainc, a thadau, "Na cherwch y byd." Mae y plant bychain, serch eu bod yn adnabod y Tad, ac wedi cael maddeuant pechodau, mewn perygl o fyned i chwareu efo y tegan hwn. A'r gwŷr ieuainc, serch eu bod hwythau yn gryfion, a gair Duw yn aros ynddynt, a gorchfygu o honynt yr un drwg ganwaith, y maent mewn perygl o gael eu dal drachefn a'u gorchfygu gan y byd. Ië, a'r hen dadau, y rhai sydd yn adnabod yr Hwn oedd o'r dechreuad, ac ar fyned ato i fyw, y maent hwy mewn enbydrwydd o gael eu dal gan angeu â'u gafael yn rhy dŷn yn y byd. Mae ganddo ef ei foethau a'i orwychder i borthi chwant y cnawd, a balchder ieuenctyd, ac aur ac arian i dynu llygaid hen bobl ar ei ol. "Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod," ynte. Ni bydd y frwydr drosodd, na'r fuddugoliaeth wedi ei hennill, nes y byddo'r byd wedi myned heibio, a'i chwantau wedi diflanu o'r fynwes.

2. *Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod yn neillduol mewn amserau llwyddiannus neu adfydus ar eich amgylchiadau.*

Mae profedigaeth i fyned yn fwy bydol ymhob un o'r ddau gyflwr. Pan y mae'r byd yn cilio, y mae rhai, fel pysgodyn wedi ei adael gan y llanw, yn dyheu yn fwy ar ei ol. Dyma eu duwiau

hwy, fel y cwynai'r Mica hwnw; os cilia'r byd, beth sydd ganddynt hwy mwyach? Felly yr oedd yr Iuddewon wedi myned yn gynddeiriog am y byd yn nyddiau diweddaf eu gwladwriaeth (Iago iv. 1—4). Mae yn dra sicr, o'r ochr arall, os bydd y byd yn llwyddo, fod y galon, os heb ei chryfhâu â gras, yn tueddu i fyned yn fwy cybyddlyd. Ar y cyntaf yr oedd y dyn yn foddlawn ar anghenrheidiau; ond dacw y byd yn gwenu, a mwy na digon i'r anghen yn rhedeg i mewn; y mae yntau yn dechreu rhoi tipyn heibio; a'r man y caffo y galon flâs ar drysori, ni ddywed byth, Digon. Mae cybydd-dod wedi deffro, ac fel merch y gele wedi profi gwaed brŵd y byd, yn llefain, Moes, moes! Mae yn caru ei gyfoeth yn fwy am mai efe ei hun a'i piau. Mae yn dechreu teimlo yn fwy annibynol ar y byd, yn fwy dïogel rhag anghen; ac nid yn unig hyny, ond yn dechreu edrych i fyny at foethau a mawredd y byd, pethau nad oedd efe erioed wedi meddwl am danynt o'r blaen. Ac i'r dyben o gyrhaeddyd ei amcanion bydol, a throi ei freuddwydion gwâg yn wirionedd, mae yn ymledu am y byd yn feunyddiol, yn cadw ychwaneg iddo ei hun, ac yn rhoi llai at achosion daionus, nes o'r diwedd y bydd yn myned fel Nabal y Carmeliad, gan deimlo yn sarug, hwyrach, at bob galwad o'r fath. O y pryfed sy'n heigio yn y galon o dan belydrau haul llwyddiant! "Fy enaid, gorphwys, bwyta, ŷf, bydd lawen." Beth barodd i adyn yn ymyl tragywyddoldeb ymwenieithio fel hyna? Tir y gŵr goludog a gnydiodd yn dda. Gwnaeth dwy dalent Gehazi ei galon ef mewn mynydyn yn fwy gwahanglwyfus nag y gwnaed ei gorff: dacw efe yn ei ddychymyg yn planu gwinllanoedd, yn prynu anifeiliaid, yn cadw gweision a morwynion, nes deffro o'i freuddwyd gan rym ei bla. O fy enaid, ni wyddost ti ddim beth wyt ti yn ei ofyn wrth ofyn am ychwaneg o'r byd. Dymuno ychwaneg o gyfoeth yn aml yw dymuno profedigaethau chwerwach, cyfrifoldeb trymach, ac anhawsderau mwy i fyned i mewn i deyrnas Dduw. Yr oedd Agur yn gweled y perygl, ac am hyny yn gweddïo, "Na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth."

Os yw'r byd yn gwgu arnoch, fy nghyfeillion, yr ydym yn ddigon boddlawn i chwi gyda'ch amgylchiadau gynllunio yn fwy doeth, llafurio yn fwy diwyd, a byw yn gynnilach; ond gwyliwch rhag y cybydd-dod hwnw ag sy'n trymhâu y galon trwy ofalon bydol, yn gadael tŷ Arglwydd y lluoedd yn anghyfannedd, ac yn tòri allan

mewn grwgnachrwydd yn erbyn ei ragluniaeth. Ac o'r ochr arall, "os cynnydda golud, na roddwch eich calon arno."

3. *Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod wrth heneiddio.*

Y mae duwinyddion yn cadarnhâu y syniad cyffredin fod dynion yn myned yn fwy cybyddlyd wrth heneiddio. Mae rhai, bid siŵr, yn ffrwytho yn eu henaint gyda chrefydd; a ffrwythau yr henaint ydyw nefolfrydedd a darfod â'r byd; ond os na bydd y galon yn myned yn fwy nefol, mae yn debyg mai yn fwy bydol yr â wrth i'r dyn heneiddio.

Y mae pob egwyddor yn tynu at ei heithaf; fe dŷf y ffrwyth nes cyrhaedd addfedrwydd. Cynnydda gras nes troi yn ogoniant; "pechod hefyd pan orphener a esgor ar farwolaeth." Ni orphwys y chwant ar dynu y meddwl, llithio y serchiadau, ac ymddwyn ac esgor ar y pechod yn weithredol; na, nid yw efe ddim wedi "gorphen" nes meddiannu y galon, dyfetha pob teimlad gwrthwynebus iddo, a chael y dyn i fyw ynddo nes "esgor ar farwolaeth." Felly os oedd y dyn yn gybyddlyd pan yn ieuanc, mae yn llawer mwy felly erbyn myned yn hen. Bydd y galon erbyn hyny wedi ymgynefino a dwfn reddfu yn ei harferion cybyddlyd, y gydwybod wedi peidio ei gondemnio, a phob teimlad crefyddol a dyrchafedig wedi diflanu, a'r crëadur bydol yn adyn caled a drwg ei weithredoedd. Yn more ei oes yr oedd chwant y llygad yn wanach, am fod gan y dyn lawer o chwantau eraill i'w gwasanaethu; ond mae y rhai hyn, y naill ar ol y llall, yn pallu gyda henaint a phalldod natur. Beth a gaiff yr hen benllwyd druan? y mae chwant y cnawd, a chwaeth at ddifyrwch, wedi darfod; nid ŵyr ef ddim am ymhyfrydu yn yr Arglwydd; ac am hiraeth am y nef, y mae teimlad y Salmydd, "Llawen ydwyf fi oblegid dy air, fel un yn cael ysglyfaeth lawer," a phrofiad Paul, "gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw," yn ddyeithr iddo. I ba le gan hyny y trŷ efe? Y mae ei lygaid heb gael digon o gyfoeth eto, a dacw lygredigaeth yn troi yn un ffrŵd at y byd y mae ar ei adael. Fel hyn, medd Andrew Fuller, y mae llawer hen gerlyn cyfoethog yn byw iddo ei hun, ac yn taflu heibio bob achos da. "Pwy yw Dafydd? a phwy yw mab Jesse? llawer sydd o weision heddyw yn tòri ymaith bob un oddiwrth ei feistr: a gymeraf fi fy mara a'm dwfr, a'm cîg a leddais i'm cneifwyr, a'u rhoddi i wŷr nas gwn o ba le y maent?" (1 Sam. xxv. 10, 11). Pan y gwelwyf, ebe'r gŵr

da a doeth hwnw, y fath ysbryd mewn hen bobl, nis gallaf lai na meddwl ei fod yn arwydd gref iddynt fod dros eu bywyd dan lywodraeth ariangarwch, a'u bod yn awr yn prysur addfedu i ddinystr. O ddynion ieuainc, hyd yma y mae'r gydwybod yn brwydro â'r chwant, a'r arferion heb eu sefydlu; ond y mae dirgelwch yr anwiredd yn gweithio eisoes yn y fynwes, ac yn gweithio hyd yn nôd drwy eich arferion cynnil, diwyd, a hoffus; eithr beth a fydd ef, pan ei dadguddir yn ei bryd ei hun tua'r henaint, ond y cybydd yr hwn mae'r Arglwydd yn ei ffieiddio? Mynwch well gwrthddrychau i'r serch na'r byd yn gymhelliad i'ch llafur.

4. *Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod wedi dyfod i broffesu crefydd.*

Mae y byd yn wastad yn cyhuddo crefyddwyr o garu'r byd yn fwy na dynion eraill; ac y mae dynion duwiol yn addef fod gradd o wir yn y peth, ac yn gweled fod crefyddwyr dan demtasiwn neillduol i hyny. Os proffeswr yn unig ydyw y dyn, mae ef lawer tro yn fwy cybyddlyd nag annuwiolion cyhoeddus, ïe, yn fwy nag oedd ef ei hunan gynt, ac yn fwy nag y buasai eto oni bae ei fod yn broffeswr crefydd. Pa fodd y dichon hyny fod? Wel, pa beth bynag sydd yn gwrthsefyll llygredigaeth ymhob ffordd ond un, y mae yn achlysur iddo redeg yn gryfach yn y ffordd hòno. Mae yr annuwiol fel hen ridyll, â'i ddrygau yn rhedeg allan trwy bob twll; ond pan delo dyn yn grefyddwr, rhaid rhoi heibio o ran yr ymarweddiad cyntaf y pethau bryntion, boed a fyno. Ni chaiff efe ddim bod yn feddwyn, yn anniwair, neu yn gelwyddog; mae dysgwyliad y byd, a dysgyblaeth yr eglwys, yn galw arno i ymlanhâu. Pa ffordd, ynte, y gall y dyn hwn fyw yn ei bechod? Gall garu y byd yn fwy na charu Duw eto. Gall ei lygredigaeth arfer ei lywodraeth trwy gybydd-dod eto, a thòri allan dan enw diwydrwydd, cynnildeb, a darbod dros yr eiddo, heb syrthio dan gondemniad byd nac eglwys. Mae ei waith ef yn ceisio, yn cadw, ac yn defnyddio cyfoeth, yn bethau rhwng ei gydwybod ef â Duw; nis gall dynion ddim ymyryd â hynyma. Dïau y ceir gweled yn y farn aml i broffeswr blodeuog, diwygiwr mawr, a dysgyblwr llym, yn cael ei brofi yn gybydd, a'i gau allan o deyrnas Dduw. Mae llawer o broffeswyr yn debyg i Naaman y Syriad. "Ni offryma dy was mwyach boethoffrwm nac aberth i ddelwau eraill, ond i'r Arglwydd; yn y peth hyn yr Arglwydd a faddeuo i'th was: pan elo

fy arglwydd i dŷ Rimmon i addoli yno, a phwyso ar fy llaw i, a phan ymgrymwyf finnau yn nhŷ Rimmon, maddeued yr Arglwydd y peth hyn." Caiff meddwdod fyned, a chelwydd ei adael; ond ymgrymir i mammon eto. Beth a ddywed hyn oll? "Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod."

Fel annogaethau i wylio rhag cybydd-dod, gellir nodi amryw bethau sydd yn dangos ei ddirfawr ddrwg.

1. *Chwant ydyw sydd yn gweithio yn gryf a dirgel iawn.*

Mae temtasiwn iddo oddiwrth wendid natur, ac yn enwedig oddiwrth ei llygredigaeth, ïe, ac oddiwrth holl amgylchiadau einioes. Mae bywyd dyn, rhaid addef i ryw fesur, yn sefyll ar y pethau sydd ganddo. Hebddynt, mae ei holl ogoniant yn gwywo, a natur yn ymollwng i angeu, a hyny trwy amgylchiadau chwerwach a mwy ofnadwy nag angeu ei hun. Mae yn hawdd iawn, gan hyny, i bethau mor anghenrheidiol i natur wan droi yn fagl iddi fel y mae yn llygredig. Os yw cnawd gwan yn crynu rhag bod hebddynt, y mae enaid drwg yn portreiadu y trueni yn waeth nag ydyw, ac yn gweithio trwy yr ofn a'r pryder, yn ymlyniad anghymedrol wrth y byd. Os ydyw arian yn dipyn o gysgod, mae llygredd yn barod i ddyweyd ei fod "yn ddinas gadarn, ac yn fûr uchel," ac felly peri i'r dyn obeithio mewn golud anwadal. A yw bywyd yn sefyll arnynt? Ydyw, medd y cnawd, ac yn sefyll ar eu hamlder hefyd. Yna, dyna ar y dyn eisieu ychwaneg, a mwy na mwy. Mae yr olwg ar gael neu ar golli pethau'r byd yn cyffroi anwydau a serchiadau gymaint, nes peri i'r dyn ymadael â'i ddaioni yn nhragywyddoldeb i'r dyben i'w mwynhâu yn bresennol.

Ac megys y mae'r chwant yn gweithio yn gryf, mae yn gweithio yn ddirgel iawn; mae yn ymrithio dan enwau mor dêg, a thrwy arferion mor ganmoladwy, ac yn y ffurfiau hyny arno, fel y gellwch fyw yn ddiofal ynddo, heb ammheu eich hunain, na cholli eich cymeriad gyda dynion. Wrth ragddarbod dros yr eiddo, yr ydych yn llithro i ragddarbod dros y cnawd. Mae diwydrwydd, a chynnildeb, a chybydd-dod, yn rhedeg i'w gilydd mor ddiarwybod, fel heb wyliadwriaeth a gweddi barhäus, a llawer o gymundeb â Christ a'i groes, nad oes obaith bod yn ddïangol. Fe ddywed y cnawd, ond odid, nad oes gydag ef ddim i fod yn gybyddlyd arno. Ond beth yw'r tuchan yna sydd yn yr ysbryd? Os nad

yw yna yn ymhyfrydiad yn y byd gyda'r gŵr goludog, gall fod yna yn awydd am dano, a gofal yn ei gylch. Os nad yw yn tòri allan yn anghyfiawnder a thwyll tuag at ddynion, gall fod yn gweithio mewn dyeithrio yr enaid oddiwrth Dduw, trymhau y galon mewn gweddi, tagu'r gair, difuddio yr enaid oddiwrth ddaioni, a'i wneyd yn anniddig i'w sefyllfa yn y byd. Os yw y cyfoeth wedi ei ennill mewn ffordd dêg, hwyrach ei fod wedi ei gadw mewn ffordd gybyddlyd ac anghyfiawn. Pwy a ddichon ddywedyd, Nid oes arnaf ddim wedi ei adael fel dyled i neb, i Grist, i grefydd, nac i'r tlodion? Ah, pan ddaw dy ofynwyr i'th gyfarfod yn y farn, o bosibl y cei weled achosion yn dy ofyn na feddyliaist am danynt yn dy fywyd, a Mab Duw yn galw swm mawr o dy gyfoeth yn fammon anghyfiawn, oblegid ei fod yn eiddo dynion eraill. A allwn ni fel yr apostol appelio at Dduw, "Ni fuom ni un amser mewn rhith cybydd-dod; Duw yn dyst?"

2. *Mae yn myned rhwng y galon â Duw.*

Dyma sydd yn gwneyd cybydd-dod yn odineb ac eilunaddoliaeth: y fan y dechreuo weithio yn y meddwl, mae yn oeri yr enaid at ei wir Wrthddrych. Y byd a Duw yw y prif ymgeiswyr am y galon; ni foddlona yr un o honynt ar ddim llai na'r holl galon iddo ei hun. Mae'r byd yn nychymyg y pechadur yn paentio ei wyneb, a'i addewidion mor dêg ag ydynt o dwyllodrus, i'r dyben o ennill y serch. Tyred gyda mi, medd y byd; y neb a'm caffo i a gaiff fywyd o bleserau; byddaf yn fûr uchel rhyngot â phob trueni; yr ydwyf yn ateb i bob peth. Mae Duw o'r ochr arall yn ei ddyosg o'i degwch, ac yn bwrw pob dirmyg arno yn ei air a'i ragluniaeth. Rhydd yn gyffredin y doraeth fwyaf o hono i'w elynion; danfonodd ei Fab a'i brif anwyliaid drwy'r byd heb feddu dim o hono; y mae yn gwneyd ei blant yn hapus hebddo, tra y mae'r annuwiol yn ymgreinio mewn trueni yn ei ganol. Ac i ychwanegu at ei wagedd, mae wedi byrhâu yr einioes i'w fwynhâu; ni chei di, fy enaid, nemawr ddim ond ei weled, a chau dy lygaid arno am byth. Wedi dangos fel yma wagder y byd, mae yn amlygu ei ogoniant ei hunan yn Nghrist gerbron y meddwl, ac yn gwaeddi ar y pechadur, "Moes i mi dy galon." Wele fi yn ddigon o ddaioni i'r serchiadau. "A'r byd sydd yn myned heibio, a'i chwant hefyd; ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys Duw sydd yn aros yn dragywydd."

Yn awr, gan hyny, fy nghydbechadur, dyma ddau wrthddrych yn ymgais am dy galon. Pwy a'i caiff? Ni wiw i ti ddywedyd na chaiff yr un o honynt hi; y mae hi yn meddiant y naill neu'r llall y fynyd hon. Ac ni wiw i ti ddywedyd y caiff y ddau hi. "O châr neb y byd, nid yw cariad y Tad ynddo ef. Ni ddichon neb wasanaethu dau arglwydd." Os wyt ti yn caru y byd, yr wyt yn casâu Duw. Neu, os wyt yn glynu wrth Dduw, yr wyt yn groeshoeliedig i'r byd. Mae Mab Duw wedi penderfynu'r mater: "Nid ellwch wasanaethu Duw a mammon." O, y mae ymysg ein gwrandäwyr ddynion nad yw eu cybydd-dod erioed o bosibl wedi tòri allan i actau ysgeler yn erbyn dynion; ond beth er hyny? y mae'r byd wedi myned rhwng y galon â Duw. Yr ewyllys a ddylai fod yn nghyfraith yr Arglwydd, a geir yn y byd; y serchiadau a ddylent fod ar bethau sydd uchod, sydd yn ymsefydlu ar bethau ar y ddaear; a'r ymarweddiad, a ddylai fod yn y nefoedd, sydd yn amlwg yn fydol ac ariangar. Pe bawn i yn gwrando dy ymddyddanion cyffredin, fy enaid, onid ydynt yn arogli daearoldeb? A phe medrwn gloddio i'th fyfyrdodau, cawn weled ffieidd-dra mwy: y galon a ddylai fod yn deml i'r Duw byw, â'r byd wedi ei bortreiadu ar barwydydd ei holl gelloedd; y serchiadau yn bendigo yr eilun, ac yn dawnsio o flaen y llô aur! O am ysbryd i weddïo gyda'r Salmydd, "Gostwng fy nghalon at dy dystiolaethau, ac nid at gybydd-dra!"

3. *Mae yn peri i'r enaid wrthod Crist.*

Nid yw Crist yn dywedyd heddyw fel y dywedodd wrth y llywodraethwr ieuanc, "Gwerth yr hyn oll sydd genyt;" ond y mae yn ofynol fod yr ansawdd hòno ar galon dyn y fynyd hon a barai iddo wneuthur hyny pe gorchymynai yr Arglwydd iddo. A wnait ti hyny, fy enaid? Mae crefydd yn dechreu yn ngwaith dyn yn ymwrthod, o ran serch ac ymorphwysiad, â chymaint oll ag a fedd; bod yn foddlawn i werthu y cwbl i brynu yr un perl gwerthfawr. Ni byddi yn berffaith dy grefydd heb gyrhaedd hyn. Nid wyt yn dduwiol heb y tueddfryd hwn. Nis gelli fod yn gadwedig heb i Grist fod yn nês at dy galon na phob peth arall. Ond y mae y neb sydd dan lywodraeth cybydd-dod yn gosod y byd ar orsedd y galon, ac am adael i Grist sefyll islaw ei ystoldroed.

Gynifer sydd yn gwbl ddibris o'r efengyl! Yn lle dyfod, yn ol

y gwahoddiad breninol, i brïodas Mab y Brenin, "hwy, yn ddiystyr ganddynt, a aethant ymaith, un i'w faes ac arall i'w fasnach." Mae prynu tyddyn, neu bum' iau o ychain, yn peri iddynt ymdeimlo yn esgusodol rhag myned i'r swper mawr. Gwelir eraill, oddiar nerthoedd argyhoeddiadau y gair yn eu cydwybod, yn meddwl yn ddifrifol am grefydd, yn ymofyngar am dani, ac yn gwella yn eu buchedd; ond pan ganfyddant fod crefydd Crist yn myned rhyngddynt â'u hamcanion bydol, ac yn eu rhwystro rhag ennill cyfoeth ar draul y gwyrni lleiaf mewn gair neu weithred, y maent, fel y gŵr ieuanc goludog yn yr efengyl, yn myned ymaith yn athrist,—ymaith oddiwrth Grist at y byd. Y mae eraill, dybygid, wedi eu dwyn yn raddol at Grist; yn proffesu ei enw, yn dilyn ordinhadau ei efengyl, yn teimlo, ac yn gweddïo; ond "y mae gofalon y byd hwn, a hudoliaeth golud, a chwantau am bethau eraill, yn dyfod i mewn, ac yn tagu'r gair, a myned y mae yn ddiffrwyth." Y fath ynfydrwydd a thrueni yw hyn! yn lle rhoddi yr enaid at Grist i'w gadw erbyn y dydd hwnw, dyna hwy yn ei gyfnewid am bethau gweigion a darfodedig, ac yn y diwedd yn colli'r byd, ar ol colli Crist, ac ar ol colli yr enaid, er ei fwyn!

4. *Mae yn gwneuthur y meddwl yn ddarostyngedig i bob pechod.* "Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch!" Fel y mae'r gwreiddyn yn sefydlu a maethu yr holl bren, y mae ariangarwch yn gryfhâd a maeth i bob pechod. Dacw Achan yn lladrata'r diofryd-beth, Ahab yn trawsfeddiannu gwinllan Naboth, Gehazi yn gwneuthur celwydd a thwyll, Judas yn bradychu Crist, a Demas yn gwadu'r ffydd: cariad at y byd oedd gwreiddyn yr holl ddrygau. Ni thwyllais i neb; ni orthrymais neb; ni fynwn ladrata; ac nid wyf am wrthgilio, medd rhywun. Ië, ond os wyt yn caru'r byd, mae yr egwyddor a ddaeth allan yn y drwgweithredoedd hyny mewn eraill yn llechu yn dy galon di. Y brofedigaeth sydd heb ymosod arnat eto; ond y mae'r pylor yna yn barod i'r wreichionen. Fel y mae cariad at Dduw yn wreiddyn pob da, felly y mae ariangarwch yn wreiddyn pob drwg. Ac onid yw hyn yn gwaeddi yn uchel, "Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod?" Gelyn Duw a dinystrydd yr enaid ydyw; ceisiwch chwithau ddinystrio'r chwant. Ymaith âg ef; gwnewch â'r trachwant bydol megys y gwnaeth y byd â Christ; croeshoelier ef! Fel y darfu i'r byd

hoelio yr Iesu wrth y groes, ewch chwithau at y groes hòno i gyrchu hoelion tuag at groeshoelio'r byd.

"Nid yw bywyd neb yn sefyll ar amlder y pethau sydd ganddo." Nid yw cysur a mwyniant bywyd, heb yr hyn nid yw bywyd yn deilwng o'i alw yn fywyd, yn sefyll ar feddu cyfoeth ac ar gynnydd golud. Yn Nuw, ac nid yn y byd, y mae gwir ddedwyddwch enaid. Cŵch tyllog yw'r byd nad yw erioed wedi dwyn neb a roes ei ymddiried ynddo yn ddïogel i'r làn. Am hyny, "rhoddwch eich serch ar bethau sydd uchod, nid ar bethau sydd ar y ddaear." Melldith drom ar bechadur yw cael ei adael yn unig ar bethau'r ddaear. Ofnadwy yw cyflwr "dynion y byd, y rhai y mae eu rhan yn y bywyd yma," ac heb ganddynt afael ar y bywyd tragywyddol. Arddodiad gan Paul ar Timotheus ydyw, "Gorchymyn i'r rhai sydd oludog yn y byd yma, na byddont uchel feddwl, ac na obeithiont mewn golud anwadal, ond yn y Duw byw, yr hwn sydd yn helaeth yn rhoddi i ni bob peth i'w mwynhâu; ar iddynt wneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, fod yn hawdd ganddynt roddi a chyfranu, yn trysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod, fel y caffont afael ar y bywyd tragywyddol." Wedi i'r enaid ymgydnabyddu â'r nefoedd trwy ffydd Crist, nid edrych efe mwyach ar y ddaear ond fel prif-ffordd i'r nefoedd; a hyny a wna'r tro iddo i'w gynnal ar y ffordd, ac i'w helpio i wneuthur daioni i eraill, a gyfrifir yn ddigon ganddo. Wedi dysgu arfer y byd megys heb ei gamarfer, bydd bendith ar yr arfer. Pan drinir y byd gyda Duw, mwynhëir Duw gyda'r byd. Cymeryd Duw yn rhan, a defnyddio'r byd yn gynnaliaeth,—dyna fywyd yn ateb i'w enw.

# PREGETH XXV.

## DUW YN MAWRHAU Y GYFRAITH.

ESAIAH xlii. 21: "Yr Arglwydd sydd foddlawn er mwyn ei gyfiawnder; efe a fawrhâ y gyfraith, ac a'i gwna yn anrhydeddus."

CYFRAITH Duw ydyw ei ewyllys wedi ei dadguddio fel rheol i'w grëaduriaid fyw wrthi. Mae y gair o ystyr ëang yn y Bibl, a'r hyn a feddylir wrtho yn y naill fan yn wahanol i'r hyn a feddylir mewn man arall. Cyfraith Moses ydyw y gorchymynion a'r gosodiadau a roddwyd trwyddo. Cyfraith Crist, drachefn, ydyw yr efengyl a'i hordinhadau. Mae ynddi hi, mae yn wir, athrawiaeth ac addewidion yn gystal â gorchymynion; ond y mae'r oll yn meddu cymaint o'r un hynodrwydd, fel y crynhoir y cyfan i'r un enwad cyffredin: "Cyfraith yr Arglwydd." Ychydig o wahaniaeth yn ffurf yr ymadrodd a dry'r gorchymyn yn athrawiaeth, a'r athrawiaeth yn orchymyn. "Edifarhewch a dychwelwch;" dyna orchymyn awdurdodol. "Onid edifarhewch, chwi a ddyfethir oll yn yr un modd;" dyna athrawiaeth ddifrifol. Ac yn y geiriau hyny a'u cyffelyb, "Hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw yn Dywysog ac Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel a maddeuant pechodau," chwi a gewch y gorchymyn a'r athrawiaeth mewn ffurfymadrodd ag sydd yn cynnwys rhywbeth o natur addewid. Mae cydymffurfiad mewn barn a chalon âg athraw-

iaeth yr efengyl yn gymaint o ddyledswydd trwy awdurdod Duw ag ydyw ufudd-dod i'w orchymynion. Cyfraith yw y cyfan i ni.

Dengys y testun fod Duw yn mawrhâu y gyfraith. Cymerwch hyn am yr holl air dadguddiedig, ac y mae'r meddwl yn wir brïodol. "Efe a fawrhäodd ei air," medd y Salmydd, "uwchlaw ei enw oll." Dyma'r dadguddiad mwyaf gogoneddus o hono, gwreiddyn crefydd y byd, trwy yr hwn y mae yr Arglwydd yn adnewyddu calon pechadur, ac yn ei wneuthur yn ufudd iddo ei hun. Mae yn wir fod ei enw yn ardderchog ar yr holl ddaear; ond y mae'r cyfan yn ddieffaith i ddyn, ac yn ddiogoniant mynegol i Dduw, nes y byddo dyn wedi ei adferu a'i gyfnewid trwy air y gwirionedd. Mae'r nefoedd yn dadgan gogoniant Duw; ond cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith, yn troi yr enaid; hon sydd yn goleuo y llygad i weled Duw yn ei weithredoedd, ac yn llawenhâu y galon nes dwyn y pechadur i dymher i ganu gyda thannau'r grëadigaeth i'w Gwneuthurwr (Psalm xix.).

Ond yn awr ni a gyfyngwn ein sylwadau at y rhan hòno o'r dadguddiad dwyfol a elwir mewn modd arbenig yn gyfraith yr Arglwydd, sef y ddeddf foesol, y deng air deddf, ac a safwn ar y mawrhâd y mae Duw wedi ei roddi ar hon.

Onid oes achos i ofni fod deddf yr Arglwydd yn rhy isel yn ein mysg? A ydyw hi yn cael y lle hwnw yn y pulpud, yn y meddylfryd, ac yn y bywyd, âg y mae Duw yn ei roddi iddi o dan bob goruchwyliaeth? Mae yr annuwiol yn ei gwrthwynebu yn ei gydwybod, nes o'r diwedd ei bod yn dystewi yno; a gwelir llïaws trwy drachwant, anwybodaeth, a chaledwch calon, yn byw fel pe na byddai'r gyfraith yn bod. Maent yn byw heb y ddeddf; nid yn unig nid ydyw hi yn eu calonau a'u hymarferiad, ond nid ydyw, oddigerth i fesur bychan, yn eu gwybodaeth, eu côf, na'u cydwybod; nid yw yn eu rhwymo i unpeth, nac yn eu hattal rhag unpeth; anfynych y maent yn teimlo eu hunain mewn gwrthryfel yn ei herbyn, gan fel y maent wedi ei hanghofio a'i diddymu. Ac y mae tymmorau wedi bod ar eglwysi pan y byddai y ddeddf a'r efengyl yn cael eu hysgaru yn ormodol oddiwrth eu gilydd. Mae'r cristion wedi prïodi y ddwy; ond y mae y naill weithiau mewn cymhariaeth yn gu a'r llall yn gâs; hyny ydyw, mae yn bosibl i'r cnawd gymeryd achlysur, hyd yn nôd oddiwrth ras yr efengyl, i wneyd y meddwl yn rhy ddiofal ynghylch y ddeddf. Pa fodd

bynag, mae dau beth yn y gyfraith foesol ag y mae Duw yn eiddigus drostynt: ei garacter, a'i lywodraeth—sancteiddrwydd a chyfiawnder ei natur, ac awdurdod ei freniniaeth; ac y mae pob trosedd o honi yn cynnwys ynddo elyniaeth at y naill, a gwrthryfel yn erbyn y llall. Mae yn anmhosibl i'r gyfraith gael ei rhoi dan draed, heb fod rhagoriaethau natur y Duwdod yn cael eu dirmygu, a'i lywodraeth dragywyddol yn cael ei gwadu a'i thaflu o'r neilldu. Pe gofynech i mi am arwydd o'ch ailenedigaeth, neu eich cynnydd mewn gras, nid at eich defodau crefyddol, nac at hwyliau hyfryd, yr edrychwn, ond am eich cynnydd mewn adnabyddiaeth o ogoniant y ddeddf, parch iddi, a chydymffurfiad tymher ac ymddygiad â'i gorchymynion, yn gystal a galar am eich troseddau o honi, a chymeradwyaeth mwy calonog beunydd o'r Gwaredwr fel yr hwn y cafodd y ddeddf anrhydedd ganddo, a chwithau eich bywyd ynddo.

Dygwn ychydig o esiamplau er dangos pa fodd y darfu i Dduw o'r dechreuad fawrhâu y gyfraith, a'i gwneuthur yn anrhydeddus.

I. Efe a'i mawrhäodd hi *trwy ei rhoddi yn natur dyn yn ei grëadigaeth.*

Yr oedd egwyddorion y gyfraith yn anghenrheidiol a thragywyddol yn natur Duw erioed; a phan yr aeth efe i grëu crëadur rhesymol, gosododd yr unrhyw gyfraith yn ei natur yntau. Am yr holl seremonïau a'r gosodiadau pendant cysylltiedig â chrefydd, cyn ac wedi y cwymp, ni wyddai dyn yn ei grëadigaeth ddim am danynt, ac ni fuasai ei galon byth yn gwybod am danynt, oni buasai i Dduw eu dadguddio. Ond am y ddeddf foesol, nid oedd dim eisieu ei hysgrifenu mewn llyfr, na'i gwneyd yn eglur ar lechau, er mwyn ei gwneyd yn hysbys iddo; yr oedd hi yn ei galon, a'i hegwyddorion yn lefeinio ei holl natur. Yr oedd ei syniadau hi yn ei farn, a'i blâs hi ar ofn, dymuniadau, llawenydd, a holl serchiadau y galon. Gwybodaeth o honi, ewyllys iddi, ac ymhyfrydiad ynddi, oedd bywyd ei ysbryd. Heb fod y ddeddf ganddo mewn llythyren, yr oedd efe yn ddeddf iddo ei hun; yn dangos ei gweithred hi yn ysgrifenedig yn ei galon, wrth naturiaeth; nid trwy ddysg, nac esiampl, nac ymarferiad, ond wrth naturiaeth yn gwneuthur y pethau sydd yn y ddeddf. Megys ag y mae'r aderyn wrth naturiaeth yn ehedeg, neu y pysgodyn yn nofio yn y môr, felly yr oedd dyn wrth naturiaeth yn gyfiawn, yn

sanctaidd, ac yn dda. Nid yn y deall ar y gydwybod yn unig yr oedd y ddeddf yn gorchymyn yr hyn a gasëid, ac yn condemnio yr hyn a gerid gan y galon; ond yr oedd yr holl alluoedd mewn cydgordiad â'u gilydd, ac mewn perffaith gydsyniad â'r ddeddf, mor drwyadl a chalonog yn ei hôl âg ydynt yn awr yn ei herbyn. Yr oedd yn anmhosibl i'r Duw mawr ddangos mwy o fawrhad ar ei ddeddf na thrwy ei rhoddi yn natur ei grëadur. Yr oedd yn sicrhâu parch ac ufudd-dod iddi oddiwrth yr holl ddyn, ac felly yn sicrhâu ei ddedwyddwch yntau; Psalm cxix.

Dyma ydoedd tegwch natur dyn yn ngolwg Duw. Megys yr oedd yn mawrhâu y ddeddf trwy ei rhoddi yn y galon, felly efe a'i mawrhäodd ymhellach trwy anrhydeddu y crëadur oedd yn ei charu. Wedi i egwyddorion hon ddiflanu o'r galon, mae bywyd yr enaid wedi ymadael, a thegwch ei bryd wedi colli; yn nghanol ei holl dalentau a'i orwychder, y mae Duw yn ei fwrw heibio fel sothach. Ond tra yr oedd dyn ar ddelw Duw, a'i holl duedd at ac yn ol y gyfraith, yr oedd cerubiaid y gogoniant yn gyfeillion iddo, a'r Brenin tragywyddol yn chwennych ei anrhydeddu. Wele efe yn planu gardd iddo yn Eden, yn cynnyrchu pob peth dymunol i'w gynnal, yn bendigo ei brïodas, yn rhoi arglwyddiaeth iddo ar bob peth; yr oll ynddo ac iddo, da iawn ydyw. Nid oedd neb ond y diafol yn meddwl am ddifwyno y fath swp o ddiniweidrwydd.

Felly y mae eto: tra y mae'r byd yn mawrhâu cyfoeth mawr a doniau ardderchog, tymher ysbryd mewn cydymffurfiad â'i ddeddf sydd yn dwyn calon Duw: bod yn llawn daioni, anllygredigaeth, ysbryd addfwyn a llonydd,—dyna sydd ger bron Duw yn werthfawr. Er mor ddiystyr gan y byd yw y rhai a rodiant yn nghyfraith yr Arglwydd, dyma rai rhagorol y ddaear; maent fel lili ymysg y drain, neu berlau yn nghanol sothach. Arbedir weithiau deyrnasoedd er eu mwyn, a rhoddir dynion am eu heinioes. Beth sydd ogoneddusach na phrïodasferch gwraig yr Oen wedi ei thrwsio i'w Gŵr? y frenines mewn aur coeth o Ophir, oll yn ogoneddus o fewn—y mae'r Brenin yn chwennych ei thegwch (Psalm xlv.). Dyma oedd tegwch Mab Duw ei hunan—gogoniant Adda yr ail: yr oedd yn dda ganddo wneuthur ewyllys Duw, a'i gyfraith oedd o fewn ei galon; am hyny yr oedd ffafr Duw arno, yr oedd yn ei wrando bob amser, yn aros gydag ef pan yn unig,

ac yn dadgan ei foddlonrwydd ynddo ger bron y llïaws. Ac wedi iddo yn ei fywyd a'i angeu fawrhâu y gyfraith a'i gwneyd yn anrhydeddus, dyrchafwyd ef goruwch yr holl nefoedd. "Ti a geraist gyfiawnder, ac a gasëaist anwiredd," meddir wrtho; "am hyny y'th eneiniodd Duw, sef dy Dduw di, âg olew gorfoledd tu hwnt i'th gyfeillion." Credwch, O bobl ieuainc, mai nid tegwch corfforol sydd mewn bri gyda Duw. A oes yna ronyn o gariad at Dduw, diniweidrwydd, diweirdeb, cyfiawnder, gwirionedd, y purdeb calon a ofynir yn y ddeddf? Os oes, y mae yna degwch Dwyfol a bery byth—tegwch a ddaw gyda chwi i'r byd arall.

II. Mawrhäodd y gyfraith *yn ngoruchwyliaeth Moses, ac yn arbenig yn ei chyhoeddiad ar Sinai.*

Megys y rhodded hi yn nghalon dyn wrth ei grëu, felly pan yr aeth y Duw mawr i grëu a llunio Israel fel cenedl iddo ei hun, efe a gododd ei ddeddf i fri arbenig.

1. *Disgynodd Duw ei hunan i'w llefaru wrth y bobl.*

Am dri dyfodiad o eiddo Duw y mae'r Bibl yn sôn: ei ddyfodiad i roddi y ddeddf, ei ddyfodiad i'w chyflawni, a'i ddyfodiad i farnu y byd yn ei hôl. Yr oedd Duw yn y cyntaf, megys y bydd yn yr olaf, yn ofnadwy iawn, ac yn ymwneyd â dynion ei hunan yn ddigyfrwng. Nid yw breninoedd y byd yn cymdeithasu ond ychydig â'u deiliaid yn ddigyfrwng; trwy eraill y maent yn gyffredin yn llefaru ac yn ysgrifenu. Felly am y Duw mawr yn ystod yr amser y bu yn dadguddio ei feddwl yn ei air; ychydig a ddywedodd ef ei hunan, nes iddo ddyfod i siarad â ni yn ein natur. "Duw, wedi iddo lefaru lawer gwaith a llawer modd, gynt wrth y tadau trwy y prophwydi." Yr oedd efe yn llefaru wrth Moses, a Moses wrth y bobl. Yn gyffelyb ag y bu gyda phrophwydoliaeth Ioan: yr oedd Duw yn rhoddi i Grist, Crist yn anfon trwy ei angel, yr angel yn hysbysu i Ioan, a Ioan i'r eglwysi. Ond Duw ei hun oedd yn siarad â'r bobl dan Sinai. "Wyneb yn wyneb yr ymddyddanodd yr Arglwydd â chwi yn y mynydd, o ganol y tân." "Y geiriau hyn a lefarodd yr Arglwydd wrth eich holl gynnulleidfa yn y mynydd, o ganol y tân, y cwmwl, a'r tywyllwch, â llais uchel, ac ni chwanegodd ddim" (Deut. v. 4, 22). Beth bynag oedd gwaith yr angelion er cynnyrchu y llais oedd yn trosglwyddo y geiriau i'r bobl, Duw ei hun oedd yn llefaru, nid yn unig wrth Moses, ond yn uniongyrchol wrth yr holl gynnulleidfa. Ac er

iddo lefaru lawer gwaith a llawer modd, ni chwanegodd ddim yn y modd yma ond y deng air deddf.

Llefarodd hwy mewn modd ofnadwy er mwyn ychwanegu mawredd ei ddeddf. Gorchymynwyd i'r bobl ymsancteiddio, a bod yn barod erbyn y trydydd dydd i gyfarfod â Duw. "A'r trydydd dydd, ar y boreuddydd, yr oedd taranau, a mellt, a chwmwl tew ar y mynydd, a llais yr udgorn oedd gryf iawn, fel y dychrynodd yr holl bobl oedd yn y gwersyll. A mynydd Sinai oedd i gyd yn mygu, o herwydd disgyn o'r Arglwydd arno ef mewn tân, a'i fŵg a ddyrchafodd fel mŵg ffwrn, a'r holl fynydd a grynodd yn ddirfawr." Yr oedd yma bob peth ofnadwy i natur wedi cydgyfarfod: tân mawr hyd entrych awyr, tywyllwch dudew, y nefoedd yn taranu oddiarnodd, a'r ddaear yn crynu odditanodd. Nid oedd y tân yn goleuo y tywyllwch, na'r tywyllwch yn cuddio y tân, ond y naill yn gwasanaethu i ddangos y llall yn fwy arswydol. Ac yn y dymhestl a'r rhyferthwy hwn, wele Jehofah yn disgyn, a'r udgorn yn lleisio i alw y bobl i gyfarfod â Duw. Yn y man, wele bob llais yn gostegu, pob elfen yn clustfeinio, a Duw yn tòri ar y dystawrwydd arswydlawn trwy lefaru holl eiriau y deng air deddf, a dyna'r bobl yn gwaeddi, "Wele yr Arglwydd ein Duw a ddangosodd i ni ei ogoniant a'i fawredd, a'i lais ef a glywsom ni o ganol y tân; os nyni a chwanegwn glywed llais yr Arglwydd ein Duw mwyach, marw a wnawn."

2. *Efe a'i hysgrifenodd â'i fŷs ei hun.*

Ymhen yspaid ar ol llefaru geiriau'r gyfraith, gelwir Moses i'r mynydd drachefn: "Tyred i fyny ataf i'r mynydd, a bydd yno; a mi a roddaf i ti lechau cèryg, a chyfraith a gorchymynion, y rhai a ysgrifenais, i'w dysgu hwynt." Bu yno ddeugain niwrnod a deugain nos, yn derbyn deddfau a barnedigaethau—y rhai hyny oll i'w hysgrifenu gan Moses ei hunan. Ond ar ddiwedd y cymundeb maith, Duw a roddes iddo ef "ddwy lech y dystiolaeth, sef llechau o gèryg, wedi eu hysgrifenu â bŷs Duw." Pa bryd y gwnaed y llechau arbenig hyn gan Dduw, nid ydym yn gwybod. A ddarfu iddo eu tynu o un o greigiau yr hen ddaear yma cyn erioed ei halogi gan bechod dyn, a'u dodi i gadw yn ofalus mewn rhyw gafell sanctaidd yn y nefoedd hyd nes y deuai yr amser a ordeiniwyd ganddo i roddi ei gyfraith i'r Israel? Yr oedd ganddo ddigon o barch i'w ddeddf i wneuthur hyny. Neu, Ai y pryd

hwnw y rhoddes efe fôd, trwy grëadigaeth uniongyrchol a digyfrwng, i'w defnyddiau ac i'w ffurf o flaen llygaid Moses, gyda holl lendid a pherffeithrwydd ei law ef ei hunan arnynt, er gadael argraff byth ar feddwl Moses, a thrwyddo ef ar holl Israel, o bwys yr hyn oedd yn ysgrifenedig arnynt? Yr oedd ganddo ddigon o barch i'w gyfraith lân i wneuthur hyny. Neu ynte, fel y mae yn debycach, hwyrach, A dynwyd hwy ganddo o ochr mynydd Sinai, yn cynnrychioli hen gloddfa'r cwymp a'r felldith, ond wedi ei sancteiddio gan yr amlygiadau sanctaidd ac ofnadwy o'i bresennoldeb ef ei hunan arno, gan eu cymhwys lunio, pa mor afrywiog bynag y gallai fod eu defnydd, i dderbyn arnynt argraff Ddwyfol y gyfraith sanctaidd, yn arwyddlun o'r hyn a wneir gan Ysbryd Duw ar galonau adamantaidd dynion? Yr oedd gan y Duw Goruchaf ddigon o barch i'w ddeddf gyfiawn a da i wneuthur hyny.

Pa fodd bynag, sicrhëir i ni am danynt, "A'r llechau hyny oedd o waith Duw; yr ysgrifen hefyd oedd ysgrifen Duw yn ysgrifenedig ar y llechau." O gyfraith oruchel wedi deillio o natur Duw, ei llefaru â genau Duw, a'i hysgrifenu â llaw Duw! Peth mawr oedd crëu y bydoedd; ond ymddiriedwyd ysgrifenu hanes hyny i Moses. Histori ryfedd, yn wir, yw histori Duw yn y cnawd; ond ymddiriedwyd ysgrifenu hòno i'r pedwar Efengylwr. Gweledigaeth hynod sydd am yr eglwys o esgyniad Crist i'w ailddyfodiad; ond cafodd Ioan ysgrifenu hyny. Eithr pan aed i ysgrifenu y ddeddf a ddirmygaist ti, bechadur, yr ysgrifen hòno oedd ysgrifen Duw. Paham y rhoddwyd hi gan Dduw mewn modd mor ofnadwy? I ddangos ei eiddigedd drosti, a'i benderfyniad i'w mawrhâu, serch i hyny fod yn dân, a thywyllwch, a thymhestl, a daeargryn yn nghydwybod ei throseddwr byth. Paham yr ysgrifenid ar lechau cèryg gan Dduw ei hunan, pan nad oedd y ddeddf seremonïol ond ar bapyr neu femrwn, ac wedi ei hysgrifenu gan Moses? O herwydd, hwy a ddarfyddant, eithr y mae hon i barhâu: hwy sydd i heneiddio a diflanu, ond hon i aros tra byddo Duw yn Dduw, a dyn yn ddyn. Nef a daear a ânt heibio, ond nid â un iod nac un tipyn o'r gyfraith heibio hyd oni chwblhäer oll. Gellwch chwi ei hanghofio a'i diddymu ar hyd y byd yma; ond y mae hi wedi ei hysgrifenu yn y graig dros byth â phin o haiarn ac a phlwm. Paham yr oedd y llechau wedi eu hysgrifenu o bob tu, wyneb a chefn? I ddan-

gos perffeithrwydd y gyfraith,—nad oedd eisieu ac na cheid chwanegu ati na thynu oddiwrthi. Paham yr ysgrifenodd Duw y gyfraith ar lechau drachefn, wedi i Moses, pan yn teimlo o herwydd eilunaddoliaeth y bobl, dòri y llechau cyntaf? I ddangos nad yw troseddiad dyn, na maddeuant Duw, yn dirymu dim ar y gyfraith, ond y myn ef iddi fod ar gôf a chadw genym yn wastadol. Er mwyn dangos sicrwydd geiriau bygythiol Jeremiah, gorchymynodd Duw iddo eu hysgrifenu mewn llyfr; ac wedi i'r brenin Jehoiacim losgi'r llyfr, dywedai Duw, "Cymer i ti eto lyfr arall, ac ysgrifena arno yr holl eiriau y rhai oedd yn y llyfr cyntaf." O, y mae deddf Duw a'i melldithion yn ddigyfnewid! Ysgrifenodd Duw ei gyfraith, cofiwn, i roddi bri arni, ac i sicrhâu ein parch ninnau iddi. Yr oedd Paul yn dwyn sylw y Galatiaid at ei lawysgrifeniad ef o'r epistol atynt: "Gwelwch cyhyd y llythyr a ysgrifenais atoch â'm llaw fy hun." Ac wele mae Duw am i ninnau sylwi ar ei gyfraith, ei ysgrifen ddigyfrwng gyntaf erioed, a'r olaf hefyd. Meddwl, O bechadur, pan y byddi yn tòri un o'r gorchymynion, Bu Duw â'i fŷs ei hun yn ysgrifenu hwnw! Yn lle ei diystyru, cymer y gyfraith o'i enau ef, cylyma hi am dy wddf, ac ysgrifena hi ar lêch dy galon.

3. *Efe a ddygodd y bobl o dan gyfammod i'w chadw.*

Er eu bod yn rhwym yn naturiol, eto trwy y cyfammod yr aethant iddo, yr oeddynt yn cymeryd arnynt y rhwymedigaeth yn wirfoddol. Felly mae y deng air yn cael eu galw yn "eiriau y cyfammod," a'r llechau ar ba rai yr oeddynt wedi eu hysgrifenu yn "llechau y cyfammod," a'r arch lle y cedwid hwy yn "arch y cyfammod." Yr oedd y Duw mawr newydd eu gwaredu o'r Aipht, ac yn myned i'w gwneyd yn freniniaeth o offeiriaid a chenedlaeth sanctaidd iddo ei hun, a'u dwyn i Ganaan yn ol ei gyfammod â'u tadau. Ac yn ngolwg yr holl ddaioni hwn, y cwbl a geisiai oddiwrthynt oedd parch i'w ddeddf. Ac i wneyd eu rhwymau i'w chadw yn fwy byw ar eu cydwybodau, efe a wnaeth iddynt yn yr amgylchiadau mwyaf difrifol ymrwymo i ufuddhâu yn y modd mwyaf pwyllog a difrifol. Wedi iddynt addaw ddwywaith o'r blaen, y mae Moses yn adrodd ystyr y cyfammod wrthynt hwy, ac y mae yr holl bobl yn unair yn ateb ac yn dywedyd, "Ni a wnawn yr holl eiriau a lefarodd yr Arglwydd." Mae Moses drachefn yn ysgrifenu y gyfraith mewn llyfr, ac yn taenellu y llyfr

â gwaed ar yr allor, i wneuthur cymmod dros bechodau y bobl yn erbyn y ddeddf oedd yn ysgrifenedig ynddo, ac yn ei ddarllen lle y clywai y bobl; a dyma hwynt yn dywedyd drachefn, "Ni a wnawn ac a wrandäwn yr hyn oll a lefarodd yr Arglwydd;" ac wele waed y cyfammod yn cael ei daenellu ar y bobl. Dyna hwy fel hyn yn rhwym dros oesoedd a chenedlaethau i gadw deddf Duw. Yn ngwaed yr aberth yr oedd y ddwyblaid yn gwystlo eu bywyd i gyflawni bob un ei ran; Duw i gadw ei addewid, a hwythau i gadw'r ddeddf. Nid oedd bosibl iddynt weithian dòri y ddeddf heb dòri eu cyfammod â Duw. Ac wele lechau'r gyfraith yn cael eu cadw yn yr arch dan y drugareddfa, yn dyst yn eu herbyn ger bron Duw os byddent anffyddlawn. Yn gyffelyb y mae eto rhwng pechadur â Duw yn Nghrist: y mae Duw yn gwystlo ei hunan iddo ef, a'r enaid crediniol iddo yntau. Mae yn rhoddi y cwbl iddo o ras, ac yn ymrwymo i'w ddwyn i'r Ganaan dragywyddol; a'r cyfan y mae yn ei ofyn yn y canlyniad ydyw ufudd-dod i'w ddeddf.

III. Yr oedd Duw yn mawrhâu y gyfraith *yn ngweinidogaeth ei weision drwy yr oesoedd, y rhai a arddangosent fod ufudd-dod ysbrydol iddi i'w gyfrif goruwch pob gwasanaeth arall.*

Byth wedi cael y ddeddf seremonïol a'r aberthau, yr oedd yr Iuddewon yn dyrchafu y rhai hyny yn uwch nag ufudd-dod calon a bywyd i'r ddeddf foesol. Ond yr oedd hyn yn groes i drefn Duw. Hon oedd yn gwreiddio yn ei natur; hon yr oedd efe wedi ei llefaru â'i enau, a'i hysgrifenu â'i law; a thra nad oedd y seremonïol ond wrth ystlys yr arch oddiallan, yr oedd hon ei hunan oddimewn dan y cauad aur. Dangos ffordd yr oedd hòno i'w codi yn anrhydeddus yn wyneb hon, ac wedi ei hamcanu i weithio cydymffurfiad â hi yn eu calonau hwy. Y mae Duw gan hyny yn dysgu ei weision i'w dyrchafu o flaen pob rhyw wasanaeth crefyddol. "Samuel a ddywedodd, A yw ewyllys yr Arglwydd ar boethoffrymau neu ebyrth megys ar wrando ar lais yr Arglwydd? Wele, gwrando sydd well nag aberth, ac ufuddhâu na brasder hyrddod." Mawrygu Duw mewn mawl ac ufudd-dod, "hyn fydd well gan yr Arglwydd nag ŷch neu fustach corniog, carnol." Cymaint gwell ydoedd fel y cyfrifir y seremonïau mewn cymhariaeth megys pethau heb erioed eu gorchymyn. "Canys ni ddywedais wrth eich tadau, ac ni orchymynais iddynt,

y dydd y dygais hwynt o dir yr Aipht, am boethoffrymau neu aberthau; eithr y peth hyn a orchymynais iddynt, gan ddywedyd, Gwrandewch ar fy llef, a mi a fyddaf Dduw i chwi, a chwithau a fyddwch yn bobl i minnau; a rhodiwch yn yr holl ffyrdd a orchymynais i chwi" (Jer. vii. 21, 22). Rhaid oedd gwneyd hyn, ac na adewid y lleill heibio; yr oedd ufuddhâu yn ymarferol i gyfraith Duw yn gymaint mwy pwysig nag offrymu aberthau, fel y lleferir am hyny yn ymyl hyn megys pethau heb fod.

Yn Psalm l., cawn Dduw yn myned i wneuthur barn ar ei bobl gyfammodol; a geilw ar y nefoedd oddiuchod, ac ar y ddaear, i ddyfod i'w barnu fel tystion. Pa ddrwg a wnaeth y bobl? ai esgeuluso aberthu? "Nid am dy aberthau y'th geryddaf, na'th boethoffrymau, am nad oeddynt ger fy mron i yn wastad," neu, "Nid am nad oedd dy aberthau a'th boethoffrymau ger fy mron i yn wastad y'th geryddaf." Yr oeddit yn aberthu a phoethoffrymu yn gyson; ond ymorphwys arnynt hwy yr ydwyt, heb grefydd at Dduw nac uniondeb at ddyn. "Wrth yr annuwiol y dywedodd Duw, Beth sydd i ti a fynegech ar fy neddfau, neu a gymerech ar fy nghyfammod yn dy enau, gan dy fod yn casâu addysg, ac yn taflu fy ngeiriau i'th ôl?" Pa beth a'th foddlonai, Arglwydd mawr? "Yr hwn a abertho foliant a'm gogonedda i; a'r neb a osodo ei ffordd yn iawn, dangosaf iddo iachawdwriaeth Duw." Pan esgeulusir ufuddhâu i gyfraith foesol Duw, mae defodau crefyddol, ïe, a zêl gyda hwy, yn hollol wrthodedig. "Y neb a laddo ŷch," os na bydd efe hefyd yn lladd ei chwantau drwg, "sydd fel yr hwn a laddo ŵr; yr hwn a abertho oen," heb edrych, oddiar deimlad o'i euogrwydd, ymlaen at Oen Duw, "sydd fel yr hwn a dòrfynyglo gi; yr hwn a offrymo offrwm," os na bydd yn ei offrymu ei hun i wasanaeth Duw, "sydd fel ped offrymai waed moch; yr hwn a arogldartho thus," ac ni ddyrchafo ddwylaw sanctaidd heb na digter na dadl, "sydd fel pe bendigai eilun" (Esa. lxvi. 3). Esaiah, dyna grefydd yn ei henwogrwydd gan y bobl; paham y lleferi yn eu herbyn? Gwelwyd ffyrdd Sïon yn galaru o eisieu rhai yn dyfod i'r ŵyl arbenig; ond yn awr dyna newyddloerau, uchelŵyliau, a sabbothau, yn cael eu cadw; ac wele anifeiliaid breision, ac nid y cloff a'r dall; a dyma waed a brasder y rhai hyny yn cael eu rhoddi i Dduw nes y dywed ei fod yn llawn o honynt. Eto dyma'r cwbl yn anghymeradwy gan yr Arglwydd.

"Beth yw lliosogrwydd eich aberthau i mi? pwy a geisiodd hyn ar eich llaw? Na chwanegwch ddwyn offrwm ofer; arogldarth sydd ffiaidd genyf;" eich holl ddefodau "a gasäodd fy enaid; y maent yn faich arnaf: blinais yn eu dwyn." Brophwyd Duw, dywed, paham y mae yr Arglwydd yn ymwrthod â gwasanaeth y bobl? Pobl Gomorrah ydynt; rhai yn dewis ffyrdd yr hen Sodomiaid, ac yn ymhyfrydu yn eu ffieidd-dra. Beth sydd i'w wneuthur? "Ymolchwch, ymlanhëwch, bwriwch ymaith ddrygioni eich gweithredoedd; peidiwch â gwneuthur drwg." Gwêl, Arglwydd, fel y maent wedi dysgu aberthu. Ond y mae arnynt eisieu dysgu peth llawer mwy pwysig. "Dysgwch wneuthur daioni; ceisiwch farn, gwnewch uniondeb" (Esa. i.). Felly y dywedir wrth y truan argyhoeddedig oedd yn ymholi pa fodd i wneuthur iawn dros ei bechodau, a hyny, dybygid, er mwyn gallu byw yn dawel eto mewn pechod: "A pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd, ac yr ymgrymaf ger bron yr uchel Dduw? a ddeuaf fi ger ei fron â phoethoffrymau ac â dyniewaid? a foddlonir yr Arglwydd â miloedd o feheryn, neu â myrddiwn o ffrydiau olew? a roddaf fi fy nghyntafanedig dros fy anwiredd, ffrwyth fy nghroth dros bechod fy enaid?" Nage, druan dall; ofer i ti geisio gwneyd iawn drwy dy fympwy, neu ymorphwys am gymmod mewn dim seremonïau nac offrymau; gwybydd y drefn y mae Duw wedi ei darpar, ac ufuddhâ iddo ef oddiar ffydd ynddi. "Dangosodd efe i ti, ddyn, beth sydd dda; a pha beth a gais yr Arglwydd genyt ond gwneuthur barn, a hoffi trugaredd, ac ymostwng i rodio gyda'th Dduw" (Mica vi. 6—8)? Fel hyn yr oedd yr Arglwydd drwy weinidogaeth Samuel, Dafydd, Esaiah, Jeremiah, a'r holl brophwydi, yn mawrhâu ac anrhydeddu ei gyfraith.

O pe deuai Duw i wneuthur barn ar eglwysi ein gwlad ni, fel y bu yn gwneyd ar yr eglwys Iuddewig gynt—dyfod yn ei raglun-iaethau arswydol; tân yn ysu o'i flaen, a thymhestl ddirfawr o'i amgylch, nef a daear yn dwyn arwyddion o'i ŵg—Duw ei hun, trwy y cyfan, yn barnu, nes y byddai yr holl eglwysi yn profi ei fod yn chwilio yr arenau a'r calonau,—ai ni byddai llawer proffes-wr blodeuog, ïe, a phregethwr doniol, yn cael eu lladd â geiriau ei enau, chwantau drwg ac amrywiol y galon yn cael eu lledu ar gyfer eu dyledswyddau, a Duw yn edrych yn llygaid eu cydwyb-odau, ac yn gofyn, "Beth sydd i ti a fynegech ar fy neddfau?" O

Gymry, o ba werth yn ngolwg Duw yw y gwrando heb wneuthur? Pa leshâd yw gweddïo llawer a'r galon yn myned ar ol cybydd-dod? Pa mor ffiaidd yn ngolwg y Duw sanctaidd yw mynychu cymun, a dywedyd a gwneyd celwydd mewn *business?* A wnewch chwi grefydd yn gochl dros chwantau drwg? ceisio ffordd esmwyth i fyned i uffern yw hyny; sangu llwybr dystaw, os gell-wch, i ystafelloedd angeu tragywyddol. "Anghofio Duw," dyna fywyd crefydd ragrithiol; "a rhwygo, ac na byddo gwaredydd," dyna ei diwedd. Aberthu moliant, a gosod y ffordd yn iawn; dyna a geisia yr Arglwydd, sef yw hyny, addoli Duw yn Nghrist yn ol galwad y lech gyntaf; ac ymarweddu yn iawn tuag at ddyn-ion yn ol yr ail. Ni dderbyn Duw ein hymarferiad âg ordinhadau ei efengyl, os na byddwn yn ufuddhâu o'r galon i orchymynion ei gyfraith.

IV. Cafodd y gyfraith ei mawrhâu *trwy weinidogaeth bersonol Mab Duw.*

Megys yr anrhydeddwyd y gyfraith ar sefydliad goruchwyliaeth Moses, felly yn arbenig ei anrhydeddwyd ar ddechre yr oruchwyl-iaeth efengylaidd; nid trwy weinidogaeth angelion Duw, ond trwy weinidogaeth ei Fab ei hun.

Yr oedd efe yn dywedyd yn hallt yn erbyn y traddodiadau Phariseaidd, ac yn awgrymu fod oes yr hen oruchwyliaeth ar ben. "Y gyfraith a'r prophwydi oedd hyd Ioan," medd efe. "Mae yr awr yn dyfod pryd nad addoloch y Tad, nac yn y mynydd hwn, nac yn Jerusalem.' Ond cyn tynu i lawr yr hen balas a godwyd ar fynydd Sinai, mae yn gofalu am gario yr aur a'r arian a'r meini gwerthfawr—egwyddorion tragywyddol y ddeddf foesol—i'w balas newydd ar fynydd Sïon.

Pan yr oedd y torfeydd wedi ymgynnull i'w wrando, a phawb yn awyddus am wybod beth oedd gan y Rabbi newydd i'w ddy-wedyd, y mae efe yn dechre nid yn gymaint gyda gras, ond gyda'r ddeddf. Beth yw y tymherau y mae yn eu canmawl yn y gwŷnfyd-au ond ysbryd y ddeddf, a'r gweithredoedd da a gymhella ond ufudd-dod i'r ddeddf? Dyna'r ffordd i ni fod yn ddedwydd, fel y dengys efe, i fod yn halen y ddaear, yn oleuni'r byd, ac i ogoneddu ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd. Dywed yn benodol na ddaethai efe i daflu'r ddeddf o'r neilldu. "Na thybiwch fy nyfod i dòri y gyfraith." Na, mae'r gyfraith yn anghenrheidiol a

thragywyddol rhwng Duw a dyn. Y gwirionedd perthynol i foesau ydyw; ac nis gall gwirionedd byth beidio bod yn wirionedd. Nid cyn y peidia Duw fod yn Dduw, a dyn yn ddyn, a gwirionedd yn wirionedd, y paid y gyfraith fod yn gyfraith. Mor bell gan hyny yr oedd Mab Duw o'i diddymu, fel yr oedd efe yn ei chodi o dan hen falurion y traddodiadau Iuddewig, ac yn ei gosod i ddysgleirio yn ei dŷ. Felly rhydd argraffiad newydd o honi, esboniad Dwyfol arni, sydd yn gwneyd ei hysbrydolrwydd mor eglur â'i llythyren. Dengys ei bod yn gofyn y galon oddifewn, ac nid yn unig yr ymddygiad oddiallan—ei bod yn gorchymyn dyledswydd ac yn gwahardd pechod yn y galon. Gydag ef y mae dig ac ysbryd dial yn llofruddiaeth, ac edrych ar wraig i'w chwennychu yn odineb. Gydag ef, caru ein cymydog yw caru ein gelynion, bendithio y rhai a'n melldithiant, gwneuthur da i'r sawl a'n casânt, a gweddïo dros y rhai a wnêl niwed i ni ac a'n herlidiant. Mewn gair, dan ei law ef, nid yw'r gyfraith yn dywedyd dim llai na, Byddwch fel Duw: "byddwch chwi gan hyny yn berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith." Nid ufudd-dod arwynebol i'r ddeddf a wnai'r tro ganddo ef. "Oni bydd eich cyfiawnder," ebe efe, "yn helaethach na chyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd." Maent hwy yn camesbonio, yn ymesgusodi, ac heb roddi ond ufudd-dod i'r llythyren ar y goreu. Ni chaiff neb yn fy nheyrnas wneuthur esgus rhag anrhydeddu ei rïeni â chymhorth a chynnaliaeth—degymu y mintys, ac esgeuluso barn, trugaredd, ffydd—boddloni gyda golchi y tŷ oddiallan, a bod o fewn yn llawn rhagrith a drygioni.

Os deuai neb at y Messïah i ofyn pa fodd yr etifeddai efe fywyd tragywyddol, yr ateb a fyddai, "Cadw y gorchymynion." Pa un bynag ai cadw'r gorchymynion fel ammod, ai fel rheol bywyd, a feddyliai—eu cadw i'r dyben o gael bywyd, neu ynte eu cadw mewn canlyniad o dderbyn bywyd, yr oedd efe yn hyn yn codi'r ddeddf; ac ni cheir bywyd heb i'r ddeddf gael yr anrhydedd dyblyg hwn; y cyntaf gan Gyfryngwr drosom, a'r ail ynom a chenym ni ein hunain. Pan y gofynid iddo, "Pa un yw y gorchymyn mawr—y gorchymyn cyntaf o'r cwbl?" hen gwestiwn ymysg yr Iuddewon, efe a syrthiai yn ebrwydd ar egwyddor y ddeddf foesol. "Câr yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac

â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl, ac â'th holl nerth. Hwn yw y cyntaf a'r gorchymyn mawr. A'r ail sydd gyffelyb iddo, Câr dy gymydog fel ti dy hun. Nid oes orchymyn arall mwy na'r rhai hyn. Ar y ddau orchymyn hyn y mae yr holl gyfraith a'r prophwydi yn sefyll." "Da, Athraw, mewn gwirionedd y dywedaist," ebe'r dyn a ofynodd y cwestiwn; y mae caru Duw, a charu'r cymydog, "yn fwy na'r holl boethoffrymau a'r aberthau." Da y dywedaist dithau, medd Iesu Grist; "nid wyt ti bell oddiwrth deyrnas Dduw;" dyna'r syniadau a'r ymarferiadau sydd i ffynu yn fy nheyrnas i. Yn ebrwydd bellach bydd diwedd bythol ar aberthu; ond cariad byth ni chwymp ymaith; saif cariad yn uchel yn fy nheyrnas yn dragywydd. Dyma fydd yn cael ei ddysgu rhag llaw: "Yn Nghrist Iesu nid all enwaediad ddim na dienwaediad, ond ffydd yn gweithio trwy gariad. Enwaediad nid yw ddim, a dienwaediad nid yw ddim, ond cadw gorchymynion Duw." O yr Athraw mawr! pe gwrandawai plant dynion ar dy lais, byddai yn nefoedd ar y ddaear; holl ddynolryw yn un frawdoliaeth ddedwydd, yn cydgaru eu Tad a charu eu gilydd; ewyllys Duw yn cael ei gwneuthur ar y ddaear megys y mae yn y nefoedd!

V. Mawrhäwyd y gyfraith, a gwnaed hi yn anrhydeddus, yn y modd mwyaf arbenig, *yn mywyd ac angeu Crist fel Cyfryngwr.*

I gadw y gyfraith ac i gadw pechadur y daeth Crist i'r byd, ac i gadw y naill mewn trefn i gadw y llall. "Ni ddaethum i dòri y gyfraith," medd efe, "ond i gyflawni. Ni ddaeth Mab y dyn i ddystrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw." Ymffrostiai Satan yn ngalanas y cwymp. Ha, ebe ei galon ddieflig, bydd deddf Duw bellach heb ufudd-dod byth, a dyn, yntau, heb ddedwyddwch byth; wele amcan penaf Duw gyda golwg ar y ddau wedi ei ddyrysu ar y ddaear. Os bydd y troseddwr yn hapus, bydd y ddeddf dan warth; ac os bydd y ddeddf mewn anrhydedd, bydd y pechadur dan felldith. Nage, fy ngelyn, medd Duw; mi fynaf godi'r ddau! Yr wyf wedi meddwl cael mwy o anrhydedd i'r ddeddf, a rhoddi mwy o ddedwyddwch i ddyn, ac felly derbyn mwy o ogoniant i'm prïodoliaethau, na phe buasai y cwymp heb ddygwydd. Pa fodd y gallwyd dwyn y naill a'r llall oddiamgylch? Caiff Paul ateb: "Canys yr hyn ni allai y ddeddf, o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd, Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun yn

nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd, fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni. Crist a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom; canys y mae yn ysgrifenedig, Melldigedig yw pob un sydd yn nghrôg ar bren; fel y delai bendith Abraham ar y cenedloedd trwy Grist Iesu, fel y derbyniem addewid yr Ysbryd trwy ffydd."

Ystyriwch waith y Cyfryngwr fel dyn. Yn ei natur lân, ei gymeriad difrycheulyd, ei ymgysegriad hollol i Dduw, a'i ufudd-dod perffaith, chwi a welwch y ddeddf wedi ymgnawdoli, neu ei phersonoli. Y neb a welodd fywyd sanctaidd Crist a welodd ddeddf sanctaidd Duw. Ei fywyd ef yw yr esboniad goreu a goleuaf arni.

Edrychwch arno yn ufuddhâu i'r gyfraith, ac yn myned dan ei melldith, yn ei Berson fel Duw-ddyn. Nid oedd efe yn wreiddiol dan y ddeddf; ond wele efe "wedi ei wneuthur" dani, ac felly yn sefyll yn lle ei throseddwyr. Ufudd-dod dyn oedd yr hyn a ofynid gan y ddeddf, ond dyma iddi ufudd-dod Duw yn natur dyn. Am einioes y crëadur a'i troseddodd yr oedd hi yn galw; ond dyma yr Hwn ni wnaeth bechod, a hwnw yn Fab Duw, yn rhoddi ei einioes i lawr, ac felly yn talu yr hyn ni chymerodd. Os oedd ei waith fel y Brenin tragywyddol yn cyhoeddi'r gyfraith yn anrhydedd arni, beth am ei waith yn dyfod dani i'w chyflawni? Os oedd ymddangos ar Sinai o dan yr holl ogoniant perthynol i ffurf Duw i roddi'r gyfraith yn fawrhâd arni, beth oedd ymddyosg o'r mawrhydi hwnw, a chymeryd arno agwedd gwas, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe angeu'r groes? Os oedd ei llefaru o ganol tân a rhyferthwy yn ei mawrhâu, beth am ei chyflawni mewn chwys, dagrau, gwaed, ing, ac angeu, a hyny ganddo ef yr Hwn a'i llefarasai? Os cafodd hi anmharch wrth i ddyn marwol amcanu myned uwchlaw iddi, beth am y parch a gafodd wrth i'r Brenin anfarwol fyned oddi tani?

Gwelwch Dduw Dad yn gwerthfawrogi'r gyfraith gymaint, fel yn hytrach nag arbed pechadur rhag uffern, a'i fabwysiadu yn etifedd nefoedd, ar draul diystyru'r ddeddf, y penderfynodd ei achub ar draul traddodi ei Fab ei hun i ddyoddef melldith y ddeddf. Ac nid oedd y Mab yn dymuno un lleihâd yn ngofynion y gyfraith, na dim cwtogiad ar ei dedfryd, pan yn myned

dani yn lle'r troseddwr. "Da genyf wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw," meddai; "a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Mynai efe ddangos i bawb, ac am byth, mai da ydoedd Duw wrth roddi'r gyfraith, ac mai da ydoedd hefyd wrth gosbi am ei throseddu. Ymdaflodd i lawr i'r dyfnder, ac yno y bu o'r golwg am ychydig enyd, er mwyn codi'r gyfraith yn dragywydd. O y gyfraith freninol, os ar Sinai y'th gyhoeddwyd, wele ar Galfaria y'th goronwyd!

Mor ogoneddus yw ufudd-dod Crist ar gyfer anufudd-dod dyn! Deddf heb ei throseddu, deddf yn gwenu, oedd gan yr Adda cyntaf i'w chyflawni; ond deddf wedi ei thòri, ac felly deddf yn gwgu, oedd gan yr ail Adda i'w boddloni. Ei hiaith wrth y cyntaf oedd, Ufuddhâ a bydd fyw! ond wrth yr ail, Ufuddhâ a bydd farw! Dan faich ysgafn y syrthiodd y dyn cyntaf Adda; eithr dan faich a fuasai yn llethu dynion ac angelion i ddystryw y safodd yr Adda diweddaf. Efe a garodd yr Arglwydd ei Dduw pan yn dyoddef dan yr amlygiadau mwyaf o'i ddigofaint, ac a garodd ddyn pryd yr oedd hwnw yn ei gasâu yn ddiachos. Nid rhyfedd yw clywed, "Trwy ufudd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn." Nid yw ein cadwedigaeth trwy Grist yn ddianrhydedd i'r ddeddf; yma achubir ni, a gogoneddir hithau. Yn dy euogrwydd, fy enaid, dôs at Iesu, a dywed, "Lleda dy aden drosof, canys fy nghyfathrachwr i ydwyt ti," a thi a wneir "yn gyfiawnder Duw ynddo ef."

VI. Mae yr Arglwydd yn mawrhâu ei gyfraith *yn ysbryd ac ymarweddiad ei saint.*

Mae y ddeddf yn gyntaf yn cydweithio â'r efengyl i ddwyn pechadur at Grist, ac y mae Crist yn ei ddwyn yn ôl at y ddeddf, i'w charu ac ufuddhâu iddi. Y mae efe yn Nghrist yn rhydd oddiwrth felldith y ddeddf, ond nid yw yn rhydd oddiwrth ei gorchymynion. Nid ydyw dani fel cyfammod bywyd, ond y mae dani fel cyfraith ei Waredwr, ac fel rheol y bywyd sydd ddyledus oddiwrtho i'r Hwn a'i rhoes. Dyfod at Grist yw dyfod i'r cysegr lle mae'r gyfraith yn ei bri mwyaf. Yn y fan lle yr ymddengys yr Archoffeiriad y mae'r llechau yn gyfan, o dan drugareddfa a daenellwyd â gwaed. Os yw'r pechadur yn cael maddeuant o'i droseddiadau o honi, nid meddalwch y llywodraeth yw hyny, eithr maddeuant mewn iawn. Os ydyw yn cael ei gyf-

iawnhâu trwy ras, gras trwy brynedigaeth ydyw, a gras sydd yn arwain yr enaid i gadw'r gyfraith.

Cariad yw egwyddor gwir ufudd-dod. Rhwymyn perffeithrwydd, a diwedd y gorchymyn, yw cariad o galon bur. "Cyflawnder y gyfraith yw cariad." Ac y mae ffydd Crist yn cynnyrchu y cariad hwn yn y galon; ac fe â'r cariad dan wraidd pob trosedd o'r gyfraith. Pa fodd y gall y dyn sydd yn caru Duw halogi'r sabbath? Pa fod y gall yr hwn sydd yn caru ei gymydog fel ef ei hun ddwyn camdystiolaeth yn ei erbyn? Mae yr amlygiadau o gariad Duw yn Nghrist yn peri i'r saint ei garu ef yn ol; ac am eu bod yn ei garu, y maent yn cadw ei orchymynion. Nid i ochel uffern, nac i ennill nefoedd, y maent hwy yn ufuddhâu i'r Arglwydd eu Duw. Na, y maent eisoes yn Nghrist yn ddïogel rhag uffern, ac yn meddu hawl i'r nefoedd. Paham ynte y maent yn ufuddhâu? Cariad Crist sydd yn eu cymhell; diolchgarwch i Dduw sydd yn eu cynhyrfu; hyfrydwch eu calon yw rhodio yn ffordd y gorchymynion. Paham y mae'r dyn sydd wedi casglu cyfoeth lawer—wedi gwneyd ei ffortun, fel y dywedir, eto yn boregodi, yn myned yn hwyr i gysgu, yn bwyta bara gofidiau, yn llawn pryder ac ymdrech? Am ei fod yn caru arian. Mae'r credadyn wedi gwneyd ei ffortun, nid trwy ei lafur, ond trwy ei brïodas âg Etifedd pob peth; eto nid oes neb yn ddyfalach nag efe ar lwybr ufudd-dod. Pwy mor ofalus âg ef i attal ei dafod, i ffrwyno ei nwydau, i gadw pob iot a thipyn o'r gyfraith? Os yw efe yn ddïogel rhag melldith y ddeddf, ac yn gallu edrych yn dawel ar angeu a thragywyddoldeb, paham y rhaid iddo ofalu cymaint am y modd yr ymarwedda? Y mae diolchgarwch, pe na byddai am ddim arall, yn ei rwymo i gadw gorchymynion ei Dad a'i Brynwr. Yn ngolwg y cariad tragywyddol, y cnawdoliad, angeu'r groes, ei holl ffrwythau yn ei brofiad, a'i obaith gogoniant, efe a ddywed, "Beth a dalaf i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i mi?" ac y mae yn clywed ei Dduw yn ateb, Na phecha mwyach; rhodia yn ol y rheol hon. Beth ydyw hyn? Duw yn mawrhâu ei gyfraith yn ei saint; ac wrth hyny y mae yn eu mawrhâu hwythau, o herwydd y mae eu sancteiddrwydd a'u dedwyddwch yn gynnwysedig mewn cydffurfiad â'r gyfraith.

VII. Mae yr Arglwydd yn mawrhâu y gyfraith *yn ei waith yn gwobrwyo ufudd-dod ei bobl iddi.*

Mae'r saint, fel yr ydym wedi nodi, yn ufuddhâu o gariad, heb ddysgwyl dim gwobr; ac yn eu byw y medrant weled eu bod wedi gwneuthur dim y gall gras gael lle i'w gwobrwyo. Ond y mae yn rhaid i'r Duw mawr gael dangos ei gymeradwyaeth o'u parch i'w ddeddf. Os pechant, y mae yn eu ceryddu; yn ymweled â'u camwedd â gwialen, ac â'u hanwiredd â ffrewyllau; ac, o'r ochr arall, y mae yn cyfarfod yn foddus â hwy ar lwybrau ufudd-dod, ac yn llewyrchu ei wyneb arnynt. "Canys yr Arglwydd cyfiawn a gâr gyfiawnder; ei wyneb a edrych ar yr uniawn." "Arglwydd," medd Judas, nid yr Iscariot, wrth yr Iesu, "pa beth yw yr achos yr wyt ar fedr dy eglurhâu dy hun i ni, ac nid i'r byd?" Ystyriwch yr ateb: "Os câr neb fi, efe a geidw fy ngair i; a'm Tad a'i câr yntau; a nyni a ddeuwn ato, ac a wnawn ein trigfa gydag ef." Dyna y rheswm paham y mae'r Cyfryngwr gogoneddus yn ei eglurhâu ei hun yn gyfeillgar, a'r Tad hefyd, i rywrai penodol: am fod y rhai hyny yn ei garu ef, ac yn dangos cywirdeb a gwresogrwydd eu cariad trwy gadw ei orchymynion. "Aroswch yn fy nghariad i," medd yr Iesu wrth ei ddysgyblion. Aros yn dy gariad, Iesu mawr! pwy na wnai hyny? y fath wŷnfyd a fydd profi dy gariad bob dydd! Ië, ond cofiwch,—"Os cedwch fy ngorchymynion, chwi a aroswch yn fy nghariad." Nid erys neb yn fy nghariad ond sydd yn cadw fy ngorchymynion: ac ni chaiff neb gadw fy ngorchymynion heb fwynhâu y wobr oruchel o aros yn fy nghariad; ac yn mynwes gynhes fy nghariad y cedwir hwy yn ddiogel rhag pob perygl.

Mae yn wir nad oes dim haeddiant yn ein gweithredoedd rhagoraf ni; ein dyledswydd yw cadw gorchymynion cyfiawn a daionus Duw. "Gwedi i chwi wneuthur y cwbl oll a orchymynwyd i chwi, dywedwch, Gweision anfuddiol ydym; oblegid yr hyn a ddylasem ei wneuthur a wnaethom." Ac os yw ein hewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac os ceir ni yn gweithredu ufudd-dod iddi, rhaid cofio mai "Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynom ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef." Ond y mae'r Goruchaf yn mawrhâu ei gyfraith gymaint, ac y mae ufudd-dod iddi mor hoff ganddo, fel nas gall adael ei saint, plant ufudd-dod, heb eu gwobrwyo. "Dïau fod ffrwyth i'r cyfiawn." "I'r neb a heuo gyfiawnder y bydd gwobr sicr." "O'u cadw," sef cadw y gorchymynion, "y mae gwobr lawer." Nid yw Duw, ni a wyddom, yn

cyfryngu yn wyrthiol i arbed ei wasanaethwyr ffyddlawn rhag profedigaethau a chystuddiau y byd hwn; ond y mae yn estyn iddynt dangnefedd a dyddanwch sydd yn gorbwyso pob adfyd; ac y mae hyd yn nôd eu trallodion a'u siomedigaethau hwy yn cael eu troi yn fendithion iddynt. "Ni a wyddom fod pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw." Hawdd yw canfod fod Duw mewn llawer modd yn anrhydeddu y rhai a anrhydeddant ei gyfraith.

Ac yn y farn a ddaw, gwobrwyir hwy yn gyflawn. Ni chydnabyddir yn y dydd diweddaf y gwahaniaethau y mae'r byd yn talu sylw mawr iddynt. Cyfraith Duw, a character dyn yn ei gwyneb, fydd y cwbl o bwys yno. A oedd y galon a'r fuchedd yn gydffurf â'r gyfraith? dyna fydd cwestiwn y farn. Ceir yno "ddadguddiad cyfiawn farn Duw, yr hwn a dâl i bob dyn yn ol ei weithredoedd, sef i'r rhai trwy barhâu yn gwneuthur da, a geisiant ogoniant ac anrhydedd ac anllygredigaeth, bywyd tragywyddol; eithr i'r rhai sydd gynhenus, ac anufudd i'r gwirionedd, eithr yn ufudd i anghyfiawnder, y bydd llid a digofaint."

Gan fod Duw fel hyn o'r dechreu i'r diwedd yn mawrhâu y gyfraith, pa beth a ddaw o'i dirmygwyr? "Edrychwch, O ddirmygwyr, a rhyfeddwch, a diflenwch:" y mae Sinai a Chalfaria yn cyddystio mai peth ofnadwy yw melldith y ddeddf. Gallwn ddywedyd y bydd pob peth arswydlawn ag oedd yn allanol ar Sinai wedi cydgyfarfod yn dumewnol yn nghydwybod y pechadur pan ddêl Duw yn ei ddeddf i'w ddirnadaeth. Beth a fydd bod yr euog a'i gydwybod gyda Duw a'i ddeddf, ar fynydd noeth anghyfannedd, heb ddim lle i ymguddio; neb i'w weled, dim i'w glywed, ond Duw a'r enaid? Yna y bydd y syniad o sancteiddrwydd a chyfiawnder Duw fel tân yn y gydwybod, ac y teimlir fod y dydd y derbynia trosedd ac anufudd-dod gyfiawn daledigaeth wedi dyfod. Os edrych y truan euog am ymwared, ni bydd o'i amgylch ond tywyllwch dudew. Dacw efe, fe allai, yn ceisio gweddïo; ond y mae yn rhy dywyll iddo weled Gwrandäwr gweddi. Y mae yn gwaeddi am drugaredd; ond y mae tywyllwch rhyngddo â gorsedd y drugareddfa. Ac os cais edrych ymlaen tua thragywyddoldeb, tywyllwch eithaf sydd yno. O y dymhestl o ofnau a dychrynfeydd y mae'r pechadur bellach ynddi! A oes dim modd dïanc? Na, y mae wedi taro ei droed wrth Sinai, fynydd tywyll; ac ni chlyw

ond llais yr udgorn yn hîr, ac yn cryfhâu fwyfwy, yn ei alw o flaen Duw, nid i wrando am y tro cyntaf gyhoeddiad y gyfraith, ond i dderbyn dedfryd y gyfraith arno fel ei throseddwr. Bechadur, ai nid yw yn dda genyt glywed, "Wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth," ac nid dydd taledigaeth? Cyn i'r ddeddf esgor, cyn dyfod arnat ddydd soriant yr Arglwydd, ffô at Iesu, Cyfryngwr y testament newydd; "canys Crist yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un a'r y sydd yn credu."

# PREGETH XXVI.

## Y GELYN AC YSBRYD YR ARGLWYDD.

ESAIAH lix. 19: "Pan ddelo y gelyn i mewn fel afon, Ysbryd yr Arglwydd a'i hymlid ef ymaith."

YN y bennod hon, ni a gawn bechod yn ymddangos yn dra phechadurus, a gras yn rhagor-amlhâu yn dra gogoneddus; y naill yn ffynnon holl aflwydd dynion, a'r llall yn ffynnon eu hymwared a'u hiachawdwriaeth. Dengys y prophwyd fod yr achos o ddarostyngiad a thrallodau y genedl Iuddewig, mewn canlyniad i bellhâd yr Arglwydd oddiwrthynt, nid yn yr Arglwydd, ond yn y bobl eu hunain. "Wele, ni fyrhäwyd llaw yr Arglwydd fel nad allo achub, ac ni thrymhäodd ei glust ef fel nad allo glywed; eithr eich anwireddau chwi a ysgarodd rhyngoch chwi â'ch Duw, a'ch pechodau a guddiasant ei wyneb oddiwrthych fel na chlywo." A rhoddir yma restr hirfaith a thywyll o'u llygredigaethau, a darlunir eu cyfyngderau fel ffrwyth naturiol eu camweddau yn erbyn yr Arglwydd. Yr oeddynt wedi eu siomi yn eu dysgwyliadau, ac yn rhuo a griddfan yn eu hing, heb neb i'w hamddiffyn. Ond yr oedd gan Dduw ei wir Israel yn nghanol yr Israel mewn enw; ac ni a'i cawn ef yn dyfod allan ar eu rhan, ac yn dinystrio eu gelynion.

Ond amlwg yw fod y bennod yn edrych ymhellach na llygredigaethau, cyfyngderau, a gwaredigaethau Israel. Mae'r desgrifiad a roddir yma o bechodau yr Iuddewon yn cael ei ddyfynu gan

Paul i brofi fod pawb, Iuddewon a Groegwyr, dan bechod (adn. 7, 8, a Rhuf. iii. 15—17); ac y mae yr addewid sydd yma am y Gwaredydd i Sïon yn cael ei chymhwyso gan yr apostol i ddangos gwaredigaeth ddyfodol yr Israel o garchar anghrediniaeth (adn. 20, a Rhuf. xi. 26). A diweddir y bennod trwy ddangos y byddai i hen oruchwyliaeth amserol yr Iuddewon gael ei dilyn gan oruchwyliaeth arosol a pharhäus yr efengyl, goruchwyliaeth gair ac Ysbryd yr Arglwydd. Felly y mae yr holl bennod yn brophwydoliaeth am iachawdwriaeth yr eglwys trwy Grist, gan ddangos y byddai i'r Arglwydd, fel ei Duw, ddwyn holl brïodoliaethau ei natur i weithrediad ymhob amgylchiad er dinystr ei gelynion a'i gwaredigaeth hithau, a pheri i'r cwbl dueddu i'w ogoniant ef a llwyddiant ei deyrnas. "Felly," medd y geiriau uniongyrchol o flaen y testun, "yr ofnant enw yr Arglwydd o'r gorllewin, a'i ogoniant ef o godiad haul." Dyna fel y bu yn arddelwad Duw o'r efengyl mewn canlyniad i ddinystr Jerusalem, ac wedi i hyny i ddinystr Rhufain Baganaidd: ofni enw yr Arglwydd, planu eglwysi, sefydlu yr addoliad Cristionogol, a bwrw ymaith yr eilunod, yn y dwyrain a'r gorllewin. Ond wrth weled y fath lwyddiant, dyma'r gelyn yn deffro, ac yn dyfod i mewn fel afon; felly mewn erlidigaethau, mewn didduwiaeth ac anffyddiaeth, ac mewn gaugrefyddau, ac yn enwedig yn nghodiad a chynnydd Mahometaniaeth a Phabyddiaeth. Eithr wele'r nefoedd yn gryfach na daear ac uffern: "Ysbryd yr Arglwydd a'i hymlid ef ymaith."

Edrychwn, mewn modd athrawiaethol a chymhwysiadol, ar y gelyn, yr ymosodiad, a'r oruchafiaeth.

I. Y Gelyn.

Ni bu achos yr Arglwydd mewn un oes o'r byd heb iddo elynion lawer; ond yr ydym yn cael un gelyn neillduol yn gweithredu yn erbyn Duw a'i bobl ymhob oes, er pan osodwyd dyn ar y ddaear, sef Diafol a Satan; tywysog y fyddin elynol yn erbyn yr Arglwydd a'i Grist ef. Dyma "y gelyn" yn yr ystyr mwyaf prïodol, i'r hwn nad yw yr holl elynion eraill ond gwasanaethwyr a goruchwylwyr yn gweithredu mewn darostyngiad ac ufudd-dod iddo; ac ato ef gan hyny y cymhwyswn yr ymadrodd yn y testun: "y gelyn."

Ysbryd crëuedig nerthol ac ofnadwy yw y diafol. Sonir yn yr Ysgrythyrau am ei gyflwr cyntaf, am ei gwymp, ac am ei ddrwg yn

ganlynol. Nid yw hanes ei gyflwr dechreuol, a'i syrthiad, ond byr, eithr y mae yn dra chynnwysfawr. Wrth nodi ei gwymp, dangosir mewn tri gair ogoniant ei sefyllfa wreiddiol. Yr oedd efe ar y dechreu "*yn y gwirionedd*" (Ioan viii. 44): yn uniawn, yn sanctaidd, ar ddelw Duw; y gwirionedd yn anian ei holl gynneddfau, ac yn rheol ei holl ymddygiad. Yr oedd "*ei ddechreuad*" (Judas 6), gair yn arwyddo ei sefyllfa a'i swydd, yn oruchel a thywysogaidd. Nid gwibiad a chrwydriad ydoedd, ond yr oedd ganddo "*ei drigfa*," gyda Duw a chymdeithion gogoneddus; a gogoneddus oedd ei wêdd a'i waith. Ond ni safodd efe yn y gwirionedd, ni chadwodd ei ddechreuad, eithr efe a adawodd ei drigfa ei hun. Yr oedd ei gwymp yn gwbl o hono ei hun; rhoisai ei Grëawdwr iddo nerth i sefyll; syrthiodd heb un rhuthr nac ystorm arno, a'r a wyddom ni, heb ei demtio na'i gymhell; ymchwyddodd, a syrthiodd i'w farnedigaeth. Bellach, "nid oes gwirionedd ynddo ef." Trôdd ei wybodaeth yn ddichell, ei sancteiddrwydd yn halogedigaeth, a'i gariad yn elyniaeth. Desgrifir ef fel yr ysbryd mawr syrthiedig dan amrywiol enwau: yr hen sarph, y ddraig fawr, llew rhuadwy, tad y celwydd, cyhuddwr y brodyr, tywysog a duw y byd hwn. Lleferir am dano fel yn ddigymhar mewn anwiredd a phechod. Darlunir ef "yn pechu" fel pe na bae neb wedi pechu ond efe; yn nghanol miloedd o rai drwg, edrychir arno fel "yr un drwg;" a gelwir ef "y gelyn," am nad oes neb i'w gymharu âg ef yn ei elyniaeth. Megys y gelwir Duw y Cyfiawn, y Sanctaidd, a'r Ofnadwy, am nad oes neb tebyg iddo, felly y gelwir y diafol y gelyn, a'r gelyn-ddyn, am ei fod yn nodedig fel y cyfryw. Y mae yn elyn Duw â dynion; gelyn yr Adda cyntaf a'r ail Adda a'u teuluoedd; gelyn cyrff ac eneidiau dynion; gelyn pob cyfiawnder trwy yr holl grëadigaeth.

1. *Y gelyn cyntaf ydyw, a blaenor yr holl elynion.*

Edrychir ar ddechreuwr ymrafael fel y gwaethaf yn y gynhen. "Y mae diafol yn pechu o'r dechreuad," ac yn ddechreuwr pechod. Pechodd o flaen dyn; ac efe oedd yn blaenori angelion pechadurus yn eu gwrthryfel. Fel y mae dychymygwr ac addysgwr unrhyw gelfyddyd yn dad iddi, ac i'r rhai a'i medrant (Gen. iv. 20, 21), felly y mae'r diafol yn dad pechod a phechaduriaid; efe yw awdwr eu hystâd, tad eu hegwyddor; yn ei feddiant y maent, a dilyn ei esiampl a wnânt. Efe oedd y cyntaf a dòrodd ddeddf ei

grëadigaeth; y cyntaf a ymaflodd yn y cleddyf i ymladd â'i Luniwr. Dychymygwyr drygioni, a'r rhai a hudant eraill i bechod, yw y rhai tebycaf iddo.

Y mae ambell i ddysgybl yn dyfod yn uwch mewn dysg na'i athraw, ac ambell i weithiwr wedi dyfod yn fwy medrus yn ei grefft na'i feistr; ond y mae'r diafol yn dal ar y blaen mewn drwg. Pa ffieidd-dra bynag a gafwyd ynddo, medr ddwyn o'i galon ffieidd-dra mwy. Hwnw o bawb yw y gelyn mewn teyrnas, yr hwn y dechreuodd yr elyniaeth ynddo, a'i hennynodd mewn eraill, ac sydd yn blaenori y gwrthryfelwyr pan ymgasglont. Bydd y brenin a'i lu yn edrych ar hwnw megys eu hunig elyn yn nghanol y dorf elynol, ac am ei fywyd ef yr amcenir yn benaf. "Y gwrthwynebwr a'r gelyn yw yr Haman ddrygionus hwn," ebe Esther. Onid yw ysgrifenyddion y brenin wedi ysgrifenu llythyrau, yn enw y brenin, am ddyfetha yr Iuddewon, cenedl Esther? ac onid yw y rhedegwyr wedi cario'r llythyrau i'r holl daleithiau? ac onid yw duciaid, tywysogion, a phob pobl pob talaeth yn cael eu galw at y gwaith gwaedlyd, ac yn barod iddo? a phaham, ynte, yr enwir Haman fel yr unig elyn? Am mai efe a ddechreuodd, a luniodd, ac oedd yn blaenori yn, y drwg. Y gwrthwynebwr a'r gelyn yn llywodraeth Duw yw Satan ddrygionus. Efe a ennynodd y gwrthryfel yn nef y nefoedd; a phan oedd holl grëaduriaid y ddaear mewn ufudd-dod i ddyn, a dyn mewn ufudd-dod i Dduw, a'r cwbl mewn cydfod ac undeb, wele Satan yn gwneuthur y rhwyg dychrynllyd. Efe a demtiodd ddyn, a chydsyniodd dyn â'r demtasiwn; a bellach dyma lu'r ddaear, a llawer o'r llu nefol, yn ei feddiant. Lladratäodd eu serch oddiwrth eu Brenin tragywyddol, a gosododd hwy dan arfau yn ei erbyn; ac efe bellach yw blaenor y *mob* gwrthryfelgar. Penaeth y cythreuliaid ydyw, a thywysog y byd hwn. Y mae efe yn yr awyr, dybygid, fel tywysog y llu, mewn lle manteisiol i arolygu ei fyddin (Eph. ii. 2); i gynhyrfu y naill yn erbyn y llall, a phawb yn erbyn Duw. Ymchwilia, O ddyn, i bwy yr wyt ti yn ufuddhâu. Ai ymhyfrydu yr ydwyt yn nghyfraith Duw, neu ynte ai trachwantau'r diafol a fyni di eu gwneuthur?

2. *Gelyn maleisus, trwyadl, a pharhäus ydyw.*

Gelyniaeth yw ffynnonell y cwbl a wneir ganddo. Nid fel y mae Duw yn gwneuthur wrth gosbi pechaduriaid y mae efe yn

gweithredu. Gwna'r Goruchaf hyny, nid am ei fod yn casâu eu dedwyddwch, ond er mwyn amddiffyn cyfiawnder ei natur, ei ddeddf, a'i lywodraeth. "Nid o'i fodd y blina efe, nac y cystuddia blant dynion;" nid yw yn ymhoffi yn marwolaeth yr annuwiol; ei ddyeithrwaith, a'i waith olaf, yw gweini cosbedigaeth. Ond yn unig oddiar wir elyniaeth at Dduw a dyn a phob daioni y mae'r diafol yn hau a thaenu drwg a thrueni. Y mae megys ci cynddeiriog yn nghanol deadell o ddefaid, yn lladd er mwyn lladd, ac nid gyda golwg ar fwynhâu ysglyfaeth.

Ac nid fel y mae dynion yn pechu y pecha efe. Y mae dynion fel pechaduriaid yn gwneuthur drwg yn erbyn Duw, yn erbyn eu gilydd, ac yn eu herbyn eu hunain; ond nid ydynt hwy yn y fuchedd hon yn gweithrédu oddiar elyniaeth noeth a digymysg. Mae'r temtiwr yn cuddio'r perygl oddiwrthynt, ac yn dangos y mwyniant iddynt. Gweled ffrwyth y pren gwaharddedig yn dda yn fwyd, yn dêg mewn golwg, ac yn ddymunol i beri deall, yr oedd Efa; ac am hyny hi a gymerth, ac a fwytäodd, ac a roddes hefyd i Adda. Gweled ymysg yr yspail a ddiofrydwyd gan Dduw fantell Babilonig dêg, siclau o arian, a llafn aur, a ddarfu Achan, a'u chwennych a'u cymeryd. Trachwantu gwinllan Naboth i fod yn ardd lysiau yn ymyl ei balas, a wnaeth Ahab, a pheri lladd Naboth er mwyn iddo ef ei meddiannu. Hudoliaethau eu chwantau sydd yn temtio'r meddwyn, y godinebwr, a'r cybydd. Ond yn ngolwg drwg pechod, a chan grynu rhag ei gosb, y mae'r diafol yn pechu. Nid yw efe yn profi dim mwyniant mewn pechod, a gŵyr na chaiff ddim, ac mai chwanegu ei drueni a thrymhâu ei gosb y mae wrth bechu, ac wrth demtio i bechod. Eto hyny a wna oddiar falais diorphwys. Gelyniaeth at Dduw a dyn sydd yn ei yru yn ddibaid i wneuthur ac i gymhell drygioni.

Gelyn anghymmodadwy ydyw. Mae rhai a fu yn elynion i Dduw mewn meddwl trwy weithredoedd drwg, ac yn wrthwynebus i'w bobl, wedi eu cymmodi â Duw ac â'i saint; ond ni chyll y diafol ei elyniaeth byth. Megys y bu Saul i Dafydd, felly y mae yntau. Bu gan Dafydd amryw elynion o dro i dro; ond Saul oedd ei elyn mwyaf dygn a pharhäus. Yr oedd efe yn ei erlid ymhob man, ac yn arfer pob dyfais i geisio ei ladd; a rhagddo ef yr ofnai Dafydd fwyaf. "Fy ngelyn cadarn," meddai am dano (Psalm xviii. 17). Felly gelyn byth yw y diafol. Mae yn gweith-

redu yn wastadol mewn gelyniaeth at Dduw; "yn pechu o'r dechreuad." Nid wedi pechu yn y dechreu, ac yn pechu yr awr hon, ond o'r dechreuad hyd yn awr yn pechu yn ddidòr. Attelir dynion i bechu ar amserau gan afiechyd, gan gydwybod, gan ofnau, a chan ryw fath o alar megys yr eiddo Ahab (1 Bren. xxi. 27—29). Ond nid oes dim a ettyl y diafol i wneuthur pechod. Ac fe fyn i eraill bechu hefyd. Pan y gwelodd nas gallai efe na'i angelion gyflawni pob pechod, efe a hudodd ysbrydion mewn cnawd i'w gynnorthwyo. Medrai fod ei hun yn falch, yn genfigenllyd, yn ddialgar; ond yr oedd eisieu cnawd i feddwi, i wneuthur aflendid, i orthrymu, ac i dywallt gwaed. Nid oes seibiant ar ei elyniaeth at ddynion. Tarawodd fel nad oedd eisieu ail daro yn Eden. Ennillodd ddynolryw oddiwrth Dduw i'w feddiant ei hun, ac o dan awdurdod angeu. Eto ni chafodd ddigon ar eu cnawd; eithr y mae yn tramwy ar hyd y ddaear, ac yn ymrodio ynddi, trwy yr holl oesoedd, i'w harwain yn gaeth mewn pechodau a gofidiau. Enaid, os na roddaist dy hun yn eiddo i'r Arglwydd, yr wyt yn meddiant y gelyn creulonaf hwn, yn ei fagl, yn cael dy ddal ganddo wrth ei ewyllys. Pwy na ddymunai allu canu, yn anthem diolchgarwch i'r Tad, "Yr Hwn a'n gwaredodd ni allan o feddiant y tywyllwch, ac a'n symudodd i deyrnas ei anwyl Fab!"

3. *Efe yw y gelyn mwyaf ei orchestion echryslawn.*

Chwith oedd gan Jacob feddwl am greulondeb Simeon a Lefi. "Simeon a Lefi sydd frodyr," meddai; "offer creulondeb sydd yn eu hanneddau; na ddeled fy enaid i'w cyfrinach hwynt." Mawr fel y poenid y Philistiaid gan anrheithiau Samson. "Ein gelyn," meddent am dano, wedi ei gael i'r ddalfa, "yr hwn oedd yn anrheithio ein gwlad ni, yr hwn a laddodd lawer o honom ni." Ennillodd Dafydd yspail fawr yn mrwydr Rabbah meibion Ammon. "Efe a gymerth goron eu brenin hwynt oddi am ei ben; a'i phwys hi oedd dalent o aur, gyda'r maen gwerthfawr; ac efe a ddŷg ymaith o'r ddinas anrhaith fawr iawn." Ond ofer crybwyll am ryfelwyr ac anrheithwyr gelynol yn ymyl y gelyn diafol; efe a ragorodd arnynt oll.

Wedi ymladd y frwydr yn Eden, efe a ddygodd yr yspail fwyaf. Dacw efe yn ymddangos yn dwyn ymaith gyfoeth Duw, ac mewn gwirionedd yn yspeilio dyn o'i holl eiddo gwerthfawr. Cyfoeth Duw oddiwrth y grëadigaeth oedd ei ogoniant, a chwbl

dyn oedd ei fywyd; ac wele y ddau beth wedi eu cysylltu ynghyd a'u dodi i ddibynu ar ufudd-dod dyn. Trwy hyny yr oedd Duw i gael gogoniant mynegol ei waith, a'r crëadur i barhâu a chynnyddu mewn bywyd. Nis gallasai dim gogoniant gael ei dalu i Dduw o'r ddaear heb fod ynddi grëadur rhesymol yn ei weled a'i addoli. Yr oedd y grëadigaeth yn dadgan gogoniant Duw i ddyn, a'r dyn yn ei ddadgan drachefn i Dduw; a dyna fel hyn Dduw yn derbyn addoliad, a dyn yn mwynhâu dedwyddwch. Nid oedd dim casach gan y diafol na'r ddau beth hyn: y gogoniant Dwyfol, a dedwyddwch dynol; ac efe a ergydiodd at y ddau, ac a'u dygodd ymaith yn yspail yr un dydd. Beth sydd yma i mi bellach? medd Duw am y ddaear. Gwir fod yr holl grëadigaeth yn dadgan fy ngogoniant; ond nid oes neb mwyach a all weled na chlywed hyny. Yn nghanol y rhyfeddodau, wele ddyn yn ddall; ac yn nghyrhaedd y lleferydd, wele efe yn fyddar; ni chymer ei arwain ataf fi gan ddim a wnaethum. Dyma ei holl ddedwyddwch wedi ei golli trwy'r felldith a ddygodd arno ei hun; gan farw efe a fydd farw. O ba le y daeth y fath drychineb? "Y gelyn-ddyn a wnaeth hyn."

Echryslawn eto yw gweithredoedd y diafol. Y mae fel rhyw bla dyeithr; ni chlywodd y byd ddim am dano nes iddo ddechreu lladd; ac nid oes diwedd ar ei laddiadau. Y mae weithiau yn llew neu ddraig, yn llarpio trwy erlidigaethau, ac weithiau yn sarph, yn gwenwyno trwy gyfeiliornadau; weithiau yn gweithio gyda breninoedd a llywiawdwyr, ac yna gydag athrawon a phregethwyr; yn awr yn dylanwadu gyda'r cleddyf, ac yna gyda'r pin ysgrifenu. I'r anghrefyddol y mae yn ddigrefydd, ac i grefyddwyr y mae megys yn grefyddol; mae yn ymwneuthur yn bob peth i bawb fel y gallo yn hollol ddinystrio llawer. Mynasai rwystro ein Pen mawr i weithio iachawdwriaeth; efe a geisia luddio yr efengyl rhag myned at ddynion, ac a geidw ddynion rhag myned i'w sŵn; ac y mae yn arfer pob ystryw i'w chadw rhag myned i galonau, a'i chipio o feddyliau y rhai a'i gwrandawant.

A thuag at gyflawni ei orchestion creulawn, cofiwn ei fod, nid yn elyn unigol, ond â chanddo luoedd dirifedi yn ufudd i'w orchymyn, ac yntau, fel medrus flaenor câd, yn eu trefnu i ryfela yn erbyn Duw a phob peth da a dedwydd. Yn wir, wrth feddwl am y fath elyn galluog, buaswn wedi anobeithio er ys talm oni bae

fod genyf Waredwr Hollalluog i droi ato. O Dduw y tangnefedd, tyred, a sathra Satan dan ein traed ni ar frys!

II. Yr Ymosodiad: y gelyn yn dyfod i mewn fel afon.

Dyma a gais y diafol ymhob tramwyad a rhodiad o'r eiddo: dyfod i mewn. Dacw efe yn dyfod i mewn i'r byd yn Eden—yn dyfod i mewn i deyrnas, wrth demtio Dafydd y brenin—yn dyfod i mewn i deulu, pan y cafodd yr hyn oll o eiddo Job i'w law. Mae yn dyfod i mewn i'r eglwys—i mewn i'r enaid, er mwyn cyrhaedd ei amcanion uffernol. Fe gura wrth bob porth er mwyn dyfod i mewn; fel y pysgotwr yn arfer pob pluen yn ol cymhwysder i ddal, y mae yn defnyddio pob temtasiwn yn ol agwedd y byd, yr eglwys, yr oes, y meddwl, yr oedran, a'r amgylchiadau. Megys y mae Crist yn sefyll wrth y drws ac yn curo, â'i amcan yn ei holl orchwyliaethau i ddyfod i mewn, felly hefyd y mae'r gelyn; ac felly yr annogir ni i wylio rhagddo, a pheidio rhoddi lle iddo. "Byddwch sobr, gwyliwch; oblegid y mae eich gwrthwynebwr diafol megys llew rhuadwy yn rhodio oddiamgylch, gan geisio y neb a allo lyncu. Na roddwch le i ddiafol." Ni lesâ Crist ddim i ni heb iddo gael dyfod i mewn atom; ac ni niweidia Satan mohonom heb iddo yntau ddyfod i mewn. Och y dinystr a wnaeth ar y byd wrth ddyfod i mewn trwy anufudd-dod Eden—y boenedigaeth a ddygai i gyrff dynion wrth fyned iddynt yn amserau'r Messïah—a'r golledigaeth y prysurodd efe apostol iddi trwy fyned i mewn iddo ef! Ac nid yw hyd yn nôd gwir saint yr Arglwydd yn ddïangol rhag ei ruthrgyrchoedd. Daw i mewn fel lleidr i yspeilio, neu fel dwfr i'r llong i'w suddo; ac wedi dyfod i mewn, efe a geidw'r neuadd hyd nes y delo un cryfach nag ef arno a'i orchfygu.

Yma cawn yr ymosodiad yn ymddangos yn llwyddiannus: "Pan ddelo y gelyn i mewn fel afon." Ymholwn pa fath yw yr amserau ymha rai y byddo fel hyn.

1. Gellir dywedyd fod y gelyn yn dyfod i mewn fel afon *pan y mae pechodau rhyfygus yn codi eu penau yn wyneb goleuni ac awdurdod yr efengyl.*

Mae gan yr Arglwydd lawer ffordd i attal Satan a phechod i ddyfod dros eu terfynau. Y mae cydwybod a chyfraith yn attalfeydd cryfion. Ond yr attalfa gryfaf, a'r un olaf, yw yr efengyl. Nôd yr efengyl ydyw, nid cyfyngu ar drigfa y cryfarfog, ond ei

droi o'r neuadd; nid cròni a dyfrgloddio, ond sychu i fyny y ffrydiau gwenwynig. Ar y groes gorchfygwyd y diafol gan Grist; a thrwy yr efengyl y mae yn ei ddifeddiannu o'i diriogaeth. Dyma'r gadwen sydd i'w rwymo, a'r dysgleirdeb sydd i'w ddyfetha. A phan y gallo weithio ymlaen a thòri i mewn er holl oleu a nerth efengyl, gellir ei ddysgwyl fel afon. Amseroedd enbyd i deyrnas y diafol yw tymmorau diwygiad neu adfywiad efengyl-aidd; ac y mae hyn yn peri fod adeg diwedd diwygiad yn enbyd i'r eglwys. Os oedd dynion wedi gwrthod goleuni natur yn cael eu rhoddi i fyny i lywodraeth y pechodau ffieiddiaf a mwyaf rhyfygus (Rhuf. i. 21—32), beth am y rhai sydd yn tòri trwy awdurdod efengyl? nid oes bechaduriaid tebyg i'r rhai hyn. Afresymol yw meddwl y gall goleu lleuad attal y rhai sydd yn dirmygu goleuni haul. Edrychwch ar y genedl Iuddewig wedi gwrthod yr unig Fessïah; a chymerwch olwg ar y gwledydd lle bu efengyl bur, ond nad ydyw yno mwyach; yno cewch weled barnau ysbrydol yn teyrnasu: tywyllwch deall, calongaledwch, cydwybod seriedig, y cyfeiliornadau mwyaf dychrynllyd, didduwiaeth, pechu digywilydd; Duw sydd wedi gadael y rhai a ymadawsant âg efengyl ei ras. Dynion yn ymarfer âg ordinhadau yr efengyl, ac eto yn byw yn eu pechodau,—nid oes neb yn rhyngu bodd y diafol yn fwy na'r rhai hyn. Yn awr gyda'r Bibl, ac yna gyda'r cardiau; heddyw wrth fwrdd yr Arglwydd, ac yfory wrth ford cythreuliaid; y nos hon yn nhŷ gweddi, a'r nos arall yn nhŷ'r gyfeddach,—pwy yn galetach na'r cyfryw rai, a phwy yn gymhwys-ach i uffern? Bechadur, llefa am i Dduw dy attal rhag pechodau rhyfygus, canys crafangau'r diafol yw eu hudoliaethau hwy.

2. *Pan y mae tuedd cyffredinol yn meddyliau dynion i ymadael â gwirionedd Duw.*

Y Cywir a'r Ffyddlawn, a'r Gwirionedd ei hunan, yw Crist. Yn ngherbyd gwirionedd y mae efe yn marchog yn llwyddiannus. Barn a gwirionedd a esyd efe i fyny yn y byd. Rhydd wirionedd yn y meddwl yn lle cyfeiliornadau, yn y galon yn lle dychymyg-ion, ac yn y fuchedd yn lle twyll a chelwydd. Ond tad y celwydd yw Satan; nid oes dim gwirionedd yn ei holl athrawiaeth ef. A chyda ei athrawiaeth gelwyddog y mae yn myned allan i dwyllo yr holl fyd. "Ni byddwch feirw ddim," oedd ei haeriad yn Eden. Yn ysbryd celwyddog yr ydoedd yn ngenau prophwydi

Ahab. A phan yn methu diffodd Cristionogaeth yn Rhufain trwy ddyfroedd gwaedlyd erlidigaethau, efe a lwyddodd i'w llygru yn nhyllau lleidiog cyfeiliornadau. Tywys i bob gwirionedd y mae yr Ysbryd Glân, ond tywys o gam i gam i bob cyfeiliornad y mae yr ysbryd aflan. Pan yr oedd ar wŷr Jabes Gilead eisieu myned i gyfammod â Nahas yr Ammoniad rhag ei ofn, ei atebiad ef oedd, "Dan yr ammod hwn y cyfammodaf â chwi: i mi gael tynu pob llygad dehau i chwi." Ond myn y diafol dynu dau lygad y rhai fyddant mewn cyfammod âg ef.

Dan ddylanwad ysbryd y cyfeiliorni, y mae dynion yn gyntaf yn myned yn ddizêl dros wirionedd yr efengyl, yn rhoddi i fyny ymdrech o blaid y ffydd, yn goddef cyfeiliornadau er mwyn heddwch ac undeb, gan geisio eu perswadio eu hunain nad ydyw gwahaniaeth golygiadau ar athrawiaeth yr efengyl o nemawr bwys; ac yn y modd hwn caiff gwirionedd gwympo yn yr heol heb neb i eiriol drosto. Fel hyn o fesur ychydig ac ychydig parotöir y ffordd i gofleidio celwydd, ac i fethu dyoddef athrawiaeth iachus. Rhaid peidio crybwyll rhai cangenau o'r gwirionedd wrthynt, megys yr oedd y cenadon Jesuitaidd yn ymgadw rhag yngan yn yr India am groes Crist. Mae y gwirionedd hwn yn rhy gyffredin, y llall yn rhy ddwfn, a'r llall yn rhy noeth, a chan hyny rhaid eu gadael heibio. Os unwaith yr ymadewir oddiwrth y ffydd, rhoddir coel i ysbrydion cyfeiliornus, ïe, hyd yn nôd i athrawiaethau cythreuliaid. Os gwrthodir cariad y gwirionedd, daw amryfusedd cadarn i mewn fel y creder celwydd. Os nad archwaethir dwfr bywyd yr afon bur sy'n dyfod allan o orseddfainc Duw a'r Oen, nid rhyfedd os cymerir y dwfr a fwriodd y ddraig allan o'i safn yn ei le.

Mae yn bryd i ni chwilio a ydyw pob cangen o'r gwirionedd efengylaidd mor werthfawr genym ni âg y bu. A oes genym brofiad ysbrydol o hono? dyna â'n gwna yn gadarn drosto. Gweled ein hunain yn yr athrawiaeth am lygredigaeth dyn trwy'r cwymp â'n ceidw rhag syniad hunangyfiawn ac ysbryd deddfol; a chael rhyddhâd, glanhâd, a nerth trwy yr athrawiaeth am Grist, a'n dysg i lynu byth wrth ei ddysgeidiaeth, gan deimlo fel Pedr, "O Arglwydd, at bwy yr awn ni? genyt ti y mae geiriau bywyd tragywyddol." Mae'r efengyl fel gwaith mŵn cyfoethog; nis gadewir yr hen waith am fŵnglawdd newydd tra yn cael trysor yn

barhäus ynddo. Nis gwyddom pa fath amserau a ä drosom cyn ein marw; fe allai y daw dyddiau yr edrychir yn ysgafn gan laweroedd ar y Bibl fel unig awdurdodedig reol ffydd, ac y tröir at seremonïau yn lle neu gydag aberth Crist fel ffordd iachawdwriaeth, ac na cheir blâs ar yr hen wirionedd am gyfiawnhâd trwy ffydd, ac adenedigaeth trwy yr Ysbryd. Os felly, y gelyn a fydd wedi dyfod i mewn fel afon. Ond doed a ddêl, ni a ddymunwn ac a weddïwn am ein cael bob amser "yn parhâu yn y ffydd, wedi ein seilio a'n sicrhâu, ac heb ein symud oddiwrth obaith yr efengyl."

3. *Pan y byddo'r byd yn blaguro mewn annuwioldeb, a'r eglwys yn adfeilio mewn gras, ac yn enwedig blaenoriaid gwlad ac eglwys yn ymlygru.*

Y mae cryfhâd annuwioldeb ac adfeiliad crefydd yn cydfyned; gwelir y naill yn y llall. "O herwydd yr amlhâ anwiredd, fe oera cariad llawer." Er na byddo yr eglwys yn cydredeg gyda'r byd i'r unrhyw ormod rhysedd, eto hi a all fod yn ei ddilyn o hirbell: y byd yn orthrymus ei weithred, a'r eglwys yn ddaearol ei bryd; y naill yn rhyfygus yn gwneuthur pechod, a'r llall yn anffyddlawn yn esgeuluso dyledswydd. Os gwelir swyddogion ac aelodau eglwysig yn gysglyd a marwaidd gyda chrefydd, gellir dysgwyl y gwêl ac y defnyddia'r gelyn ei fantais i ddyfod i mewn. "Tra yr oedd y dynion yn cysgu, daeth ei elyn ef, ac a hauodd efrau ymhlith y gwenith." Pan yn cysgu, yr aeth y dysgyblion mewn profedigaeth yn yr ardd. Fel y daeth y Philistiaid ar Samson yn cysgu, y mae'r gwrthwynebwr diafol arnat tithau, broffeswr cysglyd. Eglwys ddirywiedig sydd heb arfogaeth am dani, ac heb amddiffyn drosti. Os mynwn wrthsefyll y gelyn, gwisgwn holl arfogaeth Duw. Ceisiwn y profiad grasol â'n deil yn awr y prawf; bydded genym y broffes y gwêl Duw yn werth estyn ei nawdd drosti. Y mae proffes ddiffrwyth yn bersonol, yn gystal ag eglwys ddiffrwyth, fel y winllan a ddŷg rawn gwylltion, am yr hon y dywedai'r Perchenog Dwyfol, "Tynaf ymaith ei chae fel y porer hi; tòraf ei magwyr fel y byddo hi yn sathrfa."

Pan y llwydda'r gelyn i lygru y rhai penaf mewn gwlad ac eglwys, gellir ei weled wedi dyfod i mewn fel afon. Dwy ffynnon y mae yr holl wlad yn tynu ei dwfr o honynt yw y llywodraeth wladol a'r pulpud; os rhoddir gwenwyn yn y ffynnonau hyn, pwy

a all ddyweyd pa lïaws a leddir? Fel y gwlaw yn disgyn ar y mynyddoedd, ac yna yn gorlifo dros yr holl ddyffrynoedd, felly y mae anghyfiawnder a llygredigaeth yn mhenaethiaid y bobl, ac esgeulusdra, anghywirdeb, ac ansancteiddrwydd mewn blaenoriaid eglwysig, yn peri blinder dirfawr, ac yn llygru llawer. Pan y mae Ezra yn cwyno ddarfod i'r "hâd sanctaidd ymgymysgu â phobl y gwledydd," efe a ddywed, "Llaw y penaethiaid a'r tywysogion fu gyntaf yn y camwedd hyn." Düwch adgas byth ar enw Jeroboam frenin ydyw, "Yr hwn a wnaeth i Israel bechu." Yr oedd pechod meibion Eli "yn fawr iawn yn ngolwg yr Arglwydd," o herwydd, â hwy yn offeiriaid, aeth y bobl i ffieiddio offrwm yr Arglwydd o'u hachos. Nis gall pobl fawrion, ebe rhywun, gyflawni beïau bychain; y mae pechodau athrawon yn athrawon pechodau. Dymunwn dros Gymru, a thros Brydain oll, ar i Dduw roddi i'r wlad lywodraethwyr, ac i'r eglwys fugeiliaid, wrth fodd ei galon, y rhai yn wastad a wnelont lês, ac nid niwed.

Mae y gymhariaeth, ni a welwn, yn un fywiog a tharawiadol: dyfod i mewn *fel afon;* fel afon lifeiriol yn gyflym, yn nerthol, ac yn ddinystriol ei effeithiau—yn chwalu adeiladau, yn cario ymaith feddiannau, ac yn boddi dynion. Grym y gelyn oedd y gwrês a wywodd yr egin ar y graig—yr ystorm a ddrylliodd y tŷ ar y tywod—y gynffon ddreigaidd a dynodd draian sêr y nef i lawr i'r ddaear. Heb sôn am Judas fradwr, a Hymeneus ac Alexander gablwyr, beth am Adda yn Eden, Noah yn nghanol ei babell, Dafydd ar nen y tŷ, a Phedr yn llŷs yr archoffeiriad? At y naill a'r llall, y gelyn a ddaeth i mewn fel afon, a chewri a archollwyd. "Wele," medd tywysogion Jezreel, a henuriaid Samaria, am Jehu, "dau frenin ni safasant o'i flaen ef; pa fodd gan hyny y safwn ni?" Gwêl, fy enaid, gymaint a archollwyd, ïe, ac a laddwyd gan elyn mawr eneidiau; ac a ddysgwyli di sefyll yn ei wyneb? Bydd sobr, a gwylia. O gymaint o bethau gwerthfawr a gariodd y gelyn ymaith fel afon! purdeb llawer eglwys mewn athrawiaeth a dysgyblaeth, proffes llawer aelod eglwysig, a phrydferthwch a chysur llawer cristion, a welwyd yn myned megys gyda'r dŵr. Tydi sydd eto yn sefyll, edrych na syrthiot; er mwyn dy fywyd, dal yr hyn sydd genyt!

Ond y mae ochr arall yn y testun; yr ochr gryfaf, a'r ochr fanteisiol i ni. Gwelwn yn

III. Yr oruchafiaeth: "Pan ddelo y gelyn i mewn fel afon, Ysbryd yr Arglwydd a'i hymlid ef ymaith."

Y cyfieithiad Seisonig a ddarllena, "Ysbryd yr Arglwydd a gyfyd faner yn ei erbyn;" a bydd yn fantais i ni ddefnyddio y ddau ddarlleniad.

Tröwn ein sylw yma i ddechre at Berson y Gorchfygwr: "Ysbryd yr Arglwydd." Y mae efe yn Berson Dwyfol. Dyma yr Ysbryd tragywyddol ar gyfer ysbryd crëuedig; yr Ysbryd Glân yn erbyn yr ysbryd aflan. Duw Dad mewn doethineb a luniodd y llwybr i ddinystrio'r gelyn; Duw mewn cnawd a aeth dan sylfeini ei deyrnas; ac Ysbryd yr Arglwydd a'i hymlid ef ymaith. Y mae bôd ac adeiladaeth yr eglwys, ei holl ofal, yn osodedig arno ef.

Y mae pethau mawrion wedi eu haddaw i Grist ar sail ei iawn. "Ymfendithiant ynddo; yr holl genedloedd a'i galwant yn wŷnfydedig. Taenella efe genedloedd lawer. Pan osodo efe ei enaid yn aberth dros bechod, efe a wêl ei hâd, efe a estyn ei ddyddiau, ac ewyllys yr Arglwydd a lwydda yn ei law ef. O lafur ei enaid y gwêl ac y diwellir; fy ngwas cyfiawn a gyfiawnhâ lawer trwy ei wybodaeth, canys efe a ddŵg eu hanwireddau hwynt. Am hyny y rhanaf iddo ran gyda llawer, ac efe a rana'r yspail gyda'r cedyrn, am iddo dywallt ei enaid i farwolaeth." Ond pwy sydd yn meddiannu yr holl genedloedd heddyw? pa le y mae yr hâd a ddiwallai lafur enaid yr Aberth mawr? pa bryd y rhenir y llawer iddo yn rhan? Y mae awdurdodau'r byd, galluoedd uffern, a llygredigaeth y galon, yn eu dal yn gaeth. "A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn?" Mae dysgeidiaeth oreu philosophi, mae trugareddau a barnedigaethau'r nef, mae taranau'r danllyd gyfraith, yn gadael y pechadur yn dawel yn ei bechod; a pha beth a all ei ddwyn ef at Fab Duw? Dim na neb ond un: Ysbryd yr Arglwydd. Wedi i'r Iesu dòri gwaith mawr i'w apostolion diddysg, ofnus, dirmygedig yn ngolwg y byd, cyn iddo ymadael â hwy, y cwbl a addawodd efe iddynt oedd yr Ysbryd. "Wele, yr ydwyf fi yn anfon addewid fy Nhad arnoch. Y Dyddanydd a anfonaf i chwi oddiwrth y Tad, sef Ysbryd y gwirionedd; a phan ddêl, efe a argyhoedda y byd." Ni wneir dim gyda gwaith Crist hebddo ef. Sylfaen heb adeilad, Brenin heb ddeiliaid, Pen heb gorff, a fyddai yr Iesu heb weithrediad yr Ysbryd,

Ni chodir un gwir bregethwr, ni fywhëir un enaid marw, ac ni pherffeithir yr un cristion, heb i Ysbryd yr Arglwydd weithio. Ac efe a weithia. Mae yr Oen yn nghanol yr orseddfainc, "yn sefyll megys wedi ei ladd, a chanddo saith gorn, a saith lygad, y rhai yw saith Ysbryd Duw, wedi eu danfon i'r holl ddaear." Oes, y mae saith o lampau tân yn llosgi ger bron yr orseddfainc, y rhai yw saith Ysbryd Duw:" yr Ysbryd yn amrywiaeth a chyflawnder ei ddoniau, ei rasusau, ei weinidogaethau, a'i weithrediadau, i ddwyn ymlaen ar y ddaear freniniaeth Duw'r nefoedd.

Arswydwn rhag wynebu'r gelyn ein hunain; ond gyda yr Ysbryd, ymdrechwn, gobeithiwn, ac nac ofnwn. Pa fodd y llwyddwn? Dyna yr atebiad oddiuchod: "Nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd, medd Arglwydd y lluoedd." Gwneir y gwan yn gryf, yr adfeiliedig yn adfywiedig, a'r galarus yn orfoleddus, "trwy gynnorthwy Ysbryd Iesu Grist." Nis gallasai hyd yn nôd apostolion Crist wneuthur dim hebddo ef; ac am hyny gorchymynid iddynt aros yn Jerusalem, heb fyned allan i'r byd, hyd nes y derbynient yr Ysbryd (Luc xxiv. 49); ond wedi derbyn ei nerth ef, yr oeddynt i dystio yn hyf dros Grist "yn holl Judea, a Samaria, ac hyd eithaf y ddaear" (Act. i. 8). Y mae yr addewid fawr am yr Ysbryd genym ninnau. Gweddïwn am dano, dysgwyliwn wrtho, dilynwn ei arweiniad, ac ymogelwn rhag ei dristâu.

Mae Ysbryd yr Arglwydd yn gwrthwynebu y gelyn gydag awdurdod, mewn trefn brïodol, ac mewn modd cyhoeddus; mae yn cyfodi baner yn ei erbyn. Arwydd rhyfel yw y faner; yn nghanol rhengoedd rhyfelwyr y delir hi i fyny; ac y mae gan ein Harglwydd ni ei faner i'w chodi yn y rhyfel ysbrydol. "Rhoddaist faner i'r rhai a'th ofnant, i'w dyrchafu o herwydd y gwirionedd." Nid baner gnawdol Mahomet; nid baner Eglwys Rhufain, a godid ganddi yn y dyddiau yr oedd hi yn cael ei hewyllys, sef tân a ffagodau, a chreulonder y chwil-lys; nid agor nef neu uffern â'r cleddyf. "Arfau ein milwriaeth ni, nid ydynt gnawdol." Yr "efengyl hon am y deyrnas," yr "ymadrodd am y groes,"—dyna y faner a gyfyd Ysbryd yr Arglwydd. Nid yw efe yn amcanu dadymchwel neb ond tywysog y tywyllwch, na lladd unpeth ond pechod, na chymeryd yn yspail ddim ond eneidiau i'w cadw; ac felly ni chŵyd efe yn faner ond y dystiolaeth am Grist. "Ni

lefara o hono ei hun," medd yr Iesu am dano; "efe a'm gogonedda i; canys efe a gymer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi." Gellid meddwl fod rhai am faner yr efengyl heb Ysbryd yr Arglwydd i'w chodi; nid oes arnynt eisieu ond y moddion. Y mae eraill, dybygid, am yr Ysbryd heb y faner; nid ydynt am wneuthur dim eu hunain, ond y maent yn dysgwyl yn segurllyd am i'r Ysbryd wneuthur y cwbl. Ond mae yn rhaid wrth y ddau: ymarfer yn ffyddlawn âg ordinhadau yr efengyl, ac ymddiried yn ngras sancteiddiol yr Ysbryd. Ac y mae'r ddau wedi eu rhwymo ynghyd i'r eglwys mewn cyfammod, fel y gwelir yn niwedd y bennod hon: "A minnau, dyma fy nghyfammod â hwynt, medd yr Arglwydd: Fy Ysbryd yr hwn sydd arnat, a'm geiriau y rhai a osodais yn dy enau, ni chiliant o'th enau, nac o enau dy hâd, nac o enau hâd dy hâd, medd yr Arglwydd, o hyn allan byth."

Y mae baner ddyrchafedig yn arwydd i gasglu milwyr ynghyd. Ac nid oes y fath allu tyniadol gan ddim â chan faner y groes. "A minnau, os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynaf bawb ataf fy hun." Dengys y faner pa le y mae'r milwyr yn gwersyllu. Ac nid oes eglwys i Grist ond ymysg y rhai sydd yn cyhoeddi ac yn proffesu "y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu." Tra bo'r faner i fyny, ni ddigalona'r milwr ffyddlawn. Ac ni lwydda'r gelyn byth i ddwyn y faner hon o law Ysbryd yr Arglwydd; y mae hi wedi ei dyrchafu yn rhy uchel iddo ef ei chyrhaedd. Am bawb a ennillwyd i ymladd dani, "ni chyfrgollant byth." Nid ydwyf yn dywedyd yn erbyn i'r enwadau crefyddol godi mân-lummanau eu sectau eu hunain; ond fe chwardd y gelyn os na wêl efe faner yr Ysbryd yn oruchaf oll. Nid oes arno ofn ein llummanau ni; ond pan gyfodo Ysbryd yr Arglwydd ei faner i'r bobloedd, mae pyrth uffern yn arswydo ac yn llwfrhâu. Bobl dduwiol o bob enw, dynesëwch fwyfwy at faner efengyl, fel y caffo'r byd wybod eich bod "yn ofnadwy fel llu banerog!"

Ni orphwys Ysbryd yr Arglwydd heb fynu goruchafiaeth lwyr ar y gelyn: "Pan ddelo y gelyn i mewn fel afon, Ysbryd yr Arglwydd a'i hymlid ef ymaith. Mae hyn yn awgrymu fod y rhyfel eisoes wedi troi o ochr Tywysog y bywyd a'i bobl. "Ymlid" yw gwaith y blaid gryfaf pan fyddo'r blaid wanaf yn ffoi wedi colli'r maes. Ar y groes y bu'r frwydr fawr. Yno yr oedd gallu'r tywyllwch mewn rhwysg: y diafol a'i angelion, nid yn unig yn

"gŵn" a "theirw" (Psalm xxii. 12, 16), ond yn "dywysogaethau ac awdurdodau." Yr oeddynt, nid yn unig yn dangos gelyniaeth, dichell, a malais yn erbyn Duw a dyn, ond yn gallu dangos hefyd fath o deitl neu hawl i feddiannu dynolryw. Gan fod dyn wedi gadael Duw, ac ymroddi i wasanaeth ei elynion, trwy bechu, yr oedd Duw, yntau, wedi gadael dyn, a'i roddi i'w elynion i'w gosbi; ac yr oedd y teitl wedi ei dynu mewn ysgrifen-law. Dyma fawr nerth y gelyn. Duw ei hun a'th draddododd i mi, ebe efe wrth bechadur. Ond, yn ei ryfedd gariad a'i ras, wele Fab Duw yn cymeryd natur a lle dyn euog; cyfrifwyd arno ei bechod, a gweinyddwyd arno ei gosb; ac felly efe a wnaeth iawn drosto, a llwyddodd i ddilëu y teitl oedd gan ddiafol fel ei berchenog, gan ei hoelio wrth y groes, ac felly, "gan yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau, efe a'u harddangosodd hwy ar gyhoedd, gan ymorfoleddu arnynt arni hi" (Col. ii. 14, 15). Bellach, y mae efe, trwy ei Ysbryd, yn dwyn y faner i'w ymlid, ac i feddiannu yr yspail. "A thithau, trwy waed dy ammod y gollyngais dy garcharorion o'r pydew heb ddwfr ynddo." A chawn gan Paul ddeongliäd ar hynyna gan Zechariah: "Yr awrhon yn Nghrist Iesu, chwychwi, y rhai oeddych gynt ymhell, a wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist; canys efe yw ein tangnefedd ni." Dywed yr Ysbryd mewn awdurdod wrth y gelyn am ollwng ei garcharor mewn rhydd-deb, ac wrth y pechadur am iddo yntau ddyfod allan o'i feddiant.

1. *Ymlidir y gelyn o'r deyrnas weledig sydd ganddo yn y byd.*

Mae'r diafol wedi cymhlethu ei lywodraeth â chyfansoddiadau gwladwriaethol teyrnasoedd y ddaear; y mae wedi llunio ffurflywodraethau'r gwledydd yn fanteisiol i deyrnas y tywyllwch. Dan faner yr un drwg, "y mae breninoedd y ddaear yn ymosod, a'r penaethiaid yn ymgynghori ynghyd, yn erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn ei Grist ef." Mae eu deddfau yn bleidiol i feddiant gormesol gelyn Duw; rhoddant eu milwyr i ymladd drosto, a chyfoeth eu teyrnasoedd tuag at gadw ei awdurdod. Ond er ei holl nerth yma, mae'r gelyn yn gwybod yn rhy dda "nad oes iddo ond ychydig amser;" ac am hyny y mae mewn "llid mawr" yn ceisio dal ei feddiant yn gyfan. Eithr ni thycia iddo; Ysbryd yr Arglwydd sydd ac a fydd yn ei ymlid ef ymaith.

Pan ddechreuwyd codi y faner yn Jerusalem galed ac anghrediniol, y gelyn oedd yn gorfod ffoi. Beth? dyrchafu baner y

Croeshoeliedig yn y ddinas lle y crochlefai yr awdurdodau a'r bobl, "Ymaith âg ef; croeshoelier ef," a lle y derbyniodd efe y gwarthrudd mwyaf! Ië: Ysbryd yr Arglwydd sydd gyda physgodwyr dirmygus Galilea heddyw; ac ni saif Sanhedrim, nac Archoffeiriadaeth, na llïaws tref o'u blaen. Ni chlywsom i Noah trwy gan' mlynedd o bregethu cyfiawnder ddychwelyd un dyn; ond yn awr dacw yr apostolion trwy bregethu'r groes yn troi miloedd mewn un dydd. Barn a dröwyd hefyd at yr hen sefydliadau paganaidd; ac wele'r gelyn yn cael ei ymlid ymaith o demlau'r duwiau, ac o galonau eu haddolwyr; mewn ychydig amser y mae myrddiynau o ddynion "yn troi oddiwrth eilunod i wasanaethu y bywiol a'r gwir Dduw." Beth oedd y Diwygiad Protestanaidd? Ysbryd yr Arglwydd yn cyfodi'r faner, a'r gelyn yn dïanc. Ac felly yr un modd y bu yn y diwygiadau llïaws sydd wedi canlyn o oes i oes. Bydd y faner i fyny eto nes y "cynnullir crwydriaid Israel, ac y cesglir gwasgaredigion Judah o bedair congl y ddaear." Hi a fydd i fyny nes cael Babilon i lawr. Cwhwfanir hi nes y caffo'r nef achos i lefain yn uchel, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef!" A pha fath fyd hapus a fydd hwn wedi i'r Ysbryd Glân lwyr ymlid ymaith yr ysbryd aflan! Sancteiddrwydd a lywodraetha yn lle llygredigaeth, yr hyn a fydd yn oleuni yn lle tywyllwch, a dedwyddwch yn lle trueni; gwneir paradwys o ddiffeithwch, a mwynheir dyddiau'r nefoedd ar y ddaear. Bydd Aceldama wedi troi yn ardd Eden, a hòno heb y sarph yn ymlusgo ynddi. Yr ydym i ddysgwyl hyn, a llawer mwy, "yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni."

2. *Ymlidir ef o'i deyrnas ddirgeledig yn y galon.*

Os cyll y gelyn ar y maes, nis gellir ond dysgwyl iddo redeg i'r castell. Mae cryfder ei deyrnas weledig yn gorwedd ar ei deyrnas ddirgeledig hon; ac y mae yn arfer ei holl gyfrwysdra i gadw ei orsedd ynddi. Os bydd arswyd deddf a chyffröad cydwybod yn peri chwyldröad yn yr enaid, fe gais Satan symud ei orseddfainc o'r bywyd anifeilaidd i'r bywyd deddfol—o bechadurusrwydd cyhoeddus i hunangyfiawnder—o fyw yn afradlawn i geisio bwyta cibau. Y mae holl ddeddf pechod yn mhlaid y gelyn; ac y mae iddo arfogaeth ymhob cynneddf o'r enaid: balchder meddwl, afrëoleidd-dra serch, cyndynrwydd ewyllys; rhagfarn, anystyriaeth, anghrediniaeth,—caerau â rhagfuriau a gododd y

gelyn i gadw ei gastell ydynt oll. Dyma gastell nas amcanodd un brenin daearol ei ennill. Ond ennillir hwn gyda chleddyf yr Ysbryd. "Arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr, gan fwrw dychymygion i lawr, a phob uchder a'r sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw, a chan gaethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist." Dyna'r cryfarfog fel hyn wedi ei droi o'i neuadd; y Concwerwr yn dyweyd wrth y gelyn am yr hen gastell, "Tyred allan o hono, ac na ddôs mwy iddo ef." Bellach fe welir cariad lle yr oedd gelyniaeth, ufudd-dod lle yr oedd cyndynrwydd, gras lle yr oedd pechod, ac ysbryd lle yr oedd cnawd; wele gyflwr newydd, egwyddor newydd, ïe, a dyn newydd.

Gwelwn ddaioni a chariad Duw ein Hachubwr yn ymddangos tuag at ddyn, pan na welir ond toster Duw tuag at ddiafol. Ymlidir ef ymaith, a derbynir ni. Caiff ef ei ddinystrio, a ninnau ein cadw, trwy Ysbryd yr Arglwydd. Mae ei gaethiwed ef yn anobeithiol; ond os wyt ti, fy enaid, yn gaeth, dyma di yn garcharor gobeithiol, a threfn a galwad arnat i droi i'r amddiffynfa.

Holed pob un ef ei hun pwy sydd yn teyrnasu arno ac yn gweithio ynddo: ai'r gelyn, ai ynte Ysbryd yr Arglwydd? Dinystrio y mae'r naill, a chrëu o'r newydd y mae'r llall. Yr hwn sydd yn gwasanaethu'r diafol a yrir i'r tân tragywyddol a barotöwyd iddo ef a'i angelion; "eithr yr hwn sydd yn hau i'r Ysbryd, o'r Ysbryd a fêd fywyd tragywyddol."

# PREGETH XXVII.

## ARWYDDION EIN HAMSEROEDD YN GYMHELLIADAU I FFYDD A SANCTEIDDRWYDD.

2 PEDR iii. 14: "O herwydd paham, anwylyd, gan eich bod yn dysgwyl y pethau hyn, gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo Ef mewn tangnefedd, yn ddifrycheulyd, ac yn ddiargyhoedd."

DARFU i Pedr, yn gymaint a'i fod yn apostol yr enwaediad, ysgrifenu ei ddau lythyr at yr Iuddewon Cristionogol, ac at y dosbarth hwnw o honynt yn neillduol ag oeddynt wedi gadael eu gwlad eu hunain, ac yn ddyeithriaid gwasgaredig ymysg y cenedloedd. Yr oedd y rhai hyn ymhob man, yn gyffelyb i'w brodyr yn Judea, dan erlidigaeth chwerw oddiwrth eu cydgenedl, oblegid eu proffes o Grist a'r efengyl. Mae yn ddiammheu fod y cristionogion, ar y naill law, yn cyhoeddi barn Duw yn eu herbyn hwy fel gwrthodwyr y Messïah, a hwythau, o'r ochr arall, yn cyhuddo y cristionogion am wrthod Duw a chrefydd eu tadau, teml ac addoliad yr hwn oeddynt yn Jerusalem. Hònai y cristionogion i'r gwrthwyneb, mai hwynt-hwy, y rhai oedd yn gorfoleddu yn Nghrist Iesu, oedd yr enwaediad a gwir hâd Abraham, a'u bod wedi cael ynddo Ef sylwedd y cysgodau a'r gwasanaeth Iuddewig, tra nad oedd gan eu gelynion, bellach, ond y plisc—yr egwyddorion llesg a thlodion, ac na byddai y rhai hyny chwaith ddim

ganddynt yn hir eto—bod Crist, yn ol ei addewid, yn dyfod i losgi eu dinas a'u teml, ac i newid y defodau a draddodasai Moses i'r eglwys am ei wasanaeth a'i ordinhadau ei hun. Yn awr, yr oedd hwn yn bwnc bywyd i'r ddwy ochr. Os dygwyddai felly, byddai yn gadarnhâd mawr i Gristionogaeth, ac yn ergyd anfeddyginiaethol i Iuddewiaeth. Ac ni a allem feddwl fod teimladau cryfion yn gweithio o bob tu. Ond yn y man, wedi hir daeru, a'r Arglwydd megys yn oedi dyfod, mae yr erlidwyr yn troi yn watwarwyr. Gofynent mewn gwawd a dirmyg, "Pa le mae addewid ei ddyfodiad ef? canys er pan hunodd y tadau, mae pob peth yn parhâu fel yr oeddynt o ddechreuad y crëadigaeth." Yn y bennod hon, mae yr apostol yn annog y credinwyr i beidio llwfrhâu o dan y prawf yma. Mae yn dwyn ar gôf iddynt fod y prophwydi sanctaidd, a hwythau, apostolion yr Arglwydd a'r Iachawdwr, wedi rhagddywedyd am y dyddiau hyn, a bod y cyfryw annuwiaeth a chabledd yn bethau i'w dysgwyl yn y fath ddyddiau. Felly yr oeddynt ymlaen y diluw; ac i'r ansawdd yma yn gyffredinol y mae dynion annuwiol a halogedig eu meddyliau yn syrthio yn amser diwedd anwiredd, a chyn i farn Duw eu goddiweddyd. Sicrhâ i'r cristionogion nad oedd Crist ddim yn oedi ei addewid, fel yr oedd anghrediniaeth dynion yn sibrwd, ond ei fod yn hirymarhöus tuag at ei bobl. Ac yna, wedi i'w amcanion grasol tuag atynt hwy gael eu cyflawni, "dydd yr Arglwydd a ddaw," medd yr apostol, "megys lleidr y nos." Ac yn yr adnodau hyn mae yn darlunio gorchwyliaethau y dydd hwnw, a dyfodiad yr Arglwydd. Cyfeiria at dri byd, neu dair nefoedd a daear: un ag y mae yn ei alw "y byd ag oedd y pryd hwnw," yr hwn a ddyfethwyd trwy ddwfr; un arall a eilw "y nefoedd a'r ddaear sydd yr awr hon," ac ydynt "wedi eu rhoddi i gadw i dân;" a'r olaf i'w dysgwyl yn ol ei addewid Ef.

Mae yn hysbys mai at ddydd y farn olaf yn unig y mae llawer o esbonwyr yn cymhwyso y geiriau hyn; ond y mae amryw hefyd, megys y Dr. Owen ac eraill, yn eu hesbonio yn gwbl wahanol; ac ar y cyfan, mae yn rhaid i ni gydnabod eu bod yn ennill ein meddwl i'w golygiadau. Ar yr un pryd y mae cyflawnder o feddwl yn ngair Duw. Ac fe ddichon fod ymadroddion yr apostol yma wedi eu cyfaddasu yn bwrpasol fel ag i gymeryd i mewn, yn yr eithaf, y farn gyffredinol, a dinystr y byd hwn, tra y

maent, o ran eu hystyr gyntaf, yn golygu amgylchiadau eraill, pa rai ydynt gysgod ac esiampl o'r pethau hyny. Ac os yw hyny yn bod, mae ymadroddion yr apostol yn ein dysgu i feddwl y bydd i'r nefoedd a'r ddaear elfenol yma yn y diwedd, wedi eu llosgi â thân, gael eto, megys ag yr aethant dan gyfnewidiad o'r blaen yn y diluw, nid eu difodi yn hollol, ond eu cyfnewid a'u dwyn allan drachefn o'r gymysgfa afluniaidd, yn "nefoedd newydd a daear newydd, yn y rhai y mae cyfiawnder," hyny yw, y rhai cyfiawn, "yn cartrefu byth." Ond, fel y dywedasom, yr ydym ni yn tueddu i feddwl mai nid am yr amgylchiad yma, o leiaf yn uniongyrchol, y mae yr apostol yn llefaru. Nid at y byd elfenol y mae yn cyfeirio yn gymaint, ond yn hytrach at ryw fyd arall, o fewn y byd elfenol, ac at farnau neillduol yr Arglwydd ar y byd hwnw; pethau, fel yr awgrymwyd eisoes, ag y gellir edrych arnynt yn ddechreuad ac yn wystlon o'r farn dragywyddol.

Er prawf o hyn, chwi a graffwch yn gyntaf oll fod yr apostol yn llefaru yma am y tri byd, neu y tair nefoedd a daear sydd o dan ei sylw, fel pethau gwahanol i'w gilydd. Nid yw yn siarad fel pe byddai yn golygu bod yr un byd wedi cael ei ddyfetha unwaith trwy ddwfr, ac i gael eto ei ddyfetha drwy dân, ac yna i gael ei wneyd o newydd. Na, ond "*y byd ag oedd y pryd hwnw*" a ddyfethwyd drwy ddwfr, a'r "*nefoedd a'r ddaear sydd yr awr hon* ydynt wedi eu rhoddi i gadw i dân," a rhyw fyd arall newydd, gwahanol i'r ddau gyntaf, sydd mewn addewid. Ar y llaw arall, ni a ddylem sylwi, er fod y pethau hyn yn wahanol i'w gilydd, fod yn rhaid eu bod yn bethau o'r un natur, ac onidê ni byddai cysondeb a grym yn ymresymiad yr apostol. Beth bynag a feddylir wrth y byd yr hwn a ddyfethwyd drwy ddwfr, yr un peth, neu yn hytrach pethau o'r un natur, a olygir wrth y nefoedd a'r ddaear ag sydd wedi ei rhoddi i gadw i dân; a'r un modd am y rhai sydd i'w dysgwyl. Eithr y mae yn eglur, dybygid, nad y byd elfenol yn gymaint a olygai yr apostol wrth y cyntaf. Oblegid ni ddyfethwyd mo hwnw drwy ddwfr y diluw; mae'r byd yn yr ystyr yma yn aros hyd heddyw. Yr un haul sydd yn codi arnom ni ag oedd yn codi ar y cynddiluwiaid, a'r un ddaear sydd dan ein traed ni ag oedd dan eu traed hwythau. Pa gyfnewidiadau bynag fu ar ac o fewn y byd elfenol y pryd hwnw, mae ef ei hun, fel y dywed Solomon am y ddaear, yn sefyll byth. Beth gan hyny mae

yr apostol yn ei olygu yn benaf yn y geiriau? Gadewch i ni ymofyn ychydig ymhellach i'w hystyr.

Yn yr Ysgrythyrau, fel y mae yn hysbys, mae y geiriau "*nefoedd a daear*," yn aml, yn golygu trigolion y byd hwn; hyny yw, trigolion y byd yn eu hystâd gorfforedig fel gwledydd a theyrnasoedd, ac o ran eu hawdurdodau, eu trefn, a'u sefydliadau crefyddol a dinesig. Mae yn anmhosibl deall lleferydd y prophwydi heb olygu felly. Pan mae yr Arglwydd yn ei ragluniaeth yn corffori cenedl, neu wlad, ac yn ei sefydlu yn y cyflwr dywededig, maent hwy yn llefaru am hyny fel am grëadigaeth y byd. Felly yn Esaiah li. 15, 16: "Eithr myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a barthodd y môr, pan ruodd ei dònau; ei enw yw Arglwydd y lluoedd. Gosodais hefyd fy ngeiriau yn dy enau, ac yn nghysgod fy llaw y'th döais, fel y planwn y nefoedd ac y seiliwn y ddaear, ac y dywedwn wrth Sïon, Fy mhobl ydwyt." Yr oedd y byd elfenol wedi ei wneuthur er ys llawer oes cyn hyn; ac eto dyma yr Arglwydd, pan yn dwyn Israel o'r Aipht, yn planu rhyw nefoedd, ac yn seilio rhyw ddaear. Mae y cyfan yn golygu, gwneyd *Sïon yn bobl*, fel mae y gair olaf o'r adnod yn dangos: crynhöi a chorffori y genedl hòno, pa un oedd yn wasgaredig a didrefn o'r blaen, a gosod i fyny yn eu mysg hwy lywodraeth a sefydliadau rheolaidd, fel eglwys a gwladwriaeth. Dyma y gwaith a ddarlunir yn y geiriau; ac ar y cyfrif hwn mae yr Arglwydd yn cael ei alw yn Grëawdwr Jacob ac yn Lluniwr Israel. Ac o'r ochr arall, pan y mae yr Arglwydd yn dinystrio cenedl neu freniniaeth, fe leferir am hyny drachefn yn yr Ysgrythyrau megys am ddiwedd y byd a'r farn dragywyddol. Mae "ysgwyd yr holl genedloedd" yn cael ei alw yn Haggai ii. 6, 7, yn "ysgwyd y nefoedd a'r ddaear, a'r môr, a'r sychdir." Y meddwl yw, ysgwyd nefoedd a daear yr holl genedloedd. "Holl lu y nefoedd hefyd a ddattodir," medd Esaiah (pen. xxiv. 4), "a'r nefoedd a blygir fel llyfr; a'i holl lu a syrth, fel y syrthiai deilen o'r winwydden, ac fel ffigysen yn syrthio oddiar y pren." Gallesid meddwl mai am y farn gyffredinol y llefarai y prophwyd, ond y mae y gair nesaf yn dangos yn amgen: "Wele ar Edom y disgyn y farn, ac ar y bobl a ysgymunais." Dadymchweliad a barn y wlad hòno yn unig a olygid yn y brophwydoliaeth. A'r un modd y lleferir am farn Juda (Jer. iv. 23, 25), a'r Aipht (Ezec. xxxii. 7, 8), a Rhufain baganaidd (Dad. vi.

13, 17). Ie, yn Epistol Judas (adn. 14), ni a gawn fod Enoch, yn more amser, pan yn prophwydo am y diluw (yn gyntaf o leiaf), yn arfer dull cyffelyb o lefaru. Yn awr yr ydym yn credu bod Pedr yn y bennod hon, yr hwn sydd yn galw ar ei frodyr (adn. 2), i gofio y geiriau a ragddywedwyd gan y prophwydi sanctaidd am y gorchwyliaethau hyn, yn llefaru ei hunan am orchwyliaethau o'r un natur, ac yr un dull a hwythau. Wrth "y byd ag oedd y pryd hwnw," mae yn deall trigolion yr hen fyd: y sefydliadau, a'r wêdd neillduol ag oedd ar y byd yn yr oes hòno, pa rai a lwyr ddyfethwyd gan y diluw. A'r un modd, wrth y nefoedd a'r ddaear oedd wedi eu rhoddi i gadw i dân, mae yn golygu y farn yr hon oedd ar ddisgyn ar y genedl Iuddewig yn yr amser hwnw: dadymchweliad eu sefydliadau gwladol ac eglwysig, llosgiad eu dinas a'u teml, a'u gwasgariad hwythau dros wyneb y ddaear.

A diammheu genym y gellir edrych ar ddarluniad yr apostol o'r amgylchiad hwn fel prophwydoliaeth a drych o bethau cyffelyb, pa rai a wnaed ar ol hyny, ac a wneir eto, mae yn debyg, lawer gwaith mewn cysylltiad â'r efengyl, hyd oni ddelo y nefoedd newydd a'r ddaear newydd, y rhai mae y saint yn dysgwyl am danynt, hyny yw, goruchafiaeth teyrnas Crist ymysg dynion, ac adnewyddiad wyneb y ddaear trwy hyny. Os cymerwn ni yn ganiatäol fod y cristionogion Iuddewig yn deall geiriau yr apostol yn yr ystyr a ddangosasom, ni a allem feddwl bod tuedd gref ynddynt i "gyffroi eu meddwl puraidd" hwy, yr hyn a amcanai yr ysgrifenydd ato, ac i beri i'w annogaethau yn y testun ddisgyn yn rymus ar eu meddyliau. Mae yn rhaid fod dadymchweliad eu cydgenedl yn "dristyd mawr" iddynt, ac yn "ofid dibaid i'w calon," fel y tystiai yr apostol Paul ei fod iddo ef. Yr ydoedd yn un o'r dygwyddiadau mwyaf pwysig yn nhrefn rhagluniaeth yr Arglwydd gyda golwg ar sefydliad yr oruchwyliaeth efengylaidd a theyrnas Crist yn y byd; yr oedd i gael ei flaenori gan amseroedd enbyd, a'i ddwyn o gwmpas gyda y fath ddialedd ofnadwy ar y genedl, fel ag y dywedir y byddai "yr holl waed cyfiawn, yr hwn a dywalltwyd ar y ddaear, o waed Abel gyfiawn hyd waed Zacharias, yr hwn a laddwyd rhwng yr allor a'r deml," yn cael ei ofyn i'r genedlaeth hòno, a "digofaint Duw yn dyfod arnynt hyd yr eithaf. Mewn gair, dydd y farn ydoedd ar ddiwedd byd yr hen destament. Ac heblaw hyny, yr ydoedd yn amgylchiad ag

oedd i effeithio yn fawr ar eu cyflwr hwythau fel cristionogion, ac mor agos o ran amser fel yr oeddynt yn dysgwyl eu hymwared bob dydd. Hawdd, gan hyny, y gallasai yr apostol adael yr ateb i'w cydwybodau hwy eu hunain, pan yr appeliai at bobl yn y fath amgylchiadau, gan ofyn iddynt, "Pa ryw fath ddynion a ddylech chwi fod mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb, yn dysgwyl ac yn brysio at ddyfodiad dydd Duw? O herwydd paham, anwylyd, gan eich bod yn dysgwyl y pethau hyn, gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo Ef mewn tangnefedd, yn ddifrycheulyd, ac yn ddiargyhoedd."

Mae hyn o eglurhâd ar amgylchiadau y testun yn tueddu, ni a obeithiwn, i ddangos grym ei annogaeth yn fwy, ac yn gwasanaethu hefyd i'r defnydd a gawn ni wneuthur o'r geiriau ymhellach, mewn ychydig o sylwadau, er addysg i ni ein hunain. Yr annogaeth, chwi a glywch, ydyw, "Gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo Ef mewn tangnefedd." Ac yn

I. Ni a ddygwn rai ystyriaethau er ein cyffroi at y ddyledswydd o geisio y fendith y mae yr apostol yn sôn am dani.

Yr ydym wedi dangos eisoes fod sail annogaethau yr apostol yn gorwedd yn yr amgylchiadau neillduol ymha rai yr oedd y cristionogion Iuddewig ar y pryd; ac y mae yn hawdd i bob meddwl difrifol ganfod eu prïodoldeb i ddynion yn y fath amgylchiadau. A chwi yn gwybod y pethau hyn, "gwnewch eich goreu." Ac yn awr, os oes lle i gredu fod yr eglwys Gristionogol yn yr oes a'r dyddiau yma yn yr un neu y cyffelyb amgylchiadau ag yr oeddynt hwy ynddynt, yna mae yn rhaid bod geiriau yr apostol yn genadwri brïodol atom ninnau. Hyn a geisiwn ni ddangos trwy ychydig o sylwadau fel y canlyn:—

1. *Yr ydym yn dysgwyl am yr un pethau ag yr oeddynt hwy yn dysgwyl am danynt.*

Mae tair gorchwyliaeth neillduol ag y mae y Bibl yn cyfeirio atynt mewn cysylltiad â theyrnas Crist yn y byd: gwasgariad yr Iuddewon, dinystr Rhufain baganaidd, a chwymp Anghrist. Ac am yr orchwyliaeth olaf o'r tair yma, mae yn ein gosod ni, dybygid, yn y dyddiau hyn, mewn cyffelyb amgylchiadau ag yr oedd y cristionogion ynddynt yn nyddiau yr apostolion. Yr oeddynt hwy yn byw, fel y sylwyd eisoes, pan ag yr oedd Iuddewiaeth

wedi myned "yn hen ac yn oedranus, yn agos i ddiflanu," ac felly yn dysgwyl yn barhäus am ei chwymp. Yn ein dyddiau ni, y peth mawr a ddygir ymlaen, a'r peth mawr mae yr eglwys yn edrych am dano, ydyw dinystr Anghrist, ac yn wir dinystr pob gallu arall ag sydd yn wrthwyneb i deyrnas y Gwaredwr, ynghydag ymehangiad cyffredinol Cristionogaeth ar y ddaear, a'i sefydliad fel unig grefydd dynolryw. Gorchwyl mawr i'w gyflawni! Mae yr ymdrech ynddo, nid yn erbyn gwaed a chnawd yn unig, ond "yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd." Mae galluoedd gweledig ac anweledig i'w gorchfygu. Wrth naturiaeth, mae dynolryw yn meddiant y diafol. Ac wrth ystyried nerth ei ddylanwad ef ar eu calonau llygredig, a chofio fod dedfryd gyfiawn eu gwrthryfel yn eu cloi yn ei feddiant fel rhan o'u cosbedigaeth, hawdd y gallasai y prophwyd ofyn, "A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn? neu a waredir y rhai a garcherir yn gyfiawn?" Ond y mae Iesu Grist yn gwneuthur hyny. "I hyn," medd yr apostol Ioan, "yr ymddangosodd Mab Duw, fel y dattodai weithredoedd diafol." Er mwyn hyny y bu farw dros bechaduriaid. A chan iddo "drwy farwolaeth ddinystrio yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo," a sicrhâu felly waredigaeth ei bobl o'i feddiant, mae y Bibl yn fynych yn llefaru megys pe byddai y frwydr drosodd, a'r fuddugoliaeth wedi ei hennill yn gwbl ac ar unwaith ar y groes. Yno, drwy dalu dyled ei eglwys, a dilëu yr ysgrifen-law, fe "yspeiliodd y tywysogaethau a'r awdurdodau, ac a'u harddangosodd hwy ar gyhoedd, gan orfoleddu arnynt arni hi." Ac eto mae yn amlwg fod y gelynion heb adael y maes. A gwaith Iesu Grist bellach, er ys oesoedd, ydyw perffeithio ei oruchafiaeth arnynt, a meddiannu yspail ei fuddugoliaeth. Wedi ei farnu ef, a gwneyd ei hawl yn ddiddym, mae yn awr, drwy ei Ysbryd a'i orchwyliaethau rhagluniaethol, yn bwrw allan dywysog y byd hwn o'r naill galon ac o'r naill wlad ar ol y llall; ac efe a wna hyny hefyd, hyd oni byddo wedi ennill y byd yn gwbl iddo ei hun.

Ond cofiwch, wrth gyflawni yr amcan gogoneddus yma, fod yn rhaid iddo ddymchwelyd llawer o bethau sydd ar y ffordd. Chwi a wyddoch mai cadernid mawr i deyrnas y diafol o'r dechreuad ydyw ei chysylltiad â theyrnasoedd y byd hwn. Ac oblegid hyny

mae yn rhaid, wrth ei dinystrio hi, falurio a threiglo llawer o honynt hwythau hefyd, fel yr oedd Daniel yn rhagweled. Mae hi yn un â hwynt, ac wedi lefeinio eu holl gyfansoddiad hwy o'u mabandod. Yr ydych yn cofio bod Ioan yn gweled y wraig "yn eistedd ar ddyfroedd lawer, *a bwystfil yn ei dwyn hi.*" Trefniadau gwladol ffafriol iddo, ac ysbryd y llïaws yn eu bywhâu, ydyw grym teyrnas y diafol. Bu felly am oesoedd mewn eilunaddoliaeth, yn enwedig yn ymherodraeth Rhufain Baganaidd. Ond o'r diwedd, fe ysgydwodd Iesu Grist nefoedd a daear yr ymherodraeth hòno, nes oeddynt fel mân ûs, yn dyfod o'r lloriau dyrnu hâf. Ac yn nghwymp yr ymherodraeth, fe wnaed barn yn erbyn ei duwiau, ac fe welwyd Satan, yr hwn oedd wedi bod mewn rhwysg a mawredd yn yr hen grefydd lygredig hòno am oesoedd lawer, "megys mellten yn syrthio" o'r nefoedd i'r ddaear. Ond nid oedd yr amser wedi dyfod eto i sefydlu teyrnas Crist yn ei gogoniant ar y ddaear. Ac am hyny, wedi i'r ymherodraeth Rufeinig gwympo, ac i wledydd Ewrop ddechreu ail ymgorffori fel gwahanol freniniaethau, fe oddefwyd i'r diafol drachefn gysylltu ei achos wrth y teyrnasoedd hyny mewn Pabyddiaeth. Felly darllenwn yn Dad. xvii. 12, am yr angel, yn y weledigaeth, yn dyweyd wrth Ioan, fod y deg corn a welsai, sef breninoedd Ewrop, yn derbyn awdurdod, fel breninoedd, un awr gyda'r bwystfil. Yn agos i'r un amser yr oedd y Pab a hwythau yn dyfod i lywodraeth; ac yr oedd y naill o'u ffurfiad, ni a welwn, yn ymrwymo i wasanaethu y llall. "Yr un meddwl sydd i'r rhai hyn," medd yr angel, hyny yw, o barth i'r mater yma,—"hwy a roddant eu nerth a'u hawdurdod i'r bwystfil." Ac yna, fel y gallesid dysgwyl, wedi iddynt dyngu ffyddlondeb i'r Pab, a chysegru eu cyfoeth, eu gallu milwraidd, a'u holl awdurdod i'w wasanaeth, eu gwaith drwy yr oesoedd ydoedd amddiffyn yr eglwys sanctaidd, hyny yw, mewn gwirionedd, y butain fawr, a chadw Mab Duw a'i deyrnas allan o'u cyffiniau. "Y rhai hyn a ryfelant â'r Oen, a'r Oen a'u gorchfyga hwynt." Ac fe wna hyny drwy ysgwyd eu nefoedd a'u daear hwy—dryllio eu hawdurdod, a dymchwelyd eu hen sefydliadau, yn wladol ac yn eglwysig. Ac o'r diwedd, fel y mae y brophwydoliaeth yn dangos, fe weithia, drwy ei orchwyliaethau yn eu mysg, y fath gyfnewidiad yn eu meddyliau ac yn eu hamgylchiadau, hyd oni byddont hwy, ag oeddynt gynt yn

anrhydeddu ac yn gwobrwyo y butain, yn troi i'w chasâu ac i'w hanrheithio.

Dyma ddiwedd y peth, fy mrodyr. Mae wedi ei wneyd i fesur mawr eisoes; ac yr ydych chwi eich hunain yn brofion o hyny; oblegid nid yw y rhyddid a'r breintiau crefyddol ag sydd yn eich meddiant heddyw ddim amgen nag yspail hen fuddugoliaethau y Gwaredwr mewn oesoedd a basiodd,—pethau a ddygodd efe o law y gelyn â'i gleddyf ac â'i fwa. Ond nid yw y gwaith eto wedi ei orphen. Mae llawer o'r galluoedd gwrthwynebol heb syrthio, a saint y Goruchaf heb feddiannu y freniniaeth; nid oes dim rhyddrediad i Air yr Arglwydd mewn llawer gwlad, tra mae eu hen ofergoelion, o'r ochr arall, fel gwahanglwyf ysol yn eu parwydydd, yn peri y bydd raid eu tynu i lawr. Am hyny, mae Mab Duw i'w ddysgwyl, ac i'w ddysgwyl megys cynt, er iachawdwriaeth ei bobl a dinystr i'w elynion. Ac nid rhyfedd, pan yn *settlo* â gwledydd y byd am y tro diweddaf, os bydd ei ddïaledd arnynt yn drymach nag erioed o'r blaen. Wel, ynte, onid yw annogaeth yr apostol yn brïodol i ninnau hefyd?—"O herwydd paham, anwylyd, gan eich bod yn dysgwyl y pethau hyn, gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo Ef mewn tangnefedd, yn ddifrycheulyd, ac yn ddiargyhoedd." Daw pwys yr annogaeth i'r golwg yn fwy eto wrth sylwi—

2. Fod y *pethau yr ydym yn eu dysgwyl yn agos.*

Yr ydym yn hyn, drachefn, mewn amgylchiadau cyffelyb i'r Cristionogion Iuddewig. Yr oedd diwedd eu byd hwy fel cenedl yn ymyl, a hwythau yn dysgwyl am dano bob dydd. Yr oedd Iesu Grist wedi sicrhâu i'w ddysgyblion nad äi y genedlaeth hòno ddim heibio hyd oni wnelid hyn oll. A'r un modd yr oedd yr apostolion, hwythau, o hyd yn eu holl lythyrau at eu brodyr Iuddewig, yn cyfeirio at y dygwyddiad yma megys yn ymyl, ac oddiar yr ystyriaeth hòno yn eu cymhell hwy i'r holl agweddau duwiol hyny, prïodol i ddynion yn y fath amgylchiadau. "Diwedd pob peth a nesäodd," medd Pedr; "am hyny byddwch sobr, a gwyliadwrus i weddïau." Ac wrth annog yr Hebrëaid i amynedd o dan eu herlidiau, dyma oedd rheswm yr awdwr, "Oblegid ychydig bachigyn eto, a'r Hwn sydd yn dyfod a ddaw, ac nid oeda." "Byddwch chwithau hefyd dda eich amynedd," medd Iago; "cadarnhewch eich calonau, oblegid dyfodiad yr Arglwydd

2 M 2

a nesäodd;" a thrachefn, "Mae y Barnwr yn sefyll wrth y drws." Yn y man ni a gawn Pedr ac Ioan yn siarad am yr amser fel wedi dyfod, ac am y farn fel wedi dechreu eisoes ar dŷ Dduw. "O blant bychain," medd Ioan, "yr awr ddiweddaf ydyw." Yr oedd y dynion yma yn credu fod pethau mawrion gerllaw; ac y mae yn ddiammheu bod eu ffydd a'u difrifwch, o dan y fath amgylchiadau, yn esiampl i'r eglwys drwy yr oesoedd, pan y byddo mewn amgylchiadau cyffelyb.

Ni pherthyn i ni, mae yn wir, fod yn hyf ar y dyfodol. Ond sicr yw fod pethau mawrion wedi eu gwneyd eisoes yn ein hoes ni, ac arwyddion eto, dybygid, y gallai ysgogiadau newyddion gymeryd lle mewn cysylltiad â theyrnas Crist yn y byd, na wyddys pa càn gynted. Er prawf o hyny, meddyliwch, er esiampl, am y ffeithiau canlynol.

Mae y byd, o ran ei ansawdd grefyddol, wrth bob tebyg, yn addfedu yn brysur i gyfnewidiadau. Os nad ydym yn camgymeryd, y farn gyffredin yw, bod hen ofergoelion a defodau crefyddol gwledydd y ddaear wedi adfeilio yn fawr, neu yn hytrach wedi colli eu dylanwad oddiar feddyliau eu deiliaid. Maent yn sefyll hyd yma, mae yn wir, ac fe ddichon mewn gradd o fri hefyd, ar gyfrif eu henafiaeth, ac fel pethau a ddisgynasant i'r trigolion oddiwrth eu tadau. Ond beth er hyny? mae eu calonau wedi marw o'u mewn. A dim ond i sefydliadau gwladol llawer cenedl gael eu hysgwyd ymaith, fe syrthiai eu hen grefyddau fel dail gwywedig oddiar y coed. Fe all eu temlau fod yn wych, a'u gwasanaeth fod yn rhwysgfawr; ond rhwysg eu claddedigaeth ydyw—addurniadau cyrff meirwon a llygredig. Mae ysbryd eu deiliaid wedi colli o honynt. Ac fe ellid meddwl fod cynnydd y byd, yn y dyddiau hyn, mewn cydymdrafodaeth fasnachol, a phob gwybodaeth, o duedd fawr i'w ryddhâu fwyfwy, a'i gario allan o'i hen ofergoelion. Ni a allwn fod yn sicr, gan hyny, os gwir yw bod Pabyddiaeth a Mahomedaniaeth y naill barth o'r ddaear, ac eilunaddoliaeth parthau eraill o honi, megys India a China, wedi myned yn hen ac yn oedranus, eu bod hefyd yn agos i ddiflanu. Dyna a ddygwyddodd, ni a wyddom, i Rufain Baganaidd; hi a syrthiodd yn ei henaint a'i hadfeiliad. A'r un modd am Rufain Babaidd; yr oedd ei llygredigaeth a'i hansawdd gleiriachaidd hithau, cyn y Diwygiad Protestanaidd,

megys yn gofyn am dano, ac yn fath o brophwydoliaeth ei fod yn agosâu.

Drachefn, mae hynodrwydd arall yn perthyn i'n dyddiau ni: nid oes un grefydd newydd yn ymddangos yn lle yr hen grefyddau sydd yn meirw. Nid nad oes llïaws o gyfeiliornadau yn codi, y naill ar ol y llall, yn barhäus; ond y maent oll, yn debyg i gicaion Jonah gynt, yn bod ac yn darfod mewn noswaith. Nid oes yr un ofergoeledd â nerth ynddo yn ymddangos yn un man; yr un ag sydd yn peryglu goresgyn y gwledydd, a sefydlu ei hunan yn y byd am oesoedd. Wele, ynte, oddiwrth ansawdd bresennol cenedloedd y ddaear, mae pob sail i gasglu, dybygid, nid yn unig fod pethau mawrion i'w dysgwyl, ond hefyd fod y pethau hyny yn agosâu. I eglwys Dduw mae yr olygfa yma, er yn arswydol, eto yn llawn gobaith. Oblegid ni a allwn fod yn sicr, er fod y byd yn darfod â'r hen grefyddau, ei fod yn parhâu o hyd yn ei waelod i ddyheu am grefydd; a chrefydd sydd raid iddo gael; a chan fod dyfnderau Satan megys wedi eu dyhysbyddu, fel nad oes mwyach yr un gaugrefydd neu addoliad gau yn ymddangos, ag sydd yn debyg o ynfydu plant dynion i ddim mesur helaeth, y gobaith yw, fod dynolryw yn cael eu cydgau i ffydd yr efengyl, ac yn prysur addfedu i'w derbyn hi.

Ymhellach, yr ydym yn dyfod i'r un penderfyniad drachefn oddiwrth y ffaith fod dysgwyliad cyffredinol yn y byd y dyddiau hyn am gyfnewidiadau. Yn rhywfodd neu gilydd, mae dygwyddiadau mawrion, yn fynych, yn cynhyrfu rhagddysgwyliadau yn meddyliau dynion; maent yn debyg i'r cysgod yn dyfod o flaen y corff. Os bydd yr Arglwydd, ar unrhyw bryd, yn llenwi ei elynion âg ofn, a'i bobl o'r ochr arall â ffydd ac â hiraethlawn ddysgwyliad, mae hyny yn arwydd lled sicr fod y pethau y dysgwylir am danynt gerllaw. Meddyliwch am y tymmor cyn ymddangosiad Crist yn y cnawd. Yr oedd y byd a'r eglwys yn cydedrych am ei ddyfodiad. Ar ei enedigaeth, ni a ddarllenwn fod doethion o'r byd Cenedlig wedi dyfod i'w addoli ef, a Herod a holl Jerusalem yn cyffroi o'i achos. Ac am rai dirgel Duw yn eu mysg hwy, megys Simeon a llïaws eraill, dyma oedd hynodrwydd eu hysbryd: dysgwyl am ddyddanwch yr Israel. Ië, mor gryf a chyffredinol oedd y dysgwyliad am y Messïah yn y tymmor hwnw ymysg y genedl, fel y mae yr Efengylwr yn dyweyd pan y

daeth Ioan Fedyddiwr i'r golwg fel dyn cyhoeddus, fod y bobl yn dysgwyl, a phawb yn ymofyn yn eu calonau am Ioan, ai efe oedd y Crist. A'r un modd yn flaenorol i ddinystr Jerusalem. Yr oedd dynion o bob math "yn dysgwyl y pethau oedd i ddyfod ar y ddaear:" rhai yn llewygu gan ofn wrth feddwl am danynt, ac eraill yn dysgwyl ac yn brysio at ddyfodiad dydd Duw. Ac yr ydym oll yn gwybod na thwyllwyd mo'r byd gan ei argraffiadau y pryd hwnw. Fe ddaeth Mab Duw, Angel y Cyfammod, i'w deml; do, ac fe ddaeth hefyd i'w dinystrio, yn ol fel y dysgwylid am dano. Yn awr, meddyliwch am ein hoes ni. Onid yw yr ysbryd yma yn ei hynodi? Mae yn adeg, nid yn unig o ragbarotöad, ond o ddysgwyliad hefyd, a hyny ymysg pob dosbarth o ddynion. Mae y *politician* yn dysgwyl, y philosophydd yn dysgwyl, ac astudiwr y prophwydoliaethau yn dysgwyl; ïe, cristionogion yn gyffredinol, fe ellid meddwl, wedi troi i edrych yn fwy am y dyfodol. "Fe ellir sicrhâu," medd un awdwr, "nad oes neb ag sydd wedi ystyried yn ddyladwy y cwestiynau hyny, pa rai a godwyd yn ddiweddar i gymaint o sylw, heb deimlo dan orfod i gydnabod fod gradd mawr o debygolrwydd yn cefnogi y grêd o ddynesiad ymagoriad anarferol o ddirgelwch rhagluniaeth tuag at wledydd Crêd, ac hwyrach tuag at holl deulu dyn. Bod y tebygolrwydd hwn yn gryf, a ellid ddadleu oddiwrth y ffaith, ei fod yn gweithio cydgyfarfyddiad cyffredinol mewn crêd ymysg dynion, y rhai y mae eu dull o feddwl am y rhan fwyaf o bethau yn dra annhebyg i'w gilydd. Mae cristionogion yn nghanol llïaws o wahaniaethau barn, gyda dystaw neu gyffesedig ddysgwyliad, yn cydedrych am ysgogiad a chynnydd, naill ai drwy adfywiad ar ymadferthoedd y moddion hyny ag sydd mewn ymarferiad eisoes, neu ynte trwy sydyn weithrediad newydd achosion." Mae yn rhaid i ni, mae'n wir, wedi y cwbl, gydnabod nad oes genym ond gofyn, Pa hyd y bydd hyd ddiwedd y rhyfeddodau hyn? Ac eto nis gallwn lai na meddwl nad oes galwad arnom i drwsio ein lampau. Mae ansawdd bresennol dynolryw, dyheuadau cyffredinol yr eglwys, ynghyda chyflym ysgogiadau Llywodraethwr y byd yn ei ragluniaeth y dyddiau hyn, yn rhagarwyddion fod y Prïodfab yn dyfod, ac megys yn cyd-ddywedyd am dano yn debyg fel y dywedai Naomi am Boaz gynt, "Ni orphwys y gŵr nes gorphen y peth hwn heddyw."

3. Mae *natur y gorchwyliaethau* hyny, trwy ba rai mae y pethau yr ydym yn eu dysgwyl i gael eu dwyn ymlaen a'u cyflawni, yn alwad arnom i ymbarotôi, ac i wneyd ein goreu ar ein cael ganddo Ef mewn tangnefedd.

Fel yr ydym wedi awgrymu eisoes, mae gorchwyliaethau Crist yn aml, mewn cysylltiad â'i deyrnas yn y byd, o anghenrheidrwydd yn orchwyliaethau dïaleddol. Mae rhyw ddyfodiad neillduol o'i eiddo at ddynion yn y gorchwyliaethau hyny, ac y mae yn dyfod i wneuthur barn ar y ddaear. Ar dymmorau felly, mae yn penderfynu tynghed cenedloedd cyfain, yn edrych i mewn i'w ffyrdd a'u hymddygiadau dros oesoedd lawer, hwyrach, ac yn ei gyfiawnder a'i ddoethineb yn dïal am y pethau a basiodd, ac yn arloesi y pethau sydd, mewn trefn i wneyd lle i'r pethau sydd i ddyfod. O anghenrheidrwydd, gan hyny, mae cyfnodau o'r fath yn gyfnodau o brawf ac enbydrwydd. Felly yr oedd gyda golwg ar ddinystr Jerusalem gynt. Pan y gofynodd y dysgyblion i Iesu Grist pa arwydd a fyddai o'i ddyfodiad yn yr orchwyliaeth hòno, mae yntau yn ateb ac yn dyweyd wrthynt, y byddai wyneb y ddaear megys wedi addfedu i farn, anwiredd yn amlhâu, a chrefydd yn adfeilio, ac o'r llygredigaeth cyffredinol a ffŷnai ymysg y genedl y byddai erlidiau a phob gwallgofrwydd yn tòri allan, ac yn y man y cyfan yn cael eu dilyn gan ryfeloedd, newyn, a heintiau, a phethau ofnadwy, hyd oni ddeuai y byd hwnw i'w ddiwedd yn nghanol pob arwyddion o ŵg ac o ddïaleddau y Goruchaf.

O fy nghyfeillion, y mae Barnydd yr hen genedl hòno eto yn fyw! mae efe yn Farnydd yr holl ddaear hefyd, ac i'w ddysgwyl eto ar lwybr ei farnedigaethau. Ac os oedd dysgwyl y pethau hyny gynt yn alwad ar y cristionogion Iuddewig i ymbarotôi, caniatewch i mi ofyn i chwi yn awr, Pa ryw fath ddynion a ddylech chwi fod mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb? Hyd yma, mae yn wir, yr ydym ni a'n gwlad wedi ein harbed yn rhyfedd; ond dylem gofio mai gweddill diangol ydym. Mae barnau Duw wedi bod yn cynniwair ar bob llaw i ni; ac nis gwyddom beth a ddygwydd eto ar y ddaear. Pa fodd bynag, nid oes dim ammheuaeth fod yr amseroedd hyn yn amseroedd hynod, y fath a'r na welsom ni, na'n tadau yn yr oesoedd o'n blaen ni, mo'u cyffelyb.

Yn ein dyddiau ni, mae y newyn a'r haint wedi bod yn tramwyo drwy y ddaear, a miloedd o'n cyd-ddynion wedi eu cwympo trwyddynt megys oddiwrth ein hystlys i dragywyddoldeb. Ac am ryfeloedd drachefn, meddyliwch am y tair blynedd ar ddeg diweddaf. O'r flwyddyn 1848, pryd ag y bu daeargryn mawr dros wyneb Cyfandir Ewrop, gorseddau yn syrthio, a phenau coronog yn ffoi, mae cleddyf yr Arglwydd, chwi a wyddoch, o'r amser hwnw hyd yn awr, byth heb lonyddu. Ar ol hyny, mae wedi bod yn cynniwair o'r dwyrain i'r gorllewin; Crimea, India, China, ac Italy; ac yn awr, mae allan drachefn yn America,* tra mae y teyrnasoedd eto yn ymbarotôi, ac wedi deffro i ddysgu rhyfel yn fwy nag er ys llawer o flynyddoedd. Yn wir, o'r ddirgrynfa hòno yn Ffrainc yn 1789 hyd yma, mae Ewrop byth heb lonyddu. Ac os yw yr eglwys wedi deffro yn fwy at ei gwaith, mae Satan a phechod wedi deffro hefyd. Yn awr ac yn y man o hyd, mae erlidiau yn tòri allan yn ngwledydd anghristaidd a phaganaidd y ddaear. Chwi gofiwch yn neillduol am Madagascar, lle y merthyrwyd, yn ol yr hanes, yn ein hoes ni, ddwy fil neu ychwaneg o gristionogion. Ai dechreuad gofidiau yw hyn oll? O mor hwyrfrydig ydym ni i gredu hyny! Ein doethineb, pa fodd bynag, ydyw gwneyd ein goreu ar ein cael ganddo Ef mewn tangnefedd. Mae llawer o arwyddion nad yw y diwedd eto. Os ceir ambell i awr dêg rhwng cawodydd, mae y cymylau drachefn yn sicr o ddychwelyd ar ol y gwlaw. Ni chaiff y byd, ond odid, ddim llonydd bellach, hyd oni byddo, drwy bangfeydd a phoenau, wedi esgor ar ogoniant y dyddiau diweddaf.

4. Yr ystyriaeth olaf a gyflwynwn oddiyma fel galwad i ymbarotôi ydyw, *Pan ddelo Duw allan ar lwybr ei farnedigaethau, mae yn sicr o* GAEL *dynion.*

"Edrychwch," medd yr apostol, "ar eich cael ganddo ef mewn tangnefedd." Fel pe dywedasai, Nid oes dim ammheuaeth na cheir chwi gan Dduw pan y delo; ond a geir chwi ganddo Ef mewn tangnefedd, sydd beth arall; edrychwch chwi at hyny. Yn gyffredinol, mae dynion yn hwyrfrydig iawn i gredu fod yn bosibl iddynt hwy gael eu goddiweddyd gan farnau yr Hollalluog. Yn wladol a phersonol, yr ydym ni yn neillduol wedi cynefino

* Ysgrifenwyd hyn yn niwedd y flwyddyn 1862.

cymaint â heddwch fel na fynem ddysgwyl dim yn amgenach. Dirmyga llawer bob dychymyg am y fath beth. Ac os daw drygau, ymwenieithant fod ganddynt hwy lïaws o ffyrdd i ddïogelu eu hunain rhagddynt, a chymerant y neb a ddynoetho eu gau hyder a'u noddfeydd celwyddog yn destun gwawd. Ond yn aml, nid yw y watwariaeth anghrediniol yma ddim amgen nag un o'r arwyddion fod y drwg yn agosâu. "Gwrandewch air yr Arglwydd, ddynion gwatwarus," medd y prophwyd Esaiah; "am i chwi ddywedyd, Gwnaethom ammod âg angeu, ac âg uffern y gwnaethom gynghrair; pan ddêl ffrewyll lifeiriol, ni ddaw atom ni; canys gosodasom ein gobaith ar gelwydd, a than ffalsder y llechasom; am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Mi a osodaf farn wrth linyn, a chyfiawnder wrth bwys; y cenllusg a ysguba noddfa y celwydd, a'r dyfroedd a foddant y lloches. A diddymir eich hammod âg angeu, a'ch cynghrair âg uffern ni saif; pan ddêl y ffrewyll lifeiriol, byddwch yn sathrfa iddi." Yr un wêdd y mae Paul yn dywedyd wrth y Thessaloniaid: "Oblegid chwi a wyddoch eich hunain yn hysbys, mai felly y daw dydd yr Arglwydd fel lleidr yn y nos; canys pan ddywedant, Tangnefedd a dïogelwch, yna y mae dinystr disymwth yn dyfod ar eu gwarthaf, megys gwewyr esgor ar un a fo beichiog; ac ni ddïangant hwy ddim." O fe fyddai yn drugaredd pe caffai pechadur sylweddoli weithiau yn ei feddwl y gall y cwpan ddyfod ato yntau! ac fe ddaw hefyd o'r diwedd, er ei fod ef yn ddiofal. O ran ei orchwyliaethau barnol, nid anfynych y cyffelybir y Brenin Mawr, yn yr Ysgrythyrau, i lew neu grëadur rheibus yn cynllwyn i'w ysglyfaeth; mae yn syrthio ar ddynion yn ddisymwth. Tra maent hwy, fel yr aderyn ynfyd, ac heb galon, yn ddiolwg ar eu perygl, mae Efe, o'r ochr arall, yn cael ei olygu fel yn gwylio arnynt er niwed iddynt; mae yn dyfod allan i'w herbyn gydag amcan, a chyda phob moddion cymhwys i gyrhaeddyd yr amcan hwnw. Cyffelybir ei farnedigaethau i'r offerynau celfyddgar, yn rhwydau a maglau, y bydd plant dynion yn eu gwneuthur, ac yn eu gosod o bwrpas i ddal eu gwrthddrychau. "A syrth yr aderyn yn y fagl ar y ddaear," medd y prophwyd Amos, "heb fod croglath iddo? a gyfyd un fagl oddiar y ddaear heb ddal dim?" Na, nid o ddamwain y mae hyny yn dygwydd i'r aderyn, ac nid yn ofer ychwaith y mae'r fagl yn cael ei gosod iddo. Hyny yw, mae Duw yn ei

orchwyliaethau barnol yn amcanu at ddinystr ei elynion, ac yn hyny mae yn sicr o lwyddo. Felly y dywed Solomon: "Canys ni ŵyr dyn ychwaith ei amser; fel y pysgod a ddelir â'r rhwyd niweidiol, ac fel yr adar a ddelir yn y delm, felly y delir dynion yn amser drwg, pan syrthio arnynt yn ddisymwth." Weithiau mae y Duw mawr yn tynu ei rwyd dros wlad gyfan ar unwaith, ac yn dal miloedd o'i thrigolion, a phryd arall yn neillduo yr ychydig o ganol y llïaws, gan eu gosod yn nôd i'w saeth. Ac ni a allwn fod yn sicr fod Duw yn annelwr mor gywir fel y mae ei saeth yn sicr o daro, a'i fŵa mor gryf fel y mae yn sicr o glwyfo.

O, nid oes genym ni ddim dychymyg mor druenus yw cyflwr gwlad yn amser diwedd anwiredd! y mis wedi dyfod, a'r asen wyllt wedi ei dal; dynion wrth y miloedd yn syrthio i ddwylaw y Duw byw! *Wedi eu cael ganddo Ef:* eu cael ganddo yn bersonol a theuluol; yn eu hamgylchiadau allanol, ac yn eu cydwybodau yn dumewnol: barnau y Goruchaf yn eu hamgylchu fel eryrod, a'r naill megys yn ymborthi ar weddill y llall. Wedi gochel un drwg, mae drwg arall yn dysgwyl am danynt. Pan yn dïanc megys rhag crafanc y llew, mae y crëadur yn syrthio i balf yr arth; a chyda'i fod yn ymachub o'r trychineb hwnw, mae y sarph yn ei frathu. Yn yr amgylchiadau hyn, mae y Bibl yn darlunio plant dynion megys yn gwallgofi mewn cynddaredd ac anobaith. "Fel tarw gwyllt mewn magl—llawn ydynt," medd y prophwyd, "o lidiogrwydd yr Arglwydd, a cherydd dy Dduw." O bobl, mae yr Arglwydd yn sicr o ddyfod, ac yn sicr o'n cael ninnau yn ei ddyfodiad! ac nis gwyddom pa mor gynted. Er mai un genedlaeth a fydd byw pan y daw efe i'r farn ddiweddaf, eto mewn rhyw ystyr, nid yw oes y byd yma ond un farn gyffredinol. Mae y Barnwr yn dyfod yn barhäus, at y naill genedlaeth ar ol y llall. Ymhob dygwyddiad mawr yn y byd, ïe, yn marwolaeth pob person unigol, mae yr Arglwydd yn dyfod ac yn barnu. "O herwydd paham, anwylyd, gan eich bod yn dysgwyl y pethau hyn, gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo Ef mewn tangnefedd."

II. Ni a roddwn rai cyfarwyddiadau i gyflawni y ddyledswydd tuag at gyrhaeddyd yr amcan bendigedig a osodir yma o'n blaen: ein "cael ganddo Ef mewn tangnefedd."

Chwi a graffwch fod yr apostol yn siarad â dynion ag oeddynt yn dysgwyl am ddyfodiad yr Arglwydd. Yn adn. 11eg a'r 12fed, mae yn seilio ei appeliadau atynt, nid ar eu ffydd hwy yn y gwirionedd hwnw, ond yn hytrach ar y gwirionedd ei hunan, ac yn dangos y dylasent fod yn dysgwyl ac yn brysio at ddyfodiad dydd Duw, yn gymaint a bod yn rhaid iddo fod, a'i fod o'r fath ganlyniadau. Ond yma mae yn cymeryd yn ganiatäol eu bod yn dysgwyl am y pethau hyn; ac ar y sail hòno mae yn eu cymhell i droi eu ffydd i ymarferiad, ac i ymddwyn yn deilwng o ddynion ag oeddynt gyfranogion o'r fath ddysgwyliad. "O herwydd paham, anwylyd, gan eich bod yn dysgwyl y pethau hyn, gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo Ef mewn tangnefedd."

Dydd, neu ddyfodiad yr Arglwydd, yw natur y dysgwyliad. Cymerwch ef yn y golygiad a fynoch chwi: dydd ein marwolaeth, dydd y farn gyffredinol, a phob dydd barn arall llai na hwnw, a gwystlon o hono, a ddichon ein goddiweddyd ar y ddaear. Yn yr holl ystyriaethau hyn, nid ŵyr neb o honom pa awr y daw ein Harglwydd. O bobl, a ydych chwi yn credu y pethau hyn? A ydych chwi yn byw yn y dysgwyliad am danynt? Ni a gymerwn yma yn ganiatäol eich bod yn ateb, Yr ydym felly. Wel ynte, ceisiwn ddangos i chwi pa fodd y dylai eich ffydd yn y fath bethau brofi ei hunan, pa effeithiau a ddylai gynnyrchu yn eich calonau, ac ymha ymarferiadau y dylai eich cadw, ac y gwna hefyd os yw yn gywir, tuag at eich cael ganddo Ef mewn tangnefedd. Caniatewch i ni nodi ychydig bethau mewn dull o'u cymhell arnoch.

1. Er eich cael ganddo Ef mewn tangnefedd, bydded i'ch dysgwyliad am y pethau hyn eich harwain *i gofleidio Crist a'r efengyl.*

Heb hynyma nid oes dim ffydd, ac nis gall y bydd tangnefedd, yn nyfodiad yr Arglwydd. Yn achos yr efengyl yn benaf mae Crist yn dyfod ac yn barnu. Weithiau, mae y gorchwyliaethau barnol yn blaenori yr efengyl, ac yn parotôi dynion i'w derbyn; ond fynychaf, dybygid, y maent yn ei dilyn fel cosb a dïaledd ar ei gwrthodwyr. Felly mae yr apostol yn dyweyd yr ymddengys "yr Arglwydd Iesu o'r nef, gyda ei angelion nerthol, â thân fflamllyd, gan roddi dïal i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufuddhâu i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." Bob amser,

mae hyn yn rhan arbenig o ddyben ei ymddangosiad. Amlyga ei ŵg, hyd yn nôd drwy yr efengyl ei hunan. Tra mae gorchwyliaethau ei ragluniaeth yn arwyddion allanol o'i anfoddlonrwydd, mae efe yr un amser yn gwneuthur barn, trwy ei air a'i Ysbryd, yn nghydwybodau pechaduriaid yn dumewnol. Felly dywedir ei fod yn taro y ddaear â gwialen ei enau, ac mai âg anadl ei wefusau y lladd efe yr anwir. Mae gwaith mawr yn myned ymlaen mewn tymmorau felly: y drygionus yn cael eu dallu, eu caledu, a'u lladd, a'r saint hwythau yn cael eu puro, eu cànu, eu profi, a'u dwyn yn nês at Dduw. Ond y mae yr oll yn cael ei ddwyn ymlaen mewn ffordd o gerydd a barn. Er fod yr Arglwydd yn arbed ei bobl, eto mae yn dïal am eu dychymygion. Beth ynte fydd gwrthodwyr Crist a'r efengyl yn y fath amser? "Efe," medd yr apostol, "yw ein tangnefedd ni;" ein tangnefedd ni ymhob amgylchiad, a than bob gorchwyliaeth. "Hwn," medd y prophwyd, "fydd yr heddwch pan ddelo yr Assyriaid i'n tir ni." Yn wyneb rhuthriadau gelynion o bob math, ysbrydol ac allanol, euogrwydd cydwybod, a chystuddiau corfforol a theuluaidd, ïe, pe gwelem yr holl wlad wedi ei gwthio i dywyllwch, eto i'r credadyn fe gyfodai goleuni yn y tywyllwch hwnw. Y mae efe yn profi mewn amseroedd felly bod ganddo heddwch tuag at Dduw, ac fel y mae dyoddefiadau Crist yn amlhâu ynddo ef, felly trwy Grist fod ei ddyddanwch ef hefyd yn amlhâu. Ond o'r ochr arall, pan y byddo Duw yn gadael pechadur fel gwrthodwr o Grist a'r efengyl, mae pob gobaith am heddwch wedi darfod. Heddwch wedi gwrthod Crist, fy enaid! pa heddwch? beth fydd i ti a ymofynech am heddwch mwyach? Ni bydd yn natur Duw, yn ngair Duw, nag yn ngorchwyliaethau Duw, ddim ond defnyddiau dychryn i gydwybod y fath un. Pa bryd bynag y caffo Duw bechadur felly, gelyn fydd yn cael ei elyn, yr hwn nis gollwng efe mewn ffordd dda. "Canys os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach, eithr rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr." O y mae yn beth difrifol, hyd yn nôd i'r dyn duwiol, gyfarfod â Duw yn ei farnedigaethau; ond "beth a fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i efengyl Duw?" "Dechreu" y mae y farn ar y naill, ond "diwedd" y lleill ydyw; a beth a fydd y diwedd hwnw? Dy

gael yn elyn wedi gwrthod cymmod,—marw wedi bod yn rhy ddiofal i geisio, neu yn rhy ystyfnig i dderbyn, maddeuant a bywyd! Bydd rhyw elfenau yn gymysgedig â chosbedigaeth y cyfryw na byddant yn nghwpan neb arall. "Yr hwn a ddirmygai gyfraith Moses, a fyddai farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion. Pa faint mwy cosbedigaeth, dybygwch chwi, y bernir haeddu o'r hwn a sathrodd Fab Duw, a farnodd yn aflan waed y cyfammod trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Ysbryd y gras? Canys ni a adwaenom y neb a ddywedodd, Myfi biau dïal, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd. A thrachefn: Yr Arglwydd a farna ei bobl." Cystal a dywedyd, Os fy mhobl broffesedig fy hunan a fydd ddirmygwyr yr efengyl, arnynt hwy y disgyn y farn. A diammheu y gallwn ychwanegu yn ngeiriau Iesu Grist, "y bydd yn esmwythach i Sodoma a Gomorrah yn nydd y farn" hòno nag iddynt hwy.

Pan y byddo cenedl neu wlad yn euog o wrthod yr efengyl, ac yn enwedig pan y byddo, oddiar gariad at bechod a chrefydd ddrwg, nid yn ei gwrthod yn unig, ond gyda hyny yn ei gwrthwynebu, ac yn erlid pawb a'i carant, mae barn Duw wrth bob tebyg yn aros cenedl felly, a barn hefyd, ond odid, yn yr hon y gwna y fath amlygiad o'i anfoddlonrwydd a'i ddïaledd ag a fydd yn ddechreuad ac yn wystl o'r farn dragywyddol. Felly, ni a wyddom, y cyflawnodd yr hen Iuddewon fesur eu hanwiredd, a mesur eu tadau, ac y dygasant arnynt eu hunain y digofaint hwnw ag yr oedd euogrwydd cynnyddol yr oesoedd wedi ei drysori ynghyd, yr hwn, yn ol tystiolaeth yr apostol, a "ddaeth arnynt hyd yr eithaf." Ac nid oes dim ammheuaeth mai dyma fydd diwedd y byd anghristaidd eto. Ac os oes arwyddion fod yr amser yn agosâu, mae yr alwad hòno yn uwch arnom ni, i wylio rhag bod yn gydgyfranogion o'i bechodau, fel na dderbyniom o'i bläau. Mae yn wir y gall dynion fod yn wrthodwyr o'r efengyl mewn meddwl a chalon, o dan uchel broffes o honi, a zêl dros ei hathrawiaeth a'i haddoliad. Ond o'r ochr arall, os byddant yn llacio yn y broffes hòno—eu hanwybodaeth a'u hadfeiliad yn dyfod i'r golwg mewn diffyg eiddigedd a zêl dros yr efengyl, a diffyg arswyd rhag ac ymröad yn erbyn y pethau gwrthwyneb iddi, ac yn lle hyny yn dechreu, oddiar ryw demtasiynau neu gilydd, ymgymmodi â hwy yn eu meddyliau, ac yn goddef i'w plant gael eu

llygru ganddynt, ac ymgynnefino â hwy o'u mabandod, yn ddïau mae gwlad o bobl felly yn addfedu i ymadawiad. Mae Satan yn gwybod hyny yn dda, ac yn aml yn taro i mewn gyda yr achlysur; a thrwy lïosogi y temtasiynau hyny, a chynhyrfu ei offerynau twyllodrus a dichellgar, mae yn hudo dynion oddiwrth y ffydd. Mae yn chwith meddwl fod cynllwyn fel hyn gyda golwg ar Gymru yn bresennol: y fath ddyddiau yr ydym wedi haeddu byw i gael eu gweled! Yn ngeiriau un o'n hen dduwinyddion gallwn ddywedyd, "Yr wyf yn llwyr gredu eu bod hwy, yn nwylaw pa rai y mae llywyddiad yr achosion Pabaidd ac Anghristaidd trwy y byd, yn ymdrechu i ddwyn eu coelgrefydd a'u llygredigaeth i mewn arnom ni." Gwae, gwae y dyn hwnw yr hwn y mae ei ddibrisdod o'r efengyl yn amlygu ei hunan trwy duedd i roi clust dros fynyd i'r fath ysbrydion cyfeiliornus, ac athrawiaethau cythreuliaid! pethau y mae Duw drwy y diafol, yn eu danfon i ddynion yn ei gyfiawnder, fel y damnier hwy, "am na dderbyniasant gariad y gwirionedd fel y byddent gadwedig." Yn ddïau ni cheir mo'r dyn hwnw ganddo Ef mewn tangnefedd pan y delo awr ei farn ef ar wrthodwyr ei efengyl (2 Thes. ii. 9; Dad. xiv. 6, 10).

2. Os mynem ein cael ganddo Ef mewn tangnefedd yn amser trallod, *dysgwn gydnabod ac ofni Duw yn ei farnedigaethau.*

Pan y byddo y meirch yma yn tramwyo y ddaear, fe geir llawer yn ofni myned o dan eu traed, ac eto yn meddwl ond ychydig am dano Ef yr hwn sydd yn eu galw allan, ac yn eistedd arnynt. Maent yn arswydo rhag colli eu cysuron daearol, a chael eu taflu trwy y pethau hyn o amgylchiadau dïogel ac esmwyth i enbydrwydd am eu heinioes a phob trueni. Ac yn wir, i natur y mae y pethau hyn yn ofnadwy. Ar yr un pryd nid oes dim crefydd yn yr ofn yma. I'r gwrthwyneb, lle ffÿna yn ormodol, mae yn profi anghof o Dduw, a diffyg ffydd ynddo (Esa. li. 12, 13). Ond am y duwiol, mae efe yn adnabod yr Arglwydd wrth y farn a wna. Nid yr offerynau a'r rhan allanol o'r orchwyliaeth yn unig sydd yn dwyn ei sylw ef, ond yn a thrwy y pethau hyny mae Duw y farn yn ei olwg. Fe glyw ei lais ef yn y gorchwyliaethau barnol yn ymddadleu â dynion yn achos eu pechodau; ac y mae ei sancteiddrwydd a'i fawrhydi gogoneddus yn pelydru trwyddynt i'w feddwl a'i gydwybod, nes llenwi ei galon â gwylder a pharchedig ofn. Dyma yr ansawdd a gynnyrchent yn enaid y Salmydd

duwiol: "Dychrynodd fy nghnawd rhag dy ofn, ac ofnais rhag dy farnedigaethau." A'r un modd y mae'r prophwyd Habaccuc yn llefaru: "Pan glywais, fy mòl a ddychrynodd; fy ngwefusau a grynasant wrth y llef; daeth pydredd i'm hesgyrn, ac yn fy lle y crynais, fel y gorphwyswn yn nydd trallod." Sylwch ar yr ymadrodd hwn. Yr oedd y prophwyd, ni a welwn, yn meithrin yr ofn duwiol yma fel y gorphwysai yn nydd trallod, neu yn ol iaith ein testun, fel ei ceid ef ganddo Ef mewn tangnefedd. Mae y saint ymhob oes wedi profi effeithiolrwydd ofn Duw i lonyddu y gydwybod yn amser adfyd. Tra mae ansawdd galed a digllawn ar y galon mewn profedigaeth yn gosb a thrueni ynddi ei hun, mae yr ofn parchus yma, i'r gwrthwyneb, ynddo ei hunan yn hapusrwydd; mae yn iechyd i'r bogail ac yn fêr i'r esgyrn. Mae i ofnau eraill boenedigaeth, ac y mae y rhai sydd o dan eu dylanwad, yn debyg ag y dywed y prophwyd (Hab. ii. 4), yn "*ymchwyddo*," neu, fel y darllena rhai y geiriau, yn *llewygu*, hyny yw, mewn profedigaethau. Yn lle ymostwng i rodio gyda Duw yn nyffrynoedd adfyd, maent yn ymollwng yn eu heneidiau, a than arweiniad doethineb y cnawd a'u mympwy hunanol eu hunain, yn troi i ffyrdd pechadurus, mewn trefn i osgoi blinderau, ac yn hyny yn dyfetha eu tangnefedd os nad eu heneidiau.

Ond y mae ofni Duw yn ei farnedigaethau yn ddïogelwch mawr rhag yr aflwydd hwn; mae yn cadw yr enaid yn dymherus ac yn amyneddgar, gan ymddarostwng dan alluog law Duw. Felly mae yn cael ei gymhell ar y saint mewn amseroedd blinion. "Canys fel hyn," medd Esaiah, "y dywedodd yr Arglwydd wrthyf â llaw gref, ac efe a'm dysgodd na rodiwn yn ffordd y bobl hyn, gan ddywedyd, Na ddywedwch, Cydfwriad, wrth y rhai oll y dywedo y bobl hyn, Cydfwriad; nac ofnwch chwaith eu hofn hwynt, ac nac arswydwch." Hyny yw, peidiwch ag ofni yr un pethau, nac ofni yr un fath, âg anghredinwyr. Maent hwy yn aml yn ofni lle nad oes ofn. Mae eu heuogrwydd yn eu gyru i ddychymygu yn ddisail am beryglon, a'u hanghrediniaeth a'u hofnau yn eu bradychu i ffyrdd pechadurus wrth geisio eu gochelyd. Ond beth yw y feddyginiaeth rhag y dymher bechadurus yma? "Arglwydd y lluoedd ei hun a sancteiddiwch; a bydded Efe yn ofn i chwi, a bydded Efe yn arswyd i chwi; ac Efe a fydd yn noddfa." Mae y tueddfryd grasol yma yn gostegu

y nwydau terfysglyd, yn dwyn tawelwch, amynedd, ac ymostyngiad i'r galon, ac felly yn cadw y cristion mewn profedigaethau yn berffaith a sefydlog gyda Duw. I'r cyfryw rai y bydd yr Arglwydd yn "noddfa yn amser trallod;" fe'u ceir ganddo Ef mewn tangnefedd. "Ofn yr Arglwydd," medd y gŵr doeth, "a dywys i fywyd, a'r neb y byddo ganddo a erys yn ddiwall, heb i ddrwg ymweled âg ef."

3. Er ein cael ganddo gan Grist yn ei orchwyliaethau barnol mewn tangnefedd, *gwnawn Ef, trwy ffydd, mewn modd neillduol yn noddfa gyda golwg arnynt.*

A ydych chwi yn gweled arwyddion fod y dyddiau diweddaf a'u hamseroedd enbyd ar eich goddiweddyd, pa un bynag ai dyddiau diweddaf y byd yn gyffredinol, yr eglwys, neu y blaid grefyddol y perthynwch iddi, ai ynte eich dyddiau diweddaf chwi eich hunain ar y ddaear? A ydyw y rhai hyn yn peryglu bod yn ddyddiau blin i chwi, ac yn flynyddoedd yn y rhai y dywedwch nad oes i chwi ddim dyddanwch ynddynt? Os felly, cofiwch yn llaw pwy mae eich amserau. Ac os ydych yn cael eich galw i ddyoddef yn ol ewyllys Duw, "gorchymynwch eich eneidiau iddo Ef, megys i Grëawdwr ffyddlawn, gan wneuthur yn dda." Efe a "edwyn ddyddiau y rhai perffaith;" ac fel y bydd eu dyddiau y bydd eu nerth; mae ganddo ofal neillduol am ei blant pan y byddo eu dyddiau yn ddrwg. "Yr Arglwydd hefyd fydd yn noddfa i'r gorthrymedig," medd y Salmydd; "noddfa yn amser trallod." "A gŵr fydd megys yn ymguddfa rhag y gwynt, ac yn lloches rhag y dymhestl; megys afonydd dyfroedd mewn sychdir; megys cysgod craig fawr mewn tir sychedig." Am fod yr Arglwydd fel hyn yn iachawdwriaeth i'w bobl yn amser trallod, mae yn eu galw ato ei hun, ac yn addaw dïogelu y rhai a ymddiriedant ynddo. "Tyred, fy mhobl, dôs i'th ystafelloedd, a chau dy ddrysau arnat; llecha megys enyd bach, hyd onid elo y llid heibio; canys wele yr Arglwydd yn dyfod allan o'i fangre, i ymweled âg anwiredd preswylwyr y ddaear; a'r ddaear a ddadguddia ei gwaed, ac ni chuddia mwyach ei lladdedigion." Nid galwad i ffydd yn gyffredinol ydyw y geiriau hyn, ond galwad i ymarferiad arbenig o honi mewn amgylchiad penodol; hyny ydyw, mae teulu cyfammodol Duw yn Nghrist yn cael eu cymhell ynddynt i ddychwelyd ato mewn modd mwy neillduol, ac i adnewyddu eu cyfammod âg

Ef gyda golwg ar amseroedd blinion. Pan yr oedd yr Arglwydd yn dyfod allan i ymweled âg anwiredd, mynai gael ei bobl allan yn fwy o ysbryd y byd, yn "rhyw fath ddynion mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb." Tyred, fy mhobl, i'r diddosrwydd cyn yr ystorm: mae ystafelloedd yn barod ar dy gyfer; ti a'u cei hwynt yn mhrïodoliaethau fy natur, ac yn addewidion fy ngair, a chyfryngdod fy Mab: dôs i mewn iddynt trwy adnewyddol ffydd a gweddi, megys ag yr aeth Noah i'r arch cyn y diluw; ac, yn debyg i Israel yn eu tai o dan arwydd y gwaed, llecha megys enyd bach, hyd onid elo y llid heibio.

Ni a gawn y Salmydd (Psalm xci.), yn gwneyd felly pan oedd y dyddiau yn ddrwg: "Dywedaf am yr Arglwydd, Fy noddfa a'm hamddiffynfa ydyw; fy Nuw, ynddo yr ymddiriedaf." Ac fel pe y dywedasai, Gwna dithau felly, fy mrawd gorthrymedig: "canys efe a'th wareda di o fagl yr heliwr, ac oddiwrth haint erchryslawn. A'i asgell y cysgoda efe trosot, a than ei adenydd y byddi dïogel; ei wirionedd fydd darian ac astalch i ti. Nid ofni rhag dychryn nos, na rhag y saeth a ehedo y dydd. Wrth dy ystlys y cwymp mil, a deng mil wrth dy ddeheulaw; ond ni ddaw yn agos atat ti; yn unig ti a ganfyddi â'th lygaid, ac a weli dâl y rhai annuwiol. Am i ti wneuthur yr Arglwydd fy noddfa, sef y Goruchaf, yn breswylfa i ti, ni ddygwydd i ti niwed, ac ni ddaw plâ yn agos i'th babell. Canys efe a orchymyn i'w angelion am danat ti, dy gadw yn dy holl ffyrdd; ar eu dwylaw y'th ddygant, rhag taro dy droed wrth garreg. Ar y llew a'r asp y cerddi; y cenaw llew a'r ddraig a fethri. Am iddo roddi ei serch arnaf, am hyny y gwaredaf ef; dyrchafaf ef, am iddo adnabod fy enw. Efe a eilw arnaf, a mi a'i gwrandawaf ef; mewn ing y byddaf fi gydag ef, y gwaredaf, ac y gogoneddaf ef. Digonaf ef â hir ddyddiau, a dangosaf iddo fy iachawdwriaeth." Dyma yr "ystafelloedd" bendigedig i ba rai y mae y saint yn cael eu galw, ac ymha rai maent i lechu mewn amseroedd enbyd. Am y rhai sydd fel hyn yn aros yn Nuw, a Duw ynddynt hwythau, mae yr Arglwydd yn fynych yn ei ragluniaeth, megys y gwnaeth âg Israel yn Gosen gynt, yn gosod rhyw wahân rhyngddynt âg eraill, pan y mae ei farnedigaethau ar y ddaear. Weithiau, mae yn wir, fel y sylwa Job, y mae efe yn dyfetha y perffaith a'r annuwiol: "y ffrewyll yn lladd yn ddisymwth," neu yn ddiwahaniaeth, bawb fel eu gilydd, a Duw fel yn

"chwerthin am ben profedigaeth y diniwed." Ond nid yn wastad, ïe, hwyrach, nid yn aml, y gwna yr Arglwydd felly; mae Barnydd yr holl ddaear yn gwneuthur barn. Os yw croesau cyffredin einioes, fel ei bendithion, yn damwain i bawb fel eu gilydd, mae yn wahanol, dybygid, mewn tymmorau o farnau nodedig. Ei elynion yn benaf yw gwrthddrychau dïaledd y Goruchaf ar dymmorau felly, ac i fesur mawr mae yn cuddio rhai agos ato ei hun. Ac os cyrhaedda y ffrewyll rai o honynt hwy weithiau, o ran y dyn oddiallan, ni bydd hyny ddim ond achlysur trwy ba un y cânt brofi yn fwy effeithiol fod Duw yn wir gyda hwy, yn abl i'w dïogelu yn nghanol peryglon, ac i'w gwneyd yn ddedwydd yn yr amgylchiadau mwyaf adfydus.

Mae duwinyddion yn sylwi bod lle i obeithio oddiwrth yr awgrymau ysgrythyrol, pan ddelo yr ymdrechfa olaf â Phabyddiaeth, yn awr ei barn hi, y bydd dynion agos at Dduw, llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glân, dynion ag y bydd eu gwreiddyn yn erbyn eilunaddoliaeth a holl lygredigaeth y byd anghristaidd, dan ryw amddiffyniad neillduol oddiwrth Dduw yn yr amser hwnw. Hyd yn hyn yr ydym ni wedi cael ein cuddio yn rhyfedd; ond eisieu ein troi a'n bywhâu sydd arnom. Credwn yn sicr fod yr eglwys yn ein gwlad wedi ei dal gan amseroedd enbyd: mae ei hen elynes ddigywilydd yn ymosod arni oddiallan, a phydredd a brâd yn ffŷnu oddimewn; a phe dilynid y pethau hyn eto gan farnau allanol, nis gallem wadu ein bod yn eu haeddu. Ar yr un pryd, mae genym le i obeithio fod y gogoniant heb ymadael o'n mysg: "Israel ni adäwyd, na Judah gan ei Dduw, gan Arglwydd y lluoedd; er fod ein gwlad ni yn llawn o gamwedd yn erbyn Sanct yr Israel." O rhodder i ni galon i droi ato ef! "Fe allai y cuddir ni yn nydd digofaint yr Arglwydd." Hwyrach yn amser rhyfel y gwaredir ni rhag nerth y cleddyf, ac yn amser newyn y cawn ddigon. Ond pa fodd bynag am hyny, yn agos at Dduw ni ddygwydda i ni ddim gwir niwed. Os na waredir ni yn dymmorol, fe'n gwaredir yn dragywyddol. Os na chawn heddwch â dynion, ni a gawn dangnefedd yn Nghrist; modd i "orfoleddu mewn gorthrymderau, ac i orfoleddu dan obaith gogoniant Duw."

4. Mewn trefn i'n cael ganddo Ef mewn tangnefedd, yn ei orchwyliaethau rhagluniaethol, mae yn *rhaid ein cael yn berffaith gyda Duw yn nyledswyddau crefydd.*

Felly y mae yr apostol yn cymhell ei frodyr yma: "Gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo Ef mewn tangnefedd, yn ddifrycheulyd, ac yn ddiargyhoedd." Fel pe dywedasai, Dyma y ffordd i gyrhaeddyd yr amcan hwnw: bod yn ddiargyhoedd mewn sancteiddrwydd, ger bron Duw a'n Tad ni, yn nyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist; y rhai a geir felly ganddo ef, fe'u ceir mewn tangnefedd. Yn adn. 11eg, mae'r apostol yn appelio atynt hwy eu hunain yn y mater yma: "A chan fod yn rhaid i hyn i gyd ymollwng, pa ryw fath ddynion a ddylech chwi fod mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb!" hyny ydyw, mewn bucheddu ac addoli; yn nyledswyddau moesol a dyledswyddau crefyddol yr efengyl. Mae y Saesoneg yn dwyn allan ystyr y geiriau yn fwy cyflawn, trwy ychwanegu "*ymhob* sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb." Mae yn rhaid cael y pethau hyn, nid yn yr egwyddor yn unig, ond yn y cyflawnder o honynt, ac yn tòri allan i'w holl ddyledswyddau prïodol tuag at Duw a dynion. Nid graddau cyffredin o honynt a wasanaetha i gyfarfod â Christ yn ei ddyfodiad; nid y mesur, hwyrach, a fyddai gymeradwy mewn amgylchiadau gwahanol; ond yn *y fath amseroedd*, mae y saint eu hunain yn cael eu galw i fod *yn rhyw fath ddynion* mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb, yn ddifrycheulyd, ac yn ddiargyhoedd, mewn trefn i'w cael ganddo Ef mewn tangnefedd. Nid peth mor hawdd yw hyn. Mae y dynion goreu, dybygid, o'u rhan eu hunain, yn tueddu i adfeilio ac ymlygru yn hytrach, mewn amseroedd drwg, a phan y byddo barnau y Goruchaf yn agosâu. Ac am hyny mae Iesu Grist, pan yn rhagddywedyd am amseroedd felly, yn rhybuddio ei ddysgyblion i wylio rhag hyny: "Edrychwch arnoch eich hunain, rhag i'ch calonau un amser drymhâu trwy lythineb a meddwdod, a gofalon y bywyd hwn, a dyfod y dydd hwnw arnoch yn ddisymwth. Gwyliwch, gan hyny, a gweddïwch bob amser, ar eich cael yn deilwng i ddïanc rhag y pethau hyn oll sydd ar ddyfod, ac i sefyll ger bron Mab y dyn." A'r un modd yr apostolion, pan yn llefaru am yr un amgylchiadau, y maent o hyd yn cyffroi meddyliau eu brodyr, ac yn ymdrechu i'w cadw ar ddihun, ac yn barod i fyned allan i gyfarfod â'r Prïodfab. "A chydystyriwn bawb ein gilydd," medd yr awdwr at yr Hebrëaid, "i ymannog i gariad a gweithredoedd da; heb esgeuluso ein cydgynnulliad ein hunain, megys y mae arfer rhai,

ond annog bawb ein gilydd; a hyny yn fwy, o gymaint a'ch bod yn gweled y dydd yn nesâu."

I hyn y mae arwyddion yr amseroedd yn ein galw ninnau yn bresennol: cariad a gweithredoedd da, dyfalwch ac ysbrydolrwydd yn ordinhadau yr efengyl, neu yn ol iaith yr apostol, "pob sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb." Pan y mae Crist yn dyfod yn ei orchwyliaethau rhagluniaethol, mae yr holl eglwysi yn cael gwybod mai Efe "yw yr Hwn sydd yn chwilio yr arenau a'r calonau." Mae "ei lygaid fel fflam dân, a'i draed yn debyg i brês coeth," ac y mae yn rhoddi i bob un o honynt yn ol eu gweithredoedd. "Ein Duw ni a ddaw," medd y Salmydd, "ac ni bydd dystaw; tân a ysa o'i flaen ef, a thymhestl ddirfawr fydd o'i amgylch. Geilw ar y nefoedd oddiuchod, ac ar y ddaear, i farnu ei bobl. Cesglwch fy saint ynghyd ataf fi, y rhai a wnaethant gyfammod â mi trwy aberth. A'r nefoedd a fynegant ei gyfiawnder ef, canys Duw ei hun sydd Farnwr." Mae cyfnodau fel yma wedi bod cyn hyn pryd y byddai Duw yn gwneuthur barn ar fynydd Sïon, neu yn yr eglwys weledig; ac fe all y peth a fu fod eto. A rhyfedd yw os bydd neb o honom yn meddu tangnefedd a hyder yn y fath amser,—pan y bydd yr Anweledig ei hunan yn barnu dynion yn eu cydwybodau, a nefoedd a daear yn dwyn arwyddion gweledig o'i gyfiawnder a'i soriant yn erbyn eu pechodau. Pwy gan hyny a all ddyweyd, ïe, pwy a all ddychymygu, pa ryw fath ddynion a ddylem ni fod mewn sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb?

Mae Iesu Grist, ni a wyddom, yn rhoi pwys mawr ar yr agwedd yn yr hon y mae yn cael dynion pan y delo. "Gwỳn ei fyd y gwas hwnw (ffyddlawn a doeth) yr hwn a gaiff ei Arglwydd pan ddêl yn gwneuthur felly." Ac o'r ochr arall, os ceir ni ganddo Ef yn debyg i'r gwas drwg hwnw,—tra-arglwyddiaeth a chwantau llygredig yn ffỳnu yn ein calonau trwy anghrediniaeth o ddyfodiad ein Harglwydd—os ceir ni, fel y cafwyd Ahab gynt gan Elias, wedi ymwerthu i wneuthur yr hyn sydd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd—os ceir ni yn debyg i Solomon, pan heneiddiodd, wedi colli yn ei ffyddlondeb i Dduw, ac wedi ymlygru mewn moesau a chrefydd; neu yn debyg i Jehosaphat, brenin Judah, wedi rhuthro, yn ol ein hawydd a'n doethineb ein hunain, i gysylltiadau â ffyrdd pechadurus gydag anturiaethau masnachol a

negeseuau y bywyd hwn—os ceir ni â'n nerth i ddyledswyddau ysbrydol wedi gwywo yn ein heneidiau trwy segurdod a diogi; wedi bod bob amser yn esgeulus o ryw ddyledswydd, yn ddiffrwyth mewn rhyw ras, neu yn caniatâu i ni ein hunain feithrin rhyw lygredigaeth; o leiaf heb ymdrechu mor egnïol i'w farweiddio ag yr oedd ein ffyddlondeb i Grist yn gofyn—os ceir ni felly, meddwn, ganddo Ef, mae yn ddiammheu y bydd genym achos i ddysgwyl am chwerwder yn fwy nag am heddwch, ïe, am chwerwder chwerw. Bydd Crist trwy ei Ysbryd a'i orchwyliaethau rhagluniaethol, yn nghydwybodau dynion felly yn ymddadleu â hwy, ac yn eu ceryddu am eu hen bechodau. Oni bu hyn? medd yr Arglwydd Dduw. Oni buost ti yn ddiffrwyth yn dy deulu, yn awdwr anghydfod yn eglwysi y saint? Oni ddarfu i ti gamdreulio dy amser, a chamwario dy arian, a than broffesu gwasanaethu Crist a'th genedlaeth, dreulio dy oes mewn diofalwch, ac i fyw i ti dy hun? Ah, nid yw y pethau hyn ond bychain yn ein golwg ni yn bresennol; ond gwylia, fy enaid, rhag y byddant yn ochenaid i ti ar ol hyn! "I know some at this day," medd Dr. Owen, "whom omissions of opportunities for service are ready to sink into the grave." Fe gaiff y saint, mae yn wir, dangnefedd yn y diwedd; wedi eu puro a'u cànu trwy eu cystuddiau, fe'u harbedir yn rasol gan Dduw. Ond ar yr un pryd, os na cheir hwy ganddo Ef yn ddifrycheulyd, ac yn ddiargyhoedd, bydd gorchwyliaeth eu glanhâd, mae lle i ofni, yn gymysgedig â chwerwder, a Duw wrth eu harbed yn dial am eu dychymygion. Ond am ddynion pwdr a chlauar gyda chrefydd, bydd Crist yn y fath amser yn eu chwydu allan o'i enau. Trwy y temtasiynau cydfynedol â'i ddyfodiad, bydd llawer rhagrithiwr trwsiadus a thêg yr olwg arno, ïe, hwyrach, uchel ei sefyllfa yn yr eglwys, yn troi yn wrthgiliwr cyhoeddus: dynion yn gadael yr efengyl yn ngwirionedd ei hathrawiaeth, sancteiddrwydd ei gorchymynion, a symlrwydd ei haddoliad, ac yn cael eu rhoi i fyny i goelgrefydd a gwrthnysigrwydd ysbryd, neu i feddwl halogedig ac anghymeradwy. Dedwydd fydd y dynion hyny yn y fath amser a hwn, pa un bynag ai gwael ai gwych, dysgedig ai annysgedig, a fyddont, y rhai y caiff yr Arglwydd eu calonau yn berffaith gydag ef, a'r rhai o ganlyniad a geir ganddo Ef mewn tangnefedd!

Byddwn barod, ynte, i gyfarfod â'n Duw! Os ydyw yn dyfod i chwilio yr arenau a'r calonau, onid yw hyny yn alwad arnom i chwilio ac i iawn farnu ein hunain, i fynu gwybod ein ffyrdd a'n hagweddau pechadurus, mewn trefn i ymostwng o'u herwydd, a diwygio oddiwrthynt, fel na'n barner gan yr Arglwydd? Os ydyw yn dyfod i'n hysgaru oddiwrth y pethau a welir, gwnawn ein goreu ar ein cael ganddo Ef mewn tangnefedd; ein henaid ynom fel un wedi ei ddiddyfnu oddiwrthynt, a'n serchiadau wedi eu rhoddi ar y pethau sydd uchod, a'n hymarweddiad yn y nefoedd. Os ydyw yn dyfod i ddadymchwelyd hen sefydliadau llygredig, ac i adnewyddu wyneb y ddaear, yn wladol ac yn eglwysig, edrychwn, beth bynag a fyddo effeithiau ei waith ar ein cylchoedd crefyddol ni ein hunain, na byddo dim a wnelo yn dramgwydd i'n meddyliau, nac yn lluddias ein hysbryd i ddysgwyl ac i frysio at amseroedd yr adferiad. Ein rhagfarn a'n gwyniau pleidiog a fyddo dan farweiddiad, gan edrych ar y pethau a welir, megys ein gwahaniaethau sectaidd, a'n trefniadau neillduol, fel pethau sydd dros amser, a chadw ein hymlyniad wrthynt, mewn darostyngiad i ysgogiadau rhagluniaeth Ddwyfol yn y byd, fel, pa bryd bynag y delo y Gwaredwr i grëu y nefoedd newydd a'r ddaear newydd yn ol ei addewid, pa beth bynag sydd yn gynnwysedig yn hyny, y caffer ni yn barod i syrthio i mewn âg amcanion ei orchwyliaethau, ac yn alluog i'w ganlyn yn yr adenedigaeth. "Galwedig, ac etholedig, a ffyddlawn," cofiwn, ydyw nodau y rhai sydd gydag ef tra mae y gwaith mawr ar droed. Ac yn y diwedd, wedi i'r ymdrech fyned drosodd, a'r dybenion goruchel gael eu cyrhaeddyd, ni a gawn y cyfryw yn teyrnasu gydag ef, ac yn ymuno â'u gilydd trwy y nefoedd a'r ddaear yn y fanllef ogoneddus hòno, "Aleluia, ac eilwaith Aleluia! oblegid teyrnasodd yr Arglwydd Dduw Hollalluog. Llawenychwn, a gorfoleddwn, a rhoddwn ogoniant iddo Ef; oblegid daeth prïodas yr Oen, a'i wraig ef a'i parotôdd ei hun."

# PREGETH XXVIII.

## CARIAD CRIST YN CYMHELL I FYW IDDO.

2 CORINTHIAID v. 14, 15: "Canys y mae cariad Crist yn ein cymhell ni, gan farnu o honom hyn, os bu un farw dros bawb, yna meirw oedd pawb. Ac efe a fu farw dros bawb, fel na byddai i'r rhai byw fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw drostynt, ac a gyfodwyd."

Y MAE cariadau heblaw cariad Crist yn bod, a'r rhai hyny yn gryfion yn eu cymhelliadau, eithr nad oes farnu ynglŷn â hwynt. I'r gwrthwyneb, y maent yn dallu'r meddwl, ac yn dinystrio o'r galon bob barn ac ystyriaeth. Carodd Samson un o ferched y Philistiaid, ond nid gan farnu y gwnai efe hyny. Yr oedd yr hen bobl, ei rïeni, yn barnu ac yn gweled mai cymhwysach, a nês at reolau gair Duw i'w bobl, a mwy dïogel iddo yntau, fuasai ymbrïodi âg un o ferched ei frodyr yn hytrach nag âg un o'r Philistiaid, y rhai oedd allan o gyfammod Duw. Ond yr oedd ei gariad ati yn dallu Samson; ac yn wyneb pob ystyriaeth a rheswm o'r eiddo ei dad, ei ateb oedd, "Cymer hi i mi, canys y mae hi wrth fy modd i." Amnon a ddywedai, "Caru yr ydwyf fi Tamar, chwaer Absalom fy mrawd;" ond nid gan farnu y gollyngodd efe ei hun i'r cyfryw ddylanwad. Buasai yn hawdd i'r dyn wybod nad oedd bosibl iddo ymollwng i'r fath ysgelerder heb ddwyn gofid i'w deulu, a gwarth ar ei chwaer, a gwneuthur ei hunan, megys y dywedodd Tamar wrtho, fel un o'r ynfydion yn

Israel. Ond yr oedd ei gariad ef y fath âg oedd yn bwrw ymaith farn; nid oedd i'r cyfryw ystyriaethau un effaith ar ei galon. Felly yr un modd y mae am bob peth daearol. Nid gan farnu y mae dynion yn caru cyfoeth a mawredd bydol, a meluswedd buchedd, fel eu prif ddaioni. Y mae yn rhaid iddynt garu'r byd yn ddeillion, ac onidê ni charent ef o gwbl. Y fan y delo yr enaid trwy ffydd i iawn farnu am y byd hwn yn ngolwg pethau byd arall, mae'r gydwybod yn condemnio y cariad ato, a'r serchiadau yn cael eu marweiddio iddo, ac yn darfod âg ef.

Ond am gariad Crist, cydsaif hwn, fel y dengys y testun, â barn meddwl a chalon. Mae yr enaid "gan farnu" yn cael ei gymhell ganddo i fyw i'r Gwaredwr. Os ychydig a wyddost ti, fy nghydbechadur, am nerth cymhelliadau cariad Crist yn dy fynwes, yr achos o hyny yw anmherffeithrwydd dy wybodaeth o hono; ychydig o le sydd iddo yn dy farn, ac yn myfyrdodau crediniol y galon. "Mae cariad Crist yn ein cymhell ni, gan farnu o honom hyn." Mae'r barnu, ni a welwn, yn cydsefyll â'r cymhelliadau, ïe, yn eu cynnyrchu. I'r graddau yr ydym yn sylweddoli cariad Crist trwy ffydd yn yr amlygiadau gogoneddus o hono yn ein hiachawdwriaeth, mae ein heneidiau trwy hyny yn cael eu hennill yn ewyllysgar i fyw i'r Hwn a fu farw drosom, ac i'w garu yn ol, a hyny gyda chymeradwyaeth rheswm, cydwybod, a barn.

"Gan farnu o honom hyn, os bu un farw dros bawb, yna meirw oedd pawb." Gallwn gymeryd yr ymadrodd, "Yna meirw oedd pawb" mewn un o ddau ystyr. Un ydyw, Yr oedd pawb yn haeddu neu dan ddedfryd marwolaeth. Y mae hyny yn cael ei brofi i sicrwydd, gan na fu eu cosbedigaeth hwy yn ddim llai i'w Machnïydd na marwolaeth. Yr ystyr arall yw, Os bu un farw dros bawb, yna bu pawb feirw; hyny yw, Buont feirw yn yr Un hwnw a fu farw yn eu lle; ac wedi marw y farwolaeth haeddiannol ynddo ef, yr hwn a fu farw drostynt, ac a gyfodwyd, rhai byw ydynt mwy; ni welant farwolaeth yn dragywydd mwyach. Y golygiad olaf, medd y beirniaid diweddar rhagoraf, yw gwir ystyr y geiriau. Ond gallwn ni eu defnyddio yn bresennol yn y naill ystyr a'r llall, yn gymaint a bod pob un o honynt yn wirionedd.

Bellach ni a alwn sylw at yr ystyriaethau yn y testun am gariad Crist, y rhai wrth eu barnu, neu eu hystyried, y mae'r credinwyr

yn teimlo'r cariad yn eu cymhell i fyw iddo Ef, yr hwn a garodd felly.

I. *Mae cariad Crist yn cymhell y credadyn i fyw iddo gan farnu* AM FAWREDD Y WAREDIGAETH AG Y MAE EI GARIAD YN ACHOS O HONI.

"Meirw oedd pawb." Dyna y cyflwr truenus y cafodd y Gwaredwr ni ynddo; ac ynddo y buasem byth o'n rhan ni. "Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod; ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymaint â phechu o bawb." Ac fel y mae pawb yn dyfod i'r byd yn bechaduriaid, y mae pawb hefyd, ar ol dyfod iddo, yn tòri allan yn bechadurus, yn ychwanegu pechu yn erbyn yr Arglwydd, ac felly "yn trysori" fwyfwy "iddynt eu hunain ddigofaint erbyn dydd digofaint, a dadguddiad cyfiawn farn Duw."

Wrth i ni sôn am y trueni hwn, cofiwch, fy nghyfeillion, pwy yw ei ddeiliaid. Y maent yn agos iawn atoch. Chwychwi eich hunain ydynt, ynghydag anwyl blant eich mynwesau. Ac ystyriwch pa fath ydyw. Mae yn drueni cyfled â'ch holl natur, ac i bara cyhyd â'ch hanfodiad. "Meirw oedd pawb:" dan gondemniad marwolaeth o ran eu personau, a than arglwyddiaeth marwolaeth o ran eu hysbrydoedd.

A'th osod yn wyneb cyfraith Duw, bechadur, ti a ddylit farw; ïe, yr ydwyt eisoes yn farw mewn barn; ac y mae'r farwolaeth hon nid *i*, ond *wedi*, ymaflyd yn y corff a'r enaid, ac yn gweithio at farwolaeth dragywyddol. Y mae'r trueni yr ydym yn ceisio ei ddesgrifio o anghenrheidrwydd yn fawr, wrth i ni ystyried nad oes dim llai na bywyd wedi ei ddinystrio trwy bechod. Nid ar gyfrif ei amddifadrwydd o fywyd na bu erioed yn bosibl iddo y dywedir fod pechadur yn farw; nage, eithr wedi ei ladd y mae efe. Mae'r farwolaeth trwy bechod yn gyfryw ag sy'n teyrnasu lle bu bywyd yn teyrnasu unwaith, a lle y dylasai fod yn teyrnasu byth. O ganlyniad, nis gall y crëadur lai na bod yn druenus, oblegid y mae wedi colli yr hyn y gwnaed ef iddo, a'r hyn ag oedd anhebgorol i'w ddedwyddwch. Mae'r llysieuyn yn dlws er nad yw yn meddu y bywyd teimladol, a'r anifail yntau yn hapus er heb y bywyd rhesymol; canys ni bu'r bywydau hyn erioed yn perthyn iddynt, nac yn bosibl i'w natur. Ond am ddyn, mae efe trwy bechod wedi colli'r bywyd oedd yn perthyn iddo yn wreiddiol, a hwnw'r

bywyd uchaf oedd yn perthyn iddo; y bywyd oedd yn ogoniant ei natur, a thrwy ba un yr oedd i gyrhaeddyd amcan ei grëadigaeth.

Bywyd Duw yn y dyn oedd hwn, yn gynnwysedig mewn gwybodaeth am dano a chariad ato, ac yn uno yr enaid âg ef fel ffynnon ei ddedwyddwch. Wrth golli y bywyd hwn, gan hyny, yr oedd yr enaid yn colli Duw ei hunan a phob cymundeb âg ef; ac nid oes mwyach yn aros i'r crëadur ond yr hyn a'i galluoga i ymdeimlo â'i drueni. Yn y cyflwr alaethus hwn, a'u calon wedi marw i Dduw, heb gariad ato, ac felly yn analluog i ymhyfrydu ynddo, ac i'w fwynhâu, y mae lle i ofni fod miloedd o'r rhai sydd yn arfer gwrando yr efengyl yn y dyddiau hyn yn wynebu tragywyddoldeb, y byd hwnw nad oes neb na dim ynddo i'w fwynhâu ond Duw. Yno bydd bronau y crëadur yn hesbion, y blysiau anianol a'u gwrthddrychau wedi colli eu gilydd, a chydddiflanu am byth. Ië, fy nghyfeillion, pe meddyliech am y puraf o'n serchiadau naturiol, pa rai yn y bywyd yma sydd yn ymddangos mor brydferth, ac yn gweini cymaint o hyfrydwch i blant dynion yn yr oll o'u cysylltiadau â'u gilydd,—y mae yn rhy amlwg fod pechod a marwolaeth wedi eu cyrhaedd oll. Mae yn rhaid eu hadnewyddu trwy ras yr efengyl, a'u gwneyd yn serchiadau ysbrydol, ac onidê hwy a ddiffoddant yn awyr tragywyddoldeb, yn gynt nag y diffydd y ganwyll yn ngoleuni yr haul. Wedi eich dyosg o'ch holl gysylltiadau naturiol, fel gwŷr a gwragedd, a rhïeni a phlant, ni bydd yno un berthynas yn aros ond yr ysbrydol, na neb yn caru eu gilydd ond ar gyfrif eu cydgariad at Dduw yn Nghrist. O mor dlawd, gan hyny, y rhaid i'r annuwiol fod yn y byd hwnw! Heb gariad at Dduw yn aros ynddo, a phob cariadau eraill wedi diflanu, ni bydd rhith o fywyd i'w fwynhâu; yr enaid yn aros yn marwolaeth!

Ac nid hyny yw y cwbl sydd i'w ddywedyd. Bydd y crëadur amddifad yma o fywyd a dedwyddwch yn gorwedd hefyd dan ŵg ac anfoddlonrwydd ei Grëawdwr yn oes oesoedd: "digofaint Duw yn aros arno ef." Os bydd teimladau eraill, yn absennoldeb eu gwrthddrychau, wedi marw o'r galon, bydd presennoldeb Duw ynddi, yn cadw gelyniaeth a malais y galon i'w erbyn Ef yn fyw byth: y teimlad o Dduw yn ysbryd y pechadur, a thymher yr ysbryd hwnw yn ei analluogi i ymuno â Duw, fel dau sylwedd

anghydweddol â'u gilydd wedi cydgyfarfod, ac yn gwrthdaro mewn anghymmod gwastadol. Bydd trueni y crëadur yn ei holl elfenau yn aros yn ymdeimlad llym ynddo, ac yn glynu wrtho fel ei hanfod. Ac mi a allaf ddychymygu mai dyma fydd yn cadw yr enaid yn ymwybodol o'i hanfodiad ei hunan yn y trueni dirfawr. Meddyliwch eich bod yn ymddyddan â dyn claf ryw ddiwrnod, ac yn gofyn iddo, Pa beth yn fwyaf sydd yn dy gadw heddyw yn deimladwy o honot dy hun? Mae dy natur yn wywedig, a holl yni a hoenusrwydd dy iechyd wedi llwyr ddiflanu; pa fodd yr wyt yn gwybod dy fod yn bôd heddyw? Ah, medd y truan, mae fy nghlefyd yn dywedyd wrthyf fy môd; os nad wyf yn teimlo fy mod yn byw, yr wyf yn gorfod teimlo fy mod yn marw; nis goddef fy ngofid a'm poenau i mi anghofio fy hun. Felly pe gofynid yr un cwestiwn i'r enaid colledig yn nhrueni y byd arall, onis gallai yntau ateb yn gyffelyb? 'Mae y pethau arswydlawn ag sydd wedi meddiannu fy nirnadaeth, a'r ing a'r dïaledd yr wyf yn eu teimlo, yn adgofio i mi bob mynydyn nid yn unig fy mod yn cael fy nal mewn bôd, ond fy mod yn grëadur o alluoedd ofnadwy.' Pa fodd yr wyt yn gwybod fod genyt gôf, a hwnw mewn nerth, yn y trueni mawr? 'Onid ydyw yn cadw pechodau fy mywyd ger bron llygad fy nghydwybod bob mynydyn?' Cydwybod! pa fodd y gwyddost dy fod yn meddu ar gydwybod? 'O mae'r pryf yma sydd yn cnoi ynddi yn fy nghadw yn ymwybodol o honi; mae llosgfa y tân anniffoddadwy yn dywedyd wrthyf ei bod hi ynof. Gynt yr oeddwn yn teimlo nerth fy ewyllys a'm serchiadau gan mwyaf yn eu trachwant, a'u gwaith yn ymlenwi o gariad at bleserau darfodedig amser; ond nid felly y maent gyda mi yn awr. Wedi eu hamddifadu o'r pethau hyny, a'u dwyn i gyfarfyddiad â Duw a phethau tragywyddol, nid eu gallu i fwynhâu, ond eu gallu i ddyoddef, eu hanghen, eu dwfn-reddfol elyniaeth, a'u trueni, sydd yn fy nghadw yn ymwybodol o'u hanfod a'u nerth. Yr wyf yn cael fy hunan yn wâg ac anniwall, yn chwennychu heb obaith cyrhaeddyd, ac mewn ymladdfa ddibaid â'm Gwneuthurwr. Yr wyf yn teimlo fod yma rywbeth ynof a wnaed i garu; y mae arnaf eisieu caru, ac eisieu gwrthddrych i'w garu ac i ymhyfrydu ynddo; ond yr wyf yn annhraethol druenus o herwydd nas gallaf garu dim. Os codaf fy ngolwg, ac edrych o'm hamgylch, yr wyf mewn ymryson â Duw ac â phob crëadur; ac os ymneill-

duaf i fy mynwes, yr wyf mewn ymrafael dragywyddol â mi fy hun.'

Dyna uffern! nid diddymiad ond marwolaeth; nid enaid â'i alluoedd wedi eu difodi, eithr y galluoedd wedi eu ehangu a'u cryfhâu i ddyoddef trueni. Ond y mae yn gweddu i mi droi oddiyma mewn arswyd, a brysio i ryw fan siriolach. Bobl ieuainc, gweddïwch am ras Duw i'ch cadw o'r ffordd sydd yn arwain i'r trueni hwn! Dyna y farwolaeth yr oeddem ni wedi ein dedfrydu i'w dyoddef; ac o feddiant hon y mae Iesu Grist yn gwaredu pechaduriaid.

Y mae yn dda genyf allu dywedyd fod y Ceidwad trwy ei aberth a'i iawn yn achub enaid euog rhag y trueni dygn ac annhraethadwy; mae yn codi y person anghyfiawn i ffafr Duw, ac yn adnewyddu y natur lygredig i'w ddelw, a thrwy hyny yn ffurfio cysylltiad newydd rhwng yr enaid â Duw, ffynnon anhysbydd ei ddedwyddwch. Mae yn ddïau pe canfyddem fwy o'r trueni y mae'r farwolaeth a haeddasom yn ei gynnwys, y canfyddem yn wyneb hyny fwy o fawredd a rhyfeddodau y cariad sydd yn achos y waredigaeth oddiwrthi. Wrth sôn am gariad Crist, mae yr apostol Paul yn crybwyll am y llêd a'r hŷd, y dyfnder a'r uchder, sydd yn perthyn iddo (Eph. iii. 18, 19). Ac yn wir, os edrychwn arno yn y waredigaeth yr ydym yn cyfeirio ati, nis gallwn, er ein holl dywyllwch a'n cnawdolrwydd, lai na chydnabod ei fod yn gariad mawr ymhob modd. Ymhob pwynt, y mae yn rhedeg i ryw eithafion sydd ymhell uwchlaw ein gwybodaeth ni. Dyma'r cariad a aeth â'r Gwaredwr bendigedig wrth farw i ddyfnder uffern ei bobl yn eu lle, ac yn ei esgyniad gyda'u hachos goruwch yr holl nefoedd, mewn trefn i'w gwaredu, a'u dwyn yn eu personau eu hunain o'r naill i'r llall, ac yn hyny i ogoniant a dedwyddwch a'u cyflawna yn dragywyddol. Ni bydd yma ddim achos i gwyno, "Bŷrach yw y gwely nag y galler gorwedd ynddo, a chul yw y cwrlid i ymdroi ynddo." Na, fy enaid, nid yw mesurau dy iachawdwriaeth ddim llai na mesurau y Cariad Dwyfol ei hun. Hwn yw ei llêd a'i hŷd, ei dyfnder a'i huchder hi. Edryched y credadyn i'r cyfeiriad a fyno, pa un bynag ai cyn amser, ai mewn amser, neu wedi i amser ddarfod, cariad sydd yn ei amgylchynu ar bob llaw. Pan y daeth ei achos i sylw yn y tragywyddoldeb pell, "yr oeddwn i yno," meddai Iesu Grist, "yn llawenychu yn

nghyfanneddle ei ddaear ef, a'm hyfrydwch oedd gyda meibion dynion." Os oes iddo achos yn y nefoedd rhyngddo ef â Chyfiawnder Dwyfol, Tad sydd yno, ac Eiriolwr gyda'r Tad. Mae cariad yn teyrnasu yn yr holl ymdrin nefol âg achos y pechadur, a hyny trwy gyfiawnder a gwirionedd yn yr iawn mawr. A phan y byddo pyrth uffern yn cynllwyn i'w ddyfetha, mae cariad yno hefyd, i sathru Satan dan ei draed ef ar frys. "Ffyddlawn yw Duw, yr hwn ni âd eich temtio uwchlaw yr hyn a alloch, eithr a wna ynghyd â'r demtasiwn ddïangfa hefyd, fel y galloch ei dwyn." Ac os am angeu y meddyli, gredadyn, nid amgylchiad lle byddi wedi dy droi oddiwrth law y Gwaredwr ydyw hwnw. Yno y bydd y waredigaeth fawr yn cael ei pherffeithio; cariad yn derbyn dy ysbryd i'r gogoniant, ac yn y diwedd yn dy ddwyn, gorff ac enaid, yn ddïogel trwy angeu a'r bedd, i'r digonolrwydd llawenydd sydd ger bron Duw, a'r digrifwch sydd ar ei ddeheulaw yn dragywydd. Dyma orchestwaith iachawdwriaeth: nid yn unig fe wneir y cwbl sydd yn eisieu i waredu yr enaid, a'i berffeithio yn wynfydedig, ond fe'u gwneir oll mewn cariad. Cariad fydd yn ffrydio trwy y cyfan o'r iachawdwriaeth, ac yn melysu ei holl fendithion i'r saint.

Yn awr, bechadur, os wyt ti yn barod i ofyn i mi a ydyw y waredigaeth fawr hon yn perthyn i ti ai nid ydyw, minnau a ofynaf yn ol i tithau, A ydyw y cariad sydd yn achos o honi yn dy gymhell di i fyw i'r Gwaredwr? Nid gofyn yr ydwyf a oes genyt syniadau cywir am dano yn dy feddwl a'th gôf, ond, A ydyw'r syniadau hyny yn effeithio ar dy galon? Gwybod cariad Crist yn iawn, dybygid, yw gweled ynddo y fath ogoniant, a phrofi ynddo y fath ddaioni, ag a fyddo yn marweiddio ein serchiadau at bethau cnawdol a daearol, ac yn dryllio ein henaid gan awydd i fyw i'r Hwn a fu farw drosom ac a gyfodwyd. Yr ydym yn darllen, pan y dychwelodd Dafydd i'w dŷ wedi darostyngiad Absalom, ddarfod i Mephiboseth, ŵyr Saul, yn gloff a methiant fel yr oedd, ddyfod i'w gyfarfod gyda serchogrwydd mawr. Yr oedd ei wyneb yn fudr gan wylo, a'i wisg heb ei golchi, a'i farf heb ei thrîn, gan fel y gwrthodai bob ymgeledd iddo ei hun tra yr oedd ei frenin mewn perygl. "Paham nad aethost ti gyda mi, Mephiboseth?" medd Dafydd. 'Paham hefyd, fy arglwydd frenin? pe buasai fy nhraed mor barod â'm calon, gyda thi yr aethwn i.'

Wel, mi a roddais dy dir i Seba dy was, oddiar glywed dy fod wedi troi yn anffyddlawn i mi; a bellach rhaid iddo ef gael ei hanner. "Ië," medd Mephiboseth, "cymered efe'r cwbl, gan ddyfod fy arglwydd frenin i'w dŷ mewn heddwch." Ond paham yr oedd y dyn yma fel hyn mor ymroddgar i'r brenin Dafydd? Clywch yr hyn a ddywed ef ei hun: "Nid oedd holl dŷ fy nhad i ond dynion meirw ger bron fy arglwydd y brenin; eto tydi a osodaist dy was ymhlith y rhai oedd yn bwyta ar dy fwrdd dy hun." 'Gallasai'r brenin fy lladd pan y daeth gyntaf i'r freniniaeth; ond yn lle gwneuthur hyny, fe'm gosododd i eistedd ymysg ei dywysogion yn y breninllys; ac yr wyf yn teimlo yn rhwymedig iddo byth.' Ond beth, fy nghyfeillion, oedd caredigrwydd Dafydd i Mephiboseth mewn cymhariaeth i gariad Crist yn yr iachawdwriaeth i bechadur y mae yn achos o honi? Yma y mae'r enaid euog yn cael ei symud o dan y condemniad i heddwch Duw ei Farnwr, ei bechodau yn cael eu maddeu, a'i ogoniant mewn sancteiddrwydd a dedwyddwch yn cael ei sicrhâu yn dragywydd. Ac yn yr olwg ar y trueni y mae yn cael ei godi o hono, a'r gwynfyd dyrchafedig y mae yn cael ei ddwyn iddo, mae'r cristion yn cael ei gymhell gyda nerth anorchfygol i fyw i'r Hwn a'i carodd ac a fu farw drosto.

II. *Mae cariad Crist yn cymhell y credadyn i fyw iddo oddiar farnu* AM DREFN Y WAREDIGAETH A EFFEITHIODD EFE.

Nid gwaredigaeth trwy allu yn unig ydyw, ond gwaredigaeth trwy haeddiant; "prynedigaeth trwy ei waed Ef." Yr oedd y gwaith, mae yn wir, yn gofyn gallu i'w gyflawni; ac yr oedd gan ei Awdwr allu diderfyn; eithr gallu ydoedd ag yr oedd pechadur wedi myned allan o'i gyrhaedd am byth, oni buasai iddo gael rhyw sianel newydd i redeg ato ef yn ei wrthryfel a'i drueni. Dynion anwybodus yw y dynion hyny sydd yn hyderus am eu hiachawdwriaeth yn unig oddiar feddwl y gall Duw bob peth. Mae Duw yn Hollalluog, meddant, ac am hyny gall efe ein hachub ninnau. Ië, ond y mae Duw hefyd yn gyfiawn a sanctaidd; ac ni rydd efe allan ei allu ar draul uniondeb a phurdeb. Pe cawsai dyn pechadurus a thruenus ei waredu yn uniongyrchol trwy weithred noeth o allu a gras, mae yn amlwg, ond ystyried, nas gallasai gwaredigaeth yn y fath ffordd fod yn ogoniant i'r Llywodraethwr tragywyddol. Buasai yna y ddeddf wedi ei gadael heb an-

rhydedd, a chyfiawnder Duw heb iawn am bechod; ac am y diafol, y crëadur balch a maleisus, er ei ysgytian, fel Pharaoh gynt, o'i lywodraeth i'r dyfnder, ac i ddyn gael ei ddwyn o'i feddiant, cawsai yntau le i ymffrostio yn ei ystryw a'i gyfrwysdra am byth. Gallasai felly ddywedyd, Wele os ydyw Duw yn drech na mi mewn gallu, yr wyf finnau yn ddyfnach nag yntau mewn doethineb; mi a lwyddais i gael dyn, y crëadur a wnaethai i'w ogoneddu ac i'w fwynhâu, i gyflwr o drueni a dyryswch nas gallasai yr Arglwydd ei waredu o hono ond trwy wadu ei hun, a threisio egwyddorion tragywyddol ei lywodraeth.

Ond yr oedd hyny yn anmhosibl. I waredu dyn, mae yn rhaid nid yn unig ddinystrio llywodraeth y diafol, ond diddymu amcanion y cyfrwys, a throi cynghor yr Ahitophel hwn yn ffolineb. Rhaid achub y pechadur mewn trefn a rydd y fath amlygiad o brïodoliaethau Duw ag a deifl yr hen grëadigaeth megys i'r cysgod —yr hon a ddwg fwy o ogoniant mynegol i Dduw, a mwy, annhraethol fwy, o ddedwyddwch i'r crëadur syrthiedig, na phe buasai efe erioed heb fyned i lawr—a'r hon, tra yn dwyn angelion sanctaidd y nef, a phlant dynion ar y ddaear, i undeb agosach â'u gilydd, ac i ystâd fwy dïogel a nês at Dduw, nag yn eu crëadigaeth, a adawai alluoedd y tywyllwch i ymgynddeiriogi yn eu cywilydd, gan orfod edrych ar eu holl gyfrwysdra a'u hamcanion maleisus yn erbyn Duw a dyn wedi diweddu mewn tragywyddol siomedigaeth. Mi welaf fi ffordd i gyrhaedd hyn oll, medd Doethineb Ddwyfol; ond y mae yn un gostus iawn. Rhaid rhoddi "un i farw dros bawb;" ac nis gwelaf o fewn yr holl grëadigaeth, na thu hwnt iddi yn y Duwdod mawr ei hun, ond un sydd yn ddigon mawr a chymhwys i ymgymeryd â'r gorchwyl; ac nis gwelaf ond un ffordd i berffeithio yr un hwnw fel tywysog iachawdwriaeth. Bydd raid i dragywyddol Fab Duw gymeryd natur yr euog, ac yn ei natur farw yn ei le! Onid allem ofyn yn ngeiriau y prophwyd, "Pwy a glybu y fath beth â hyn? pwy a welodd y fath bethau â hyn?" Ni buasai calon un crëadur yn gallu dychymygu dim am y fath beth; neu, a thybied hyny yn bosibl, mae yn rhaid i ni gredu am bob crëadur sanctaidd y buasai yn arswydo rhoddi lle i'r fath feddylddrych dyeithrol am fynydyn. Ond cafodd y fath drefn le yn y Meddwl Dwyfol. Ac yr oedd yno, nid yn unig ddoethineb i lunio, ond nerth i effeithio; cany

yr oedd cariad anfeidrol yn cadarnhâu dyfais doethineb, ac yn ymroi i weithio y meddwl tragywyddol allan. "A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn, neu a waredir y rhai a garcherir yn gyfiawn?" Tra yr ymffrostiai cythreuliaid fod y peth yn anmhosibl, y mae Cariad yn ateb, "Ië, carcharorion y cadarn a ddygir, ac anrhaith y creulawn a ddïanc." Caiff caethion o ddynolryw ddyfod yn rhydd serch i Dduw roddi ei Fab, a'r Mab roddi ei einioes drostynt.

Felly yn ebrwydd ar ol y cwymp, ni a gawn y bwriad tragywyddol mewn addewid; ac yn y man cawn yr addewid yn ffaith yn mhreseb Bethlehem. "Duw a ymddangosodd yn y cnawd." O gariad atom ni bechaduriaid y daeth, a chariad a'i cymhellodd i fyned trwy holl waith y prynedigaeth. Felly yr ydym yn darllen ei fod yn "ei aberthu ei hun," yn "tywallt ei enaid i farwolaeth," a'i fod "yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes." Pan yr aeth i'r amgylchiad ag yr oedd ei ddynoliaeth yn arswydo yn yr olwg ar yr hyn oedd yn ei aros, wele ei gariad yn ei gymhell i fyned rhagddo. Yr oedd rhaid anrhydedd yr orsedd uchaf yn gofyn y dyoddefaint, ac yr oedd rhaid cariad yn peri i Grist ei ddwyn yn ewyllysgar. "Rhaid i mi," meddai, "weithio gwaith yr Hwn a'm hanfonodd." Beth yr oedd y dyn Crist Iesu yn ei deimlo, dybygech chwi, yn ngardd Gethsemane? Fel dyn dan gynhyrfiad o'r fath ddwysaf, y mae yn methu bod yn llonydd am fynyd yn yr un ystum: weithiau ar ei draed, ac weithiau ar ei liniau, ac weithiau yn syrthio ar ei wyneb; weithiau yn dyweyd ei gŵyn wrth ei gyfeillion, ac weithiau yn tywallt ei deimladau cymysglyd mewn gweddi; a dyna efe unwaith â'i chwys gwaedlyd a'i ddagrau ar ei wynebpryd sanctaidd, yn dyfod at ei ddysgyblion, ac yn dyweyd wrthynt, Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi; peidiwch myned o'r golwg yn awr; "trist iawn yw fy enaid hyd angeu; aroswch yma, a gwyliwch gyda mi;" er nas gallwch roddi i mi ddim help, mae yn rhywbeth i'm teimlad i chwi fod yn fy ymyl yn awr fy ing. Ond pa càn ddyfned bynag ydoedd aiaeth meddwl y Gwaredwr y pryd hwn, ni a wyddom fod ei ymroddiad yn ddyfnach. Pan yn rhodio cilfachau dyfnder marwolaeth, a gofidiau ei galon yn helaethu, ac yn ei ddirwasgu i gyfyngder a chyni nas gall crëadur byth eu hamgyffred na'u traethu, eto yr oedd ffydd a zêl a chariad yn bywhâu'r galon hòno, ac yn arfogi ei feddwl i fyned

ymlaen yn benderfynol trwy y cwbl gydag achos pechadur er mwyn ei achub yn anrhydeddus. Trwy y tywyllwch, y dyfnder, a'r ing, yr oedd ei gariad yn ei yru ymlaen, gan ei lenwi âg awyddfryd am orphen ei waith. "Mor gyfyng yw arnaf," medd efe, neu, mor angerddol fy ysbryd, "hyd oni orphener!" mi a fynaf orphen yn ogoneddus. A chan gyrhaedd y gair "Gorphenwyd!" efe a lonyddodd yn ei gariad. Digon bellach! dyma iawn i Dduw, prynedigaeth i'r eglwys, drws gobaith yn agored i bwy bynag a ddêl, a chariad i'w ryfeddu yn ddiddiwedd.

Mae yn bryd gofyn, A ydych yn teimlo y cariad hwn yn eich cymhell, fy nghyfeillion? "A ydych yn iawn farnu croes Crist;" barnu nes ymgysegru i'r Arglwydd, a'i wasanaethu mewn newydddeb buchedd? Dywed y Bibl am y groes, "Yma y mae cariad;" yma yr amlygwyd ef; ofer edrych am dano yn un lle arall. Ni chanmola Duw ddim ond sydd yn werth i wybodaeth perffeithgwbl ei ganmawl; ac "y mae Duw yn canmawl ei gariad tuag atom, oblegid, a nyni eto yn bechaduriaid, i Grist farw drosom ni." A bydd yn rhywbeth annaturiol os nad yw y fath gariad, a ganmolir gan Dduw yn oes oesoedd, yn ein cymhell ni i fyw iddo Ef yr Hwn a'n carodd. Yr oedd y cariad hwn yn cymhell yr apostol Paul nes yr oedd y bobl o'i amgylch yn meddwl ei fod wedi colli ei synwyr, megys y dywed o flaen y testun, "Os anmhwyllo yr ydym, i Dduw yr ydym." Y mae rhywrai yn barod i ddyweyd ein bod wedi colli ein côf gyda chrefydd yr Iesu; ond dyma'r gyfrinach am ein hangerdd zêl: "Y mae cariad Crist yn ein cymhell ni." Yr oedd Paul yn llafurio yn helaethach na'i frodyr oll; yr oedd yn treulio ac yn ymdreulio yn ewyllysgar iawn; yr oedd achos ei Waredwr wedi myned yn nês ato na'i einioes ei hun. Pa beth sydd yn dy gymhell di, Paul, i ymroddi er mwyn mawrygu Crist, pa un bynag ai trwy fywyd ai trwy farwolaeth? Wel, efe "a'm carodd, ac a'i dodes ei hun drosof fi;" ac y mae ei gariad ef wedi ei dywallt yn fy nghalon, ac fel llifeiriant cryf yn fy nghario i fyw i'r Hwn a fu farw.

III. *Mae cariad Crist yn cymhell y credadyn i fyw iddo oddiar farnu* AM SICRWYDD Y WAREDIGAETH A GYNNYRCHODD EI GARIAD.

"Os bu un farw dros bawb, yna bu pawb feirw." Cystal a dywedyd, Y mae hyny drosodd am byth. Yr oeddynt unwaith

yn feirw mewn barn; ond yn awr y maent yn cael eu golygu felly mewn gwirionedd—fel rhai eisoes wedi marw'r farwolaeth yr oeddynt wedi eu dedfrydu i'w dyoddef. Eithr, medd rhywun, hwyrach mai meirw ydynt eto, ac mai meirw a fyddant byth. Iddynt hwy, yn eu personau eu hunain, ni buasai cosbedigaeth eu pechodau yn ddim llai na marwolaeth dragywyddol; ac a ydyw yn sicr eu bod hwy, trwy ddyoddef y gosbedigaeth hòno yn eu Machnïydd, wedi boddloni gofynion cyfiawnder Duw, a dyfod trwodd o farwolaeth i fywyd, fel nad arglwyddiaetha marwolaeth arnynt mwyach? Yr ateb i hyna ydyw, fod eu bywyd neu eu marwolaeth hwy yn dibynu ar y cyflwr y mae eu Pen ynddo. Os ydyw efe wedi methu dyfod trwodd o farwolaeth i fywyd gyda'u hachos hwy, nid oes obaith bywyd iddynt; ond os daeth efe yn fuddugoliaethus drwy angeu ar eu rhan, mae'r cyfan wedi ei ddïogelu. Mae derbyniad y Cynnrychiolwr yn dderbyniad i'r rhai a gynnrychiolir ganddo; mae ei ollyngdod ef mewn effaith yn ollyngdod i'w deulu, ac yn wystl o hono. Edrychwch pa le y mae'r Pen, o herwydd chwi ellwch fod yn sicr nad yw yr aelodau ymhell oddi yno. Ofer dysgwyl aelodau byw i ben marw; ac mor ofer yw meddwl am ben byw a chorff marw.

Felly y mae yr apostol yn ymresymu yn 1 Cor. xv.: "Os Crist ni chyfodwyd, ofer yn wir yw ein pregeth ni, ac ofer hefyd yw eich ffydd chwithau; yr ydych eto yn eich pechodau;" oblegid y mae efe yr hwn a'u cymerodd arno ei hun o danynt eto, os na chyfododd efe. Ac os ydyw efe wedi darfod am dano, "yna hefyd y cyfrgollwyd y rhai a hunasant ynddo," o herwydd nid oes i eraill obaith am ddedwyddwch a bywyd tragywyddol trwy un sydd yn aros ei hun dan arglwyddiaeth marwolaeth. Ond nid felly y mae. "Eithr yn awr," medd yr apostol, "Crist a gyfodwyd oddiwrth y meirw, ac a wnaed yn flaenffrwyth y rhai a hunasant." Yr un modd ag yr aeth i lawr y daeth efe i fyny, sef fel Person cyffredinol a Phen ei eglwys. Ac "os ydym yn credu farw Iesu a'i adgyfodi, felly y rhai a hunasant yn yr Iesu, a ddwg Duw hefyd gydag ef." Trwy ei haeddiant, y mae Iesu Grist wedi dybenu camwedd, selio pechodau, gwneuthur cymmod dros anwiredd, a dwyn i mewn gyfiawnder tragywyddol. Ac felly y mae cyfiawnhâd ac iachawdwriaeth dragywyddol yr eglwys yn cael siarad am danynt yn fynych yn yr Ysgrythyrau fel pethau wedi eu cyflawni eisoes yn

marwolaeth a thywalltiad gwaed y Gwaredwr. Pa fodd hyny? Nid am fod y rhai oll a fyddant gadwedig wedi eu cyfiawnhâu a'u hachub yn weithredol yr amser hwnw, ond am fod y cyfan y pryd hwnw wedi ei sicrhâu i gredinwyr. Ac i ddangos y sicrwydd hwn yn fwy eto, os yw bosibl, dysgir ni yn y Bibl, nid yn unig fod Crist wedi dyfod yn llwyddiannus trwy ei waith dros ei bobl, ond fod y fath undeb rhyngddo ef â hwy yn ei holl weithrediadau drostynt, fel yr oeddynt hwy yn gyfranogion âg ef yn y cwbl, o dan yr un dynged âg yntau, ac yn cyflawni'r cyfan ynddo a chydag ef. Beth arall a ddysgir i ni pan ddywedir fod credinwyr yn cael eu croeshoelio ac yn marw gyda Christ, a'r un modd eu bod wedi eu cydfywhâu a'u cydgyfodi gydag ef, a'u gosod i gydeistedd yn y nefolion leoedd ynddo? Yn gyffelyb y mae yr apostol yn llefaru yn ein testun. Wedi crybwyll fod credinwyr wedi meirw yn Nghrist, a bod Crist, yr hwn a fu farw drostynt, wedi cyfodi o feirw, y mae yn eu galw hwy yn "rhai byw;" canys wedi marw yn ei farwolaeth ef, wele hwy yn byw yn ei fywyd ef.

Drachefn, mae y saint, yn eu gwahanol oesoedd, yn cael eu huno yn weithredol â Christ trwy ffydd, a thrwy hyny yn dyfod i hawl bersonol o'r oll a sicrhäwyd iddynt trwy angeu eu Pen a'u Cynnrychiolwr oesoedd cyn eu bod. Fel ag y mae yr oll a fuont feirw yn gyfammodol yn y Pen cyntaf Adda, yn dyfod, yn eu gwahanol amseroedd, yn un âg ef trwy genedliad naturiol, yn gyfranogion o'i natur, ac yn etifeddion y golled a'r trueni a gafodd y natur hòno yn ei gwymp, felly yr un modd y mae credinwyr, hwythau, yn dyfod, yn yr adgenedliad, yn un â Christ, yr ail Adda, yn gyfranogion o'i anian dduwiol, a'u codi i gymundeb âg ef yn ei gyfiawnder, ei fywyd, a'i ogoniant. "Megys yn Adda y mae pawb yn meirw, felly hefyd yn Nghrist y bywheir pawb." Ni a wyddom fod y cyntaf yn sicr; ac y mae Paul yn dangos fod yr ail mor sicr â'r cyntaf. *Mor* sicr, a ddywedais? dylaswn ddyweyd yn gryfach na hyny: yn ol dull yr apostol o lefaru, mae yr olaf yn fwy eglur, ac yn fwy anwadadwy sicr, na'r cyntaf. "Canys os trwy gamwedd un y teyrnasodd marwolaeth trwy un, mwy o lawer y caiff y rhai sydd yn derbyn llïosogrwydd o ras, ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu mewn bywyd trwy un, Iesu Grist." Nid am ddim, yn wir, y credodd neb yn Nghrist; y mae efe a'r rhai a gredasant, yn un yn anysgaradwy byth; a lle y mae efe, yno y byddant hwythau.

Yn awr, "gan farnu o honom hyn"—gan gredu, dirnad, ac ystyried y syniad hwn am sicrwydd gwaredigaeth credinwyr, mae'r credadyn yn cael ei gymhell yn y modd grymusaf i fyw i'r Gwaredwr. Yr ydym yn cael Paul yn gwasgu ar gredinwyr i gadw profiad byw yn eu mynwesau o'u hundeb â Christ, ac o'u dyfodiad ynddo i'r un cyflwr âg efe ei hun: "Canys fel y bu efe farw, efe a fu farw unwaith i bechod; ac fel y mae yn byw, byw y mae i Dduw. Felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod, eithr yn fyw i Dduw, yn Nghrist Iesu ein Harglwydd." 'Yr ydych yn feirw i bechod ac yn fyw i Dduw mewn gwirionedd yn Nghrist, a chan hyny cyfrifwch eich hunain felly. Os yw y marwhâu a'r bywhâu yma yn anmherffaith ynoch eto, ymarferwch y fath ffydd ar Grist wedi ei groeshoelio a'i adgyfodi, nes teimlo eich hunain yn un âg ef yn ei farwolaeth a'i adgyfodiad, ac yn hyny gydag ef wedi meirw i bechod o ran ei gondemniad a'i arglwyddiaeth, ac wedi eich adnewyddu i ddechreu byw i Dduw yr un bywyd â Christ ei hunan.' O gyflwr dïogel a phrofiad hyfryd! Mae yn annaturiol meddwl i sicrwydd am fwynhâd o'r fath bethau trwy Grist arwain credadyn i fyw i neb ond Crist. O bob tir, hwn yw y mwyaf magwriaethol i sancteiddrwydd ac ufudd-dod. 'Dyma fi,' medd y credadyn, 'yn gorfoleddu ar ofnau diflanedig, yn edrych yn dawel i'r byd a ddaw, fy Ngwaredwr wedi dïogelu fy achos tragywyddol, dyoddef y cwbl drosof, a gweithio y cwbl ynof, fel nas gadawodd i mi ddim i'w ddymuno, na dim i'w wneuthur ond yn unig byw iddo ef! beth a dalaf i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i mi? O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddeddfau!' Mae profiad o ddaioni Duw yn Nghrist yn dryllio enaid y duwiol gan awydd am gydymffurfiad âg ef ymhob dim. Cyrchu at hyn yw ei amcan wrth fyw, a gobaith ei gyrhaeddyd yw ei gysur wrth farw. "One hour more," ebe un wraig dduwiol pan yn ymyl angeu—"one hour more, and I shall never sin!"

IV. *Mae cariad Crist yn cymhell y credadyn gan farnu* AM DEILYNGDOD AMCAN EI WAREDIGAETH TRWY YR HWN A'I CARODD.

"Ac efe a fu farw dros bawb, fel na byddai i'r rhai byw fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw drostynt, ac a gyfodwyd." Hen fywyd y gwaredigion, eu byw cyntaf, oedd byw

iddynt eu hunain; byw yn ol eu mympwy eu hunain, i'w boddhâd eu hunain, i gyflawni eu chwantau pechadurus. Os mynem olwg ar eu bywyd blaenorol, gwrandawn ar Paul yn ei lythyr at yr Ephesiaid: "A chwithau a fywhäodd efe, pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau; yn y rhai y rhodiasoch gynt yn ol helynt y byd hwn, yn ol tywysog llywodraeth yr awyr, yr ysbryd sydd yr awrhon yn gweithio yn mhlant yr anufudd-dod; ymysg y rhai hefyd y bu ein hymarweddiad ni oll gynt, yn chwantau ein cnawd, gan wneuthur ewyllysiau y cnawd a'r meddyliau; ac yr oeddym ni wrth naturiaeth yn blant digofaint megys eraill." Dyma y cyflwr y cafodd yr Arglwydd y gwaredigion ynddo: yn feirw mewn pechod ac yn byw ynddo; yn eu marwolaeth ysbrydol yn byw, trwy eu chwantau llygredig iddynt eu hunain, diwedd yr hyn a fuasai marwolaeth dragywyddol. Ond "Crist mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol." Er mor annaturiol oedd cyflwr pechaduriaid, efe a'u carodd nes marw drostynt, fel y caent hwy fyw trwyddo ef, a byw, nid iddynt eu hunain mwyach, ond iddo ef, yr hwn a fu farw drostynt, ac a gyfodwyd.

Dyna yr amcan mewn golwg yn yr orchwyliaeth ryfeddaf erioed. Ac wele gariad Crist yn ei farwolaeth yn cymhell mewn modd effeithiol y credadyn i fyw iddo ef, gan farnu am deilyngdod yr amcan hwn. Anrhydedd a gwynfydedigrwydd mwyaf crëadur yw cael Duw i'w wasanaethu, a Duw i'w fwynhâu; a thrwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu, mae yr ardderchogrwydd hwn, a gollodd dyn trwy y cwymp, wedi ei adferu drachefn i'w holl saint ef. Mae y rhai a brynwyd o anghenrheidrwydd yn eiddo yr Hwn a'u prynodd; ac nid yw'r Gwaredwr, yr hwn a'u carodd, ac a'u prynodd iddo ei hun, neb amgen na'r Hwn "sydd uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd." Wrth eu prynu gan hyny iddo ei hun, efe a'u prynodd i Dduw trwy ei waed. A pha beth sydd gyfiawnach nag i'r prynedigion fyw iddo? Wele fi yn eiddo iddo Ef yn wir, medd y credadyn. Yr oedd ganddo hawl ynof yn wastad; efe a'm gwnaeth, ac ynddo ef yr wyf yn byw, yn symud, ac yn bod; ond dyma ganddo yn awr hawl newydd ynof. Wedi i mi drwy fy mhechodau ladrata fy hun oddiarno, gwrthod cydnabod fy ymddibyniad arno, a rhoi fy mryd ar fod cyfuwch âg yntau, bod megys Duw, yn wrthddrych cyntaf a diweddaf i mi fy hun,—yn lle fy nghosbi am hyn, wele yr

Arglwydd Iesu Grist yn tosturio wrthyf; yn lle fy rhoddi i fyny i ganlyniadau fy ynfydrwydd, ac felly i bob gwarth a thrueni am byth, efe a'm carodd i, ac a agorodd ffordd drwy ei waed i'm dwyn yn ol ato ei hun. O Iesu mawr! eiddot ti ydwyf; cymer a chadw fi byth i ti dy hun; da genyf fy mod yn meddu ar gorff ac enaid i'w haberthu i'th enw.

Y mae yr ystyriaeth hon yn ymffrost a gorfoledd i'r saint, ac yn cymhell eu calonau i arddangos yr ymgysegriad a'r ymroddiad llwyraf. Pa amcan mwy graslawn na chael y gwaredigion i fyw i'w Prynwr, yr hwn nad yw neb llai na'r Duw mawr? Gallai y credadyn ymresymu, a dywedyd ynddo ei hun, Pe buasai crëadur wedi llwyddo i'm prynu, eiddo y crëadur hwnw a fuaswn trwy brynedigaeth; efe, fel awdwr fy ystâd achubedig, a allasai ofyn fy ngwasanaeth a'm hufudd-dod yn yr ystâd hòno, er y buaswn felly yn fy adferiad wedi fy ngadael yn annhraethol islaw y peth oeddwn yn fy nghrëadigaeth o ran urddas a daioni. Ond ni roddai Iesu Grist mo'i ogoniant ei hun, na'm henaid innau, i arall; eithr efe a'i rhoddes ei hun drosof mewn trefn i'm prynu iddo ei hun, ac felly efe a'm prynodd i'm holl anrhydedd cyntefig, ïe, i ogoniant llawer uwch, ac i ddigonolrwydd dedwyddwch yn dragywydd. Bellach efe a biau, ac efe a gaiff, fy nghariad, fy addoliad, fy ngwasanaeth, fy hunan, fy oll yn oll, yn oes oesoedd!

A ydyw iaith y testun yn iaith ein calonau ni? A allwn ni ddywedyd, "Y MAE cariad Crist YN EIN cymhell NI?" Dichon fod rhyw un yn barod i ofyn, Beth yw, pa fodd y mae, cariad Crist yn cymhell? Ond, "a wyt ti yn ddysgawdwr yn Israel, ac ni wyddost y pethau hyn?" A wyt ti yn athraw yn yr Ysgol Sabbothol, yn aelod eglwysig, yn arfer gwneyd coffa am angeu'r groes, ac yn cyfranu o'th feddiannau bydol at grefydd? Pa beth sydd yn dy gymhell di i wneuthur hyny? Yn ddïau, ni a obeithiwn mai nid arferiad yn unig, nid cynhyrfiad dall ac anwadal, nid cael clod gan ddynion, a fydd yn dy gymhell. Oni byddi yn ceisio gwrthwynebu a marweiddio gwâg-egwyddorion o'r fath yn dy galon? onid oes rhywbeth uwch yn dy fynwes yn dy gymhell at waith y cysegr? Oes, ni a obeithiwn nad yw hwnw yn ddim llai na chariad Crist. Ond ai gofyn yr oeddit pa fodd y mae cariad Crist yn cymhell? Gwyddost pa fodd y mae cariad at bethau eraill yn gwneuthur hyny. Oni wyddost beth oedd

cael dy gymhell gan y serchiadau prïodasol i ymddyosg o gysylltiadau mebyd, a gadael tad a mam, i fyw gyda gwrthddrych newydd yr ymlyniad? Oni wyddost beth yw cael dy gymhell gan gariad at wybodaeth i ymguro yn llafurus am dano hyd flinder i'r cnawd? Oni wyddost, ysgatfydd, beth yw cael dy gymhell gan awydd am ymgyfoethogi i foregodi, myned yn hwyr i gysgu, a bwyta bara gofidiau? Ac ai ni wyddost ti ddim, fy enaid, beth yw cael dy gymhell gan y cariad mwyaf, cryfaf, rhyfeddaf oll? Ni a obeithiwn, er mwyn dy ddoethineb a'th ddedwyddwch, y gwyddost am nerthoedd cariad Crist, yn marw i bechadur gael byw, yn peri i ti redeg a dringo i'w ddilyn ef.

Dylem gofio eto nad yw cristion yn y byd hwn ddim uwchlaw cael ei gymhell i ddrwg beunydd; ond y mae cariad Crist yn ei gymhell yn fwy effeithiol i farweiddio'r drwg yn ei galon. Maes brwydr yw calon credadyn: cnawd yn cymhell i'r hyn sydd ddrwg, a chariad Crist yn cymhell i'r hyn sydd dda. Pan y mae'r cnawd yn cymhell i weddïo yn ffurfiol, mae cariad Crist mewn anesmwythder yn dyheu am gymdeithas â Duw. Pan y mae'r cnawd yn cymhell i esgeuluso moddion gras, mae cariad Crist yn gweithio mewn ffordd o barch i'r Arglwydd yn ei osodiadau, yn deimlad o rwymedigaeth iddo, fel nas gellir peidio cyrchu iddynt. Pan y mae'r cnawd yn cymhell yr enaid i ddïal, y mae cariad Crist yn tyneru yr ysbryd, ac yn dywedyd, Maddeu iddo. Dyna'r cnawd yn temtio i wyro oddiwrth yr hyn sydd onest, cyfiawn, a chywir; ond dacw gariad Crist o'r ochr arall yn cymhell dyn i osod ei ffordd yn iawn, ac i dyngu i'w niwed ei hun heb newid, gan gofio yr Hwn ni chaed twyll yn ei enau. Os bydd y cnawd yn cymhell i anmhurdeb, bydd cariad Crist yn peri i'r meddwl gofio iddo ef farw i brynu oddiwrth bob anwiredd, ac i buro iddo ei hun; ac felly medd y cristion, Er gwerth y'm prynwyd; nid ydwyf gan hyny yn eiddof fy hunan; mi a ogoneddaf Dduw yn fy nghorff, ac yn fy ysbryd, y rhai sydd eiddo Duw. Dedwydd yw yr hwn sydd yn aros fel hyn yn nghariad Crist! Profa hyny fod ei feïau wedi eu maddeu, ac nad rhaid iddo ofni marw; y cariad sydd yn peri iddo yn awr arswydo pechu, a'i tyn yn y man at Grist ar ei orseddfainc, yno i gyd-deyrnasu ac i gael ei gydogoneddu.

## PREGETH XXIX.

### FFYDD I GYFARFOD A CHYFNEWIDIADAU BYWYD.

HEBREAID xi. 8: "Trwy ffydd, Abraham, pan ei galwyd, a ufuddhäodd, gan fyned i'r man yr oedd efe i'w dderbyn yn etifeddiaeth, ac a aeth allan heb wybod i ba le yr oedd yn myned."

AMCAN yr apostol yn y bennod hon yw arganmawl ffydd: dangos ei heffeithiolrwydd i godi pechadur i heddwch Duw, ei gynnal i lynu wrtho mewn ymddiried, ac i rodio gydag ef mewn ufudd-dod, a'i ddwyn drwy bob peryglon yn ddïogel a buddugoliaethus i dir y bywyd. Wedi rhoddi esiamplau o hyn yn y tymmor cyn y dylif, mae yn dyfod i lawr at gyfnod newydd, ac yn cychwyn gyda dangos nerth ac effeithioldeb ffydd yn Abraham, tad a dechreuad yr eglwys yn y cyfnod hwnw.

Cawn yn y testun sail ei ffydd: galwad Duw. "Trwy ffydd, Abraham, pan ei galwyd." Yr oedd yr alwad yma yn cynnwys gorchymyn ac addewid: gorchymyn iddo fyned allan o'i wlad, oddiwrth ei genedl, ac o dŷ ei dad, ac addewid y byddai i Dduw ei fendithio, mawrygu ei enw, a'i wneyd yn fendith. "Duw y gogoniant a ymddangosodd i'n tad Abraham," medd Stephan; ymddangosodd drwy ryw arwydd gweledig a gogoneddus o'i bresennoldeb, o'r un natur â'r Shecinah, fe allai, ac a roddes iddo ar y pryd y gorchymyn a'r addewid a nodwyd.

Wele hefyd effaith ffydd Abraham: "Trwy ffydd, Abraham, pan ei galwyd, a ufuddhäodd." Abraham trwy ffydd a ganfu fawredd, daioni, a ffyddlondeb Duw; rhoes ei hun i fyny i awdurdod Duw yn y gorchymyn, ac a ymddiriedodd yn ei addewid; a'r canlyniad oedd ufuddhâu. "Yna yr aeth Abram," medd yr adroddiad yn llyfr Genesis, "fel y llefarasai yr Arglwydd wrtho."

Ac y mae yma arganmoliaeth arbenig i'w ffydd, gan fod anhawsder neillduol yn yr amgylchiad cysylltiedig â'i ufudd-dod: "Aeth allan heb wybod i ba le yr oedd yn myned." Gwyddai yn wir mai Canaan oedd enw cyffredinol y wlad; ond nis gwyddai pa le yr oedd, na pha fath wlad ydoedd, na pha fyd a fyddai arno ynddi. Y cyfan a ddywedasai Duw wrtho oedd, Dos allan, Abraham, i'r wlad a ddangoswyf fi i ti; a mi a'th fendithiaf. Ac yr oedd hyny yn ddigon gan Abraham: "efe a aeth." Cofiwch, fy mrodyr, o ba le yr aeth: o'i wlad enedigol, oddiwrth ei genedl ei hun, ac o dŷ ei dad. Trwy ffydd, efe a ymadawodd â'r oll oedd hoff gan ei galon o'i febyd, yr oll oedd yn gwneyd i fyny gysuron bywyd; ac, yn groes i'w holl sibrwd yn eu serchiadau, efe a'u newidiodd am y dyeithrol a'r anadnabyddus mewn ufudd-dod i air ei Dduw, ac mewn ymddiried ynddo. Do, fe ddechreuodd Abraham ei oes grefyddol mewn gweithred arbenig o hunanymwadiad drwy adael ei wlad; ac fe'i gorphenodd ac a'i perffeithiodd drachefn mewn gweithred fwy arbenig, sef offrymiad ei uniganedig fab; ac yr oedd ei holl fywyd rhwng y ddwy weithred hyn yn fywyd o hunanymwadiad, ffydd, ac ufudd-dod.

Amlwg yw fod galwad a ffydd Abraham yn gynllun i grefydd yr holl eglwys trwy yr oesoedd; a'r "rhai sydd o ffydd, a fendithir gydag Abraham ffyddlawn." Mae pob un o'r saint hyd y dydd hwn yn cael eu galw i rywbeth cyffelyb âg Abraham; ac y mae ffydd yn cynnyrchu ymhob un o honynt y cyffelyb ufudd-dod! "Pob un nid ymwrthodo â chymaint oll ag a feddo," ebe Iesu Grist, "nid all fod yn ddysgybl i mi." Dyna delerau crefydd eto. Mae yr amgylchiadau wedi newid, ond y mae'r rhwymedigaethau yr un. Mae pob gwir gristion wedi myned allan eisoes o'i hen wlad, wedi ymwrthod â'r cyfan, o ran ei ysbryd a'i serchiadau; ac os ydyw mewn iawn agwedd, y mae efe yn barod i wneuthur hyny yn weithredol i'r graddau y byddo Duw yn ei ragluniaeth yn gofyn iddo.

Cawn nodi, fel ein haddysg oddiwrth eiriau'r testun, fod bywyd dyn ar y ddaear yn llawn o gyfnewidiadau, a'r rhai hyny gan mwyaf yn brofedigaethus a blinion, ac nad oes dim ond ffydd, neu wir grefydd, â'n gwna ni yn barod iddynt, a'n cynnalia ynddynt, ac a'n dwg drwyddynt i ogoniant Duw.

Y mae pawb, rywbryd neu gilydd, yn gorfod myned trwy gyfnewidiadau. Y mae duwiol ac annuwiol, cyfoethog a thlawd, hen ac ieuanc, pawb yn eu tro, yn gorfod gadael eu hamgylchiadau blaenorol, a throi allan megys heb wybod i ba le y maent yn myned—heb wybod pa beth sydd yn eu haros. Nid oes ond y cristion a all wneuthur hyn yn iawn; nid oes ond ffydd a gynnyrcha ac a geidw yr agwedd hòno ar y meddwl a dry'r cwbl yn ufudd-dod, ac a garia ei pherchen drwyddynt i ogoneddu a mwynhâu Duw. Mae yr annuwiol yn fynych yn neidio i gyfnewidiadau heb un alwad oddiwrth yr Arglwydd arno i hyny; ond y mae ffydd yn cadw'r cristion i ddilyn y golofn. Neu pan ddelo galwad, mae'r digrefydd yn gyndyn a hwyrfrydig, fel y rhaid ei yru, megys Adda o Eden, neu Lot o Sodoma; ond am blentyn Duw, pan ei gelwir, y mae yn ufuddhâu. Nid yw efe yn cael ei orfodi na'i yspeilio; o herwydd y mae yn rhoddi y cwbl i fyny yn ewyllysgar, a thrwy ffydd a chariad y mae holl ddyoddefiadau anocheladwy ei fywyd yn troi yn aberthau gwirfoddol ar allor Duw. Mae'r pechadur anghrediniol yn myned drwy gyfnewidiadau'r byd yn galed, a gwrthryfelgar, a di-Dduw; ond y mae ffydd yn dwyn ei pherchen i weled Duw, i'w ofni a'i garu, dychwelyd at ei draed, rhoddi ei holl amgylchiadau i fyny i'w ewyllys, gan ddymuno ei ogoneddu ymhob dim.

Ni a gyfeiriwn at rai o'r amgylchiadau hyny ag y mae plant dynion beunydd, yn nhrefn Rhagluniaeth Ddwyfol, yn cael eu galw megys i droi allan heb wybod i ba le y maent yn myned —heb wybod y pethau a ddygwydd iddynt.

Ac, yn gyntaf, y mae llïaws y dyddiau hyn, tybygid, yn cael eu galw fel Abraham, *i adael gwlad eu genedigaeth am wledydd pellenig.*

Ydyw, y mae Duw fel yn dywedyd heddyw wrth filoedd yn ein gwlad ni, a gwledydd eraill, "Codwch, ac ewch ymaith, canys nid dyma eich gorphwysfa." Ac felly yr ydym yn gweled llïaws yn

myned allan i Canada, Taleithiau Cyfunol America, ac Australia bell, heb wybod i ba le y maent yn myned.

Y mae llaw Duw yn hyn, ac oesoedd a ddaw a welant y canlyniadau. Ychydig a wyddai yr hen Geltiaid gynt, a'r Sacsoniaid wedi hyny, pan yn ymfudo tua'r gorllewin yma, beth a fyddai canlyniad eu hymfudiadau. Ond heddyw dyma yr hedyn hwnw yn bren mawr, wedi estyn ei gangenau dros y byd; Prydain, gyda'r Bibl yn un llaw, a ffrwyth ei chelfyddyd a'i diwydrwydd yn y llaw arall, yn gwisgo noethder, yn goleuo tywyllwch, ac yn rhoddi dysg, celfyddyd, a chrefydd i ddynolryw. Ychydig a ddychymygodd yr hen Buritaniaid, pan yn ffoi i'r America draw, pa beth a fyddai'r diwedd. Cael tamaid i'w gynnal, gyda rhyddid i weddïo ar ei Dduw yn ei ffordd ei hun, oedd y cwbl a geisiai y Puritan druan. Ond Duw oedd yno yn dywedyd wrtho, "Dos allan o'th wlad, ac oddiwrth dy genedl, ac o dŷ dy dad, i'r wlad a ddangoswyf fi i ti; a mi a'th wnaf yn genedlaeth fawr, ac a'th fendithiaf; mawrygaf hefyd dy enw, a thi a fyddi yn fendith." Y mae ymfudiadau fel hyn yn ein dysgu mai "nid posibl myned gair Duw yn ddirym." Ei hen orchymyn i ddynolryw, yn eu tadau Adda a Noa, ydyw, "Ffrwythwch ac amlhewch, a llenwch y ddaear." Gall plant dynion fod yn gyndyn i ufuddhâu; ond y mae'r dynged yn ddigyfnewid. Mae'r pen cyntaf i'r gorchymyn yn sicrhâu'r pen diweddaf; wrth amlhâu, rhaid cilio i'r lle gwâg am breswylfa, ac felly y mae'r ddaear a grëwyd i'w phreswylio yn cael ei llenwi. Weithiau y mae'r Bôd Mawr yn ei ragluniaeth yn agor cloddfeydd aur, neu yn dangos rhyw fanteision bydol, y rhai sydd yn denu dynion allan, gan eu sugndynu atynt. Weithiau y mae yn chwalu eu hen nythod hwy gartref drwy newyn, neu ryfel, neu erlidigaeth, neu ryw gamwri o eiddo dyn, ac yn eu danfon i ffordd. Yn hytrach nag ymadael i le pellenig, fe welir dynion yn ymroi i lafurio eu tir yn well, ac i feithrin iawn drefn a phob diwydrwydd gartref; ac y mae Duw yn bendithio hyny i gadw bywydau, i estyn yr oes, ac i lïosogi. Ond yn y diwedd, wedi hir gynhenu a disodli eu gilydd gan gyfyngder lle, ni bydd dim i'w wneuthur ond ymneillduo fel Lot ac Abraham; canys "y wlad nid oedd abl i'w cynnal hwynt i drigo ynghyd.

Rhaid myned, serch fod natur fel Naomi yn gweiddi, "Dychwelwch." Rhaid myned, er synu erbyn cychwyn eu bod wedi

meddwl am fyned erioed; myned dan leddfu'r pangfeydd a sychu'r dagrau trwy addaw dyfod yn ol; myned serch gorfod ffarwelio â golygfeydd a thrigolion cydnabyddus yr hen wlad, a theimlo i'r byw yr ystyriaeth yn ngeiriau wylofus Jeremiah, "Nac wylwch dros y marw, ac nac ymofidiwch am dano, ond gan wylo wylwch am yr hwn sydd yn myned ymaith; canys ni ddychwel mwyach, ac ni wêl wlad ei enedigaeth." Mae yn ammheus genyf a ydym ni yn cydymdeimlo yn ddyladwy â theuluoedd sydd yn cael eu rhwygo trwy symudiadau o'r fath hyn, ac a ydym yn meddwl ac yn gweddïo digon dros ein hieuenctyd sydd wedi ymalltudio i bellder daear, ac yno wedi eu dyosg o'u hen gysylltiadau crefyddol, fel yr Iuddewon, "heb dywysog, heb aberth, ac heb ephod," yn debyg o suddo i anghof o Dduw, bydolrwydd, ac anghrefydd, heb neb yn ymofyn am eu henaid!

Mae'r mater hwn yn galw ar rïeni i achub tymmor mebyd eu plant tuag at blanu egwyddorion da ynddynt, a'u sefydlu mewn arferion o ddiwydrwydd, gonestrwydd, geirwiredd, ofn Duw, ac ymarferiadau crefyddol, gan na wyddant tua pha le y bydd eu plant ymhen ychydig flynyddoedd yn cyfeirio eu hwynebau. A chrefydd fywiol, yn ddïau, a bair i rïeni wneuthur hyny. Ac os bydd eu plant yn ymfudo i wledydd tramor, dysgwyliwn y gweddïant lawer drostynt, gan attolygu ar Arglwydd nef a daear am i fendithion nefoedd uchod a daear isod ddisgyn ar ben eu plant dëoledig, ac ar goryn y rhai a neillduwyd oddiwrth eu brodyr, ac, wedi eu myned, anfon yn fynych atynt, fel Jeremiah at ei frodyr yn Babilon, i'w hannog i grefydd a gweithredoedd da (Jer. xxix. 5, 7). O mor ddymunol os bydd yr hadau da a hauwyd ar yr aelwyd, ac a ddyfrhäwyd â gweddïau rhïeni, yn cyfodi yn doreithiog eto yn eithaf y byd! Tra y mae llïaws o ymfudwyr yn felldith i'r gwledydd y symudasant iddynt, caffer chwi, ymfudwyr Cymreig, yn fendith yn y ffordd y cerddoch, fel Joseph yn yr Aipht, ac yn dystion dros Dduw, fel Daniel, yn Babilon, gan wasgaru perarogledd gwybodaeth Crist ymhob lle.

Y mae plant dynion, eilwaith, yn cael *eu galw o'r teuluoedd y magwyd hwy i ffurfio cysylltiadau newyddion;* ac yn hyny hefyd, y maent, er heb ado eu gwlad, yn myned allan heb wybod i ba le, ac yn enwedig i ba beth, y maent yn myned.

Y gymdeithas deuluaidd yw y gymdeithas gyntaf a'r fwyaf

naturiol a sefydlodd Duw erioed. Yma y cawsom ein bod, ac y meithrinwyd ni o'n mebyd; y gymdeithas hon a fu yn ein hymgeleddu yn dyner ymhell cyn côf genym; ac, er pan ydym yn cofio dim, yn ei mynwes hi y cawsom ein hunain; a theimlem yno mor rhydd a chartrefol â phe buasem ynddi er tragywyddoldeb. Yr oedd Solomon yn cofio yn serchog hen dynerwch aelwyd ei dad a'i fam: "Yr oeddwn yn fab i'm tad, yn dyner ac yn anwyl yn ngolwg fy mam; efe a'm dysgai." Pa faint bynag o falldod a ddygodd pechod i gartref mebyd, pa faint bynag o orthrymder a fu rhïeni i'r plant, neu pa faint bynag o boen a fu plant i'r rhïeni, bydd yn anmhosibl wedi'r cwbl ymadael, ac ymadael, fe allai, am y tro olaf ac am byth â'r hen drigfa, heb ocheneidiau a dagrau. Ond dyma ordinhâd y Goruchaf. Mae amser yn dyfod pan y chwelir y nythod hyn, ac y bydd y plant fel haid o adar yn cymeryd eu hadenydd, ac yn disgyn ymhob cŵr o'r byd. "Am hyny y gâd dyn ei dad a'i fam;" eu gadael i ddechre i fyned i'r ysgol, eu gadael i fyned yn brentis, a'u gadael yn enwedig pan ddaw yr adeg i brïodi. Mae y rhai a adewir yn aros, mae yn wir, yn yr hen annedd, ar yr hen aelwyd; ond y maent yn aros i gwyno fel yr hen Jacob, "Minnau fel y'm diblantwyd a ddiblentir," ac yn debyg i Job, "O na bawn i fel yn y misoedd o'r blaen, pan yr oedd fy mhlant o'm hamgylch!" Mae yr hen gronglwyd yn wâg, a'r aelwyd yn oer, oblegid fod y marwor a fu yn ei chynhesu a'i goleuo naill ai wedi eu diffodd yn lludw'r bedd, neu wedi eu cario ymaith i gynhesu aelwydydd eraill.

Yn yr ystyr hwn, gallwn ddywedyd wrth rïeni a phlant, a brodyr a chwiorydd, Byddwch barod i ildio eich gilydd i Dduw yn grefyddol a diolchgar. Pan y byddwch chwi, rïeni, yn cychwyn eich plant allan i'r byd trafferthus, ymehanged eich calonau mewn cynghor a gweddi ar eu rhan, fel yr hen Isaac gynt pan yn anfon Jacob i Padan-aram: "Duw Hollalluog a'th fendithio, ac a roddo i ti fendith Abraham, i ti ac i'th hâd!" Chwithau, y plant, yn y cyfryw amgylchiad ymaflwch yn nghyfammod Duw, a chyfammod eich tadau, fel Jacob: "Os Duw fydd gyda myfi, ac a'm ceidw yn y ffordd yma yr hon yr ydwyf yn ei cherdded, a rhoddi i mi fara i'w fwyta, a dillad i'w gwisgo,—yna y bydd yr Arglwydd yn Dduw i mi."

Mynych y clywyd pobl ieuainc yn siarad am yr undeb prïod-

asol fel testun ysgafnder a digrifwch; ond daethant i wybod wedi hyny trwy brofiad mai cyfnewidiad difrifol, yn effeithio yn bwysig ar eu holl fywyd, ydoedd. Edrych ymlaen ar yr ochr oleu yr oeddynt hwy yn eu cyflwr sengl, heb feddwl am na darpar at yr ochr dywell; ond nid yn hir y buont yn eu hystâd newydd heb wybod am gyfrifoldeb a phryder, beichiau a blinderau, nad oedd-ynt yn flaenorol wedi dychymygu dim am danynt. Tra mai "nid da bod y dyn ei hunan," ac mai "anrhydeddus yw prïodas yn mhawb," eto cofiwch, fy nghyfeillion ieuainc, na ddylech anturio at y cyflwr prïodasol heb y gochelgarwch a'r pwyll mwyaf, a'r gweddïau taeraf am ei gyfarwyddyd Ef, yr hwn yw Ysbryd doethineb.

Drachefn, nid yn anfynych y mae plant dynion yn cael *eu galw o'r naill gyflwr mewn bywyd i amgylchiad neu sefyllfa ddyeithr a gwahanol.*

Yn y golygiad hwn, nid oes dim ymaros ar y ddaear. "Y mae dull y byd hwn yn myned heibio;" nid yn unig y mae'r byd yn myned heibio, ond y mae ei ddull ef, yn enwedig yn y wêdd fyddo arnom ni ynddo, yn toddi i ryw ddulliau eraill yn feunydd-iol. Gelwir ni gan hyny i wylo megys heb wylo, llawenhâu megys heb lawenhâu, a phrynu megys heb feddu. Yr ydym yn gorfod gadael yr adnabyddus am yr anadnabyddus, a newid y presennol am y dyfodol. Mae ffordd bywyd weithiau yn llydan ac weithiau yn gul—weithiau yn wastad ac weithiau yn serth—weithiau yn es-mwyth ac weithiau yn arw, a'r golygfeydd yn newid bob mynydyn. Y llynedd yr oedd y masnachwr yn llwyddiannus, ac yn ei lwydd-iant yn barod i ddywedyd, "Ni'm syflir yn dragywydd; fy enaid, y mae genyt dda lawer wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynydd-oedd; gorphwys, bwyta, yf, bydd lawen;" ond eleni y mae yn credu yn mhrïodoldeb yr enw, "Golud anwadal," ac yn wyneb colledion a siomedigaethau yn barod i ddywedyd, "Pob dyn sydd gelwyddog." Yr wythnos ddiweddaf yr oedd y fam fel Leah yn llawen am ei meibion: yr wythnos hon y mae hi fel Rahel yn wylo ac yn gwrthod ei chysuro am nad ydynt. Ddoe yr oedd y gŵr i fyny mewn parch: heddyw y mae efe ar lawr mewn an-mharch. Y bore yr oedd yn mwynhâu iechyd heinyf, ond cyn nos y mae yn griddfan gan afiechyd a phoen.

O fy nghyfaill, os wyt yn cael dy nŷth yn glyd, na ddywed,

"Byddaf farw yn fy nŷth. Yn dy hawddfyd a'th esmwythder, gwylia" rhag i falchder dy gadwyno—rhag myned o honot yn ddiystyrllyd o air ac ordinhadau crefydd, a dywedyd o honot yn ymarferol, "Pwy yw yr Arglwydd fel y gwasanaethwn ef?" Fy mrawd, neu fy chwaer, hwyrach y bydd yn dda i ti wrth yr hen Fibl a gorseddfainc y gras eto, pan y bydd bronau'r byd wedi myned yn hysbion. Bydd yn barod i gychwyn allan yn wrol ac ewyllysgar ar alwad rhagluniaeth Duw ar hyd pa ffordd bynag y bydd efe yn dewis i ti fyned.

Olwyn ar ei chylchdro yn barhäus yw'r bywyd hwn; gostwng a chodi, codi a gostwng, yr amgylchiad yn newid yn wastadol,—dyna helynt dynion dan haul. Gall y pethau mwyaf annysgwyliadwy ddygwydd mewn diwrnod, a thaflu cwmwl du ar awyrgylch dysgleiriaf gobaith daearol. Ond "yr Arglwydd sydd yn teyrnasu," a'i gydnabod ef ymhob peth yw ein dyledswydd a'n doethineb. "Edrych ar orchwyl Duw; canys pwy a all unioni y peth a gamodd efe? Yn amser gwynfyd bydd lawen, ond yn amser adfyd ystyria; Duw hefyd a wnaeth y naill ar gyfer y llall, er mwyn na chai dyn ddim ar ei ol ef;" dim, wrth ystyried y naill a'r llall, i achwyn arno.

Yn benaf oll, y mae plant dynion yn cael *eu galw o'r byd hwn i'r byd tragywyddol.*

Dyma gyfnewidiad pwysicaf bywyd; bywyd ei hun yn cael ei gyfnewid am farwolaeth. Yr ymadawiad mwyaf poenus yw hwn i'r byw ac i'r marw. Er i'ch perthynasau fyned i deuluoedd eraill, neu i wledydd eraill, i fyw, y maent yn yr un byd â chwi eto; yr ydych, ond odid, weithiau, yn clywed oddiwrth eu helynt, ac hwyrach yn dysgwyl eu gweled drachefn. Ond am y marw, "ni ddychwel efe i'w dŷ, a'i le nid edwyn ddim o hono ef mwy." Gan orchwyliaeth angeu yn dwyn ymaith wrthddrychau'r serch, gwneir i obaith dyn golli; y mae dwfn deimlad a hiraeth ar ol yr ymadawedig yn gwneuthur pob gorchwyl ac ysgogiad yn faich i'r enaid galarus; nid yw yn gweled yr haul yn tywynu mwyach gyda'i ddysgleirdeb arferol; y mae caddug yn toi pob gwrthddrych o'i amgylch. Ac i ba le yr aeth y marw? Nid oes gan neb yma ddirnadaeth am ei ddull o hanfodi, ac nis gellir cynnal mwyach ddim cyfeillach âg ef; o bob dyeithriaid, efe yw y dyeithraf; y mae wedi trengu, a pha le y mae?

Ac megys mai yr ymadawiad hwn yw y mwyaf poenus, hwn hefyd yw y mwyaf sicr o holl ddygwyddiadau bywyd. Rhaid yw i blant dynion fyned a dyfod. "Un genedlaeth a â ymaith, a chenedlaeth arall a ddaw." Os cafodd dyn gadw ei gyfoeth rhag iddo gymeryd ei adenydd ac ehedeg ymaith, y mae efe, o bosibl, wedi methu cadw ei rïeni, a llïaws cymdeithion ei ieuenctyd, heb eu dwyn oddiarno; ac ni chadwodd efe, mae yn rhy debyg, ei blant i gyd rhag eu hyspeilio gan angeu. Onid oes yma rai yn barod i gwyno eu bod wedi colli eu hen frodyr a'u hen athrawon crefyddol ymron i gyd, ac yn gorphen eu dyddiau gydag oes arall o grefyddwyr?

Ac wedi marw beunydd yn marwolaethau ein cyfeillion a'n ceraint, o'r diwedd daw yr alwad anwrthwynebol atom, i ni farw ein hunain. Ac os oedd anhawsder ynglŷn â newid gwlad, neu ildio meddiannau, neu golli iechyd, neu ein hamddifadu o'n perthynasau a'n cyfeillion, pa beth a fydd i ni ein hunain roddi i fyny yr ysbryd, ac ymadael â'r byd, yr hyn sydd yn cynnwys pob ymadawiad arall ynddo ei hun? Ac i ba le y byddwn ni yn myned? I ddull arall o hanfodi, nad yw rheswm yn dychymygu dim am dano, ac nad yw Duw yn dyweyd nemawr ychwaneg na hyny,—"y wlad a ddangoswyf i ti." Pan y byddom yn cychwyn yno, ni bydd dim i'w wneyd ond troi allan o'r corff heb wybod dim i ba fath fyd y byddwn yn myned. Wrth ystyried fod y byd tragywyddol, ar wahân oddiwrth oleuni yr efengyl, yn wlad tywyllwch a dychryn, ïe, a goleuni efengyl ar y byd hwnw yn ein gadael mewn dirgelwch arswydol am ei ansoddau a'i hynodion, ac na wyddom pa awr y byddwn yn cael ein galw yno, y mae yn rhaid i ni gredu fod eisieu rhywbeth mawr tuag at fod yn barod i farw ar alwad Duw yr einioes.

Wel, dyma ddyn dinerth a marwol mewn byd llawn o gyfnewidiadau; beth a'i galluoga i fyned trwy bob cyfnewidiad yn grefyddol? Nid myned drwyddynt rywfodd yw y pwnc, ond myned drwyddynt yn iawn, er gogoniant i Dduw, ac er ei wir gysur a'i ddedwyddwch fel perchen meddwl rhesymol ac ysbryd anfarwol. Pa fodd y gall efe wneuthur hyn? Mae yr ateb yn barod yn nechre y testun: "Trwy ffydd."

Ac os gofynir pa fodd y mae ffydd yn darpar yr enaid erbyn cyfnewidiau bywyd, ac yn ei ddal i fyny ynddynt, digon yw

dywedyd fod ffydd yn dwyn yr enaid i ganfod gogoniant Duw yn Nghrist, ac i ymorphwys ynddo ef a'i brïodoliaethau goruchel fel ei unig ran a'i ddedwyddwch dros byth.

Pan yr oedd Abraham eto yn Ur y Caldeaid, "Duw y gogoniant a ymddangosodd iddo, ac a ddywedodd wrtho, Dos allan o'th wlad, ac oddiwrth dy dylwyth, a thyred i'r tir a ddangoswyf i ti" (Act. vii. 2, 3). Ni cheisiodd Duw ganddo fyned cyn dangos ei hun iddo; canys buasai yn afresymol iddo ymgymeryd â'r fath anturiaeth ar gais neb arall. Ond wedi i Dduw ddangos gogoniant ei fawredd a'i ddaioni iddo, a gwystlo ei hunan i'w fendithio, dyna Abraham trwy ffydd yn ymddiried ynddo fel ei Dduw, ac yn barod i ymadael â phob peth er ei fwyn, ac i'w ddilyn yn hyderus, gwrol, dystaw, ac ufudd trwy holl gyfnewidiadau bywyd. Yn ol yr hen sylw da, er na wyddai efe i ba le yr oedd yn myned, efe a wyddai gyda phwy yr oedd yn myned. Gyda rhagluniaeth Duw fel ei arweinydd, ac addewid Duw fel ei lusern, efe a gychwynodd ac a aeth ymlaen drwy'r tywyllwch, ac a ddaeth yn ddïogel i wlad Canaan. Wedi hyny pan yn grwydryn yn Nghanaan, ac yn gofyn yn druanaidd, "Arglwydd Dduw, beth a roddi di i mi?" nid oes genyf etifeddiaeth, nac oes gymaint â llêd troed, a phe byddai genyf, ni feddaf blentyn yn etifedd,—y mae ei Dduw yn ei ddyddanu, "Nac ofna, Abram; myfi yw dy darian, dy wobr mawr iawn." Ni raid i ti ofni y breninoedd cenfigenus sydd o'th amgylch; byddi mor ddïogel ag y medr fy ngallu i dy wneuthur; a'm cyfoeth a rydd i'th hunanymwadiad a'th ymddiried ynof daledigaeth yn ddaearol ac yn nefol. Cei y wlad hon i'w hetifeddu, a chei hâd fel y sêr, a thi a âi at dy dadau mewn heddwch. Dyna ddigon gan y patriarch duwiol. "Yntau a gredodd yn yr Arglwydd" (Gen. xv.).

O bobl ieuainc, yr ydych chwi a chyfnewidiadau pwysig bywyd yn dechre wynebu ar eich gilydd; ymofynwch am galon yn sylweddoli byw trwy ffydd ar Dduw, megys y gwnaeth Abraham, a chwithau a ewch yn wrol a diachwyn drwy yr holl gyfnewidiadau. Yr Hollbresennol yn gydymaith i chwi—yr Hollwybodol heb dynu ei olwg oddiarnoch—yr Hollalluog yn eich amddiffyn—Anfeidrol Gariad a Daioni yn troi pob peth i'ch gwasanaethu, gan ddwyn Duw yn yr oll ag ydyw i fod yn Dduw i chwi,—pa beth a fydd arnoch eisieu neu a ellwch ddymuno mwy? Pa anghen a

all fod arnoch nas medr yr Hollddigonol ei ddiwallu? pa ofn trueni nas gall Efe ei symud? pa berygl nas gall ddïogelu rhagddo? ymha gyflwr y gellwch fod ynddo na byddwch yn foddlawn a hapus gyda Duw?

Cymerwn adolwg ar y cyfnewidiadau a nodwyd, a gwelwn werth ffydd yn Nuw tuag at eu cyfarfod heb niwed ac er daioni.

A wyt ti, O ddyn, yn gorfod gadael dy wlad am wledydd eraill—ar newid nodded hen gartref am bryder a pheryglon, ac yn debyg o fod yn ysgolaig medrus mewn gwybod calon y dyeithr? Gwrando lais yr Arglwydd: "Ai Duw o agos ydwyf fi, medd yr Arglwydd, ac nid Duw o bell? onid wyf fi yn llenwi y nefoedd a'r ddaear? medd yr Arglwydd." Gynt yr oedd Duw yn ymddangos megys wedi ei gyfyngu ei hun i un wlad, ac i un tŷ penodol yn y wlad hòno; ac nid oedd gan saint alltudiedig ddim i'w wneuthur ond ceisio edrych tua'r wlad hòno a'r tŷ hwnw er mwyn cyfeirio eu gweddïau. Ond bellach y mae Duw i'w gael fel gwrandäwr gweddi a chyfranydd gras yn Babilon fel yn Jerusalem, yn Patmos fel yn Sïon, yn America ac yn Australia fel yn Nghymru. Mae yr holl ddaear yn dir Emmanuel; pa le bynag y byddo dau neu dri wedi ymgynnull yn enw Crist, yno y mae efe yn eu canol hwynt. Medr fod yn gysegr bychan i'w bobl ymhob gwlad, a phrofi ei hun yn Dduw i nesâu atynt ymhob dim y galwant arno er iddynt fyned ymhell i eithafoedd y ddaear. Os bydd rhagluniaeth yn myned â thi i eithaf y byd, a phe byddit yno wedi dy anghofio gan bawb yma fel un marw allan o olwg, neb yn gwybod nac yn malio am wybod dy helbulon allanol na thumewnol, ti a elli er hyny droi at Dduw, ymgynghori âg ef, ac arno ef roddi dy holl achos, gan ei gyfarch fel y Salmydd gynt, "Ti a adwaenost fy eisteddiad a'm cyfodiad; dealli fy meddwl o bell; amgylchyni fy llwybr a'm gorweddfa, a hysbys wyt yn fy holl ffyrdd; canys nid oes air ar fy nhafod, ond wele, Arglwydd, ti a'i gwyddost oll. Amgylchynaist fi yn ol ac ymlaen, a gosodaist dy law arnaf." Oni orfoleddi wrth feddwl am Dduw fel hyn? Pa le bynag y byddaf yn deffro, byddaf gyda Duw yn wastad. O fy nghyfaill, ymha gŵr bynag o'r ddaear y'th gei dy hun ar ol hyn, gwna yn fawr o'th Fibl Cymraeg; bydded yr Ysgrythyr lân, yr hon yr wyt, mi obeithiaf, yn ei gwybod er yn fachgen, i ti yn

hyfrydwch a chynghorydd; ac arfer weddi bob amser, gan roddi dy hunan i'w ofal Ef, yr hwn yn nyddiau ei gnawd oedd yn tosturio wrth y torfeydd, am eu bod wedi blino, a'u gwasgaru fel defaid heb ganddynt fugail. Cymer fel hyn y gyfraith o enau Duw, ac agor dithau dy enau wrth yr Arglwydd mewn gweddi, gan ddewis Iesu Grist ei hun i ti yn Fugail; ac yna ymha le bynag y byddi yn ymdeithio neu yn cyfanneddu, ni bydd eisieu arnat.

A wyt ti ar fyned, neu wedi myned, i gysylltiad newydd—wedi ymgymeryd âg anturiaeth fydol, myned dan gyfrifoldeb masnach ol, neu newid y cyflwr sengl am gyflwr prïodasol? Ti a brofi yn fuan fod y newidiad yn un o bwys; ac y mae yn rhy dywyll i ti, wrth geisio edrych ymlaen, wybod pa beth fydd y canlyniadau. Ond, "gobeithia yn yr Arglwydd, a gwna dda; a thi a borthir yn ddïau." Gyda y rhan fwyaf, y mae anghenrheidrwydd yn gwasgu arnynt i fyned dan faich gofalon byd; Duw sydd yn gosod ar ddyn byth, trwy ryw ffordd neu gilydd, i lafurio'r ddaear a'i chadw hi. Ac yr wyt i wneuthur yn ffyddlawn pa beth bynag y rhoddir di ato, neu yr ymgymeri âg ef. "Beth bynag a ymafael dy law ynddo i'w wneuthur, gwna â'th holl egni." Os yw yn werth i ti wneuthur rhywbeth o gwbl, mae yn werth i ti ei wneuthur yn iawn; yn yr iawn amser, mewn iawn fodd, fel nas galler beïo ar dy waith. Gwna bob peth, hyd yn nôd gyda'r byd, fel un sydd i ymadael â'r byd. Penderfyna yn y cychwyn y cyflawni di, trwy gymhorth Duw, yn gywir bob gorchwyl, a phob trafodaeth o'r eiddot, fel na byddo dy goffadwriaeth yn bwdr pan fyddo dy gorff yn pydru yn y bedd. Yn awr yw yr amser i ti roddi dy egni goreu ar waith: "canys nid oes na gwaith, na dychymyg, na gwybodaeth, na doethineb, yn y bedd lle yr wyt ti yn myned." Ymarfer â Duw trwy ffydd, a thi a äi ymlaen yn fwy hwylus, yn fwy cysurus, ac yn fwy dïogel ymhob cysylltiad daearol. "Yn yr hyn y galwyd pob un, frodyr, yn hyny arosed gyda Duw." O fel y mae crefydd yr efengyl yn rhoddi cysegredigaeth ar y pethau mwyaf cyffredin! Y mawredd sydd ar ddyn yn masnachu, yn amaethu, yn trîn y gelfyddyd, yn tyrchu'r ddaear am lô neu blwm neu efydd, yn gweini fel un o ddwylaw'r llestr ar y dòn, neu gyda pha orchwyl bynag y byddo, os bydd "yn hyny yn aros gyda Duw!" gair Duw ganddo yn rheol, a gogoniant Duw iddo yn

nôd, "trwy ewyllys da yn gwneuthur gwasanaeth megys i'r Arglwydd," ac, yn nghanol pethau ansicr amser, "ei galon yn ddisigl yn ymddiried yn yr Arglwydd!" Mae gan bob galwedigaeth ei themtasiynau; ond y mae dyn duwiol yn "sefyll yn y ffydd" gyda'r byd yn gystal a chyda chrefydd; ni rydd ef byth ddiod gwsg i'w gydwybod i beri iddi hepian a huno; ond efe a'i ceidw yn neffro yn nghanol holl arferion a thrafferthion *business*, ac a fydd yn gydwybodol yn yr oll a ddywedo ac a wnelo. Ac wrth newid sefyllfa—y mynediad drosodd o fod yn aelod teuluaidd i fod yn benteulu—gwna crefydd y meibion a'r merched ufudd yn wŷr ac yn wragedd parchus. Wedi prïodi yn yr Arglwydd, cedwir y tŷ a megir y plant yn yr Arglwydd; a'r Arglwydd a fendithia drigfa'r cyfiawn, pa un bynag ai palas ai bwthyn fyddo.

Neu, a wyddost ti erbyn hyn am ysgydwadau byd anwadal? canys aderyn ar ei aden o hyd yw cyfoeth, a chloch y dŵr, neu fwrlwm gwâg, yw gogoniant oddiwrth ddynion, ac nid oes i ni yma iechyd na theulu, nac un mwyniant, yn barhäus. Ffydd a wna i ti, sydd yn dyoddef fel dyn, orchfygu fel cristion; tra yr wyt yn rhwym o deimlo adfyd fel crëadur, galluogir di i'w ddwyn yn ddiddig, os nad mewn gorfoledd, fel crëadur newydd. Dysga ffydd ni i ganu salmau pan yn esmwyth arnom, ac i weddïo, yn lle tuchan, pan mewn adfyd. Hi a'n nertha i roddi ein hamgylchiadau i fyny i ewyllys Brenin mawr yr holl ddaear, gan ddyweyd fel Dafydd, "Wele fi, gwnaed i mi fel y byddo da yn ei olwg." Mae'r digrefydd, fel y cŵch ar y môr, yn codi ac yn gostwng gyda'r dòn; ond, "y rhai a ymddiriedant yn yr Arglwydd, fyddant fel mynydd Sïon, yr hwn ni syfl, ond a bery yn dragywydd." Gwelwyd yn fynych bobl dan wên y byd—wedi cael ychwanegiad cyfoeth a meddiannau—yn ymchwyddo ac ymfawrygu. Gellid meddwl oddiwrth eu huchder gwêdd a'u cerddediad rhygyngog, eu bod wedi eu gwneuthur yn rhyw grëaduriaid dyrchafedig, yn wahanol ac yn amgen i'w cymydogion. Ond dyna ryw gorwynt yn chwythu arnynt, ac yn eu darostwng; ac y mae eu henaid yn ymollwng mewn cythrudd, blinder, a siomedigaeth; a pha ryfedd? eu duwiau a gymerwyd ymaith; a pha beth sydd ganddynt hwy mwyach? Ond y mae yr hwn sydd yn byw trwy ffydd yn byw uwchlaw'r byd, fel nas gall ei wên na'i ŵg, ei esmwythder na'i orthrymder, effeithio yn niweidiol arno ef. Dacw

Paul, megys teithiwr ar ben bryn, yn gweled ei yrfa odditanodd: y mae croes i'w chodi acw, a phum' milldir ymlaen y mae croes arall i'w chario, ac felly o hyd yn olynol: "yr Ysbryd Glân yn tystio i mi ymhob dinas, gan ddywedyd fod rhwymau a blinderau yn fy aros." Pa fodd y mae yn teimlo oddiwrth y fath ragolwg anhyfryd? "Ond nid wyf fi," medd efe, "yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr genyf fy einioes fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa trwy lawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniais gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu efengyl gras Duw." Efe a ddysgodd wrth ddilyn Crist wers ardderchog, nas gallasai ei dysgu wrth draed Gamaliel: "Myfi a ddysgais ymha gyflwr bynag y byddwyf, fod yn foddlawn iddo."

A ydyw angeu wedi lleihâu dy deulu, a bylchu rhenc dy gysylltiadau? a ydyw dy gartref yn ymddangos i ti wedi ei anrheithio? yn lle cymhar tyner, gofalus, cariadlawn, i'th dderbyn dan wenu, na weli yn awr ond cadair wâg; y bedd wedi ymgau am y wêdd oedd mor hoffus genyt; y bachgen neu yr eneth oedd yn obaith tad ac yn falchder mam, yn huno yn llwch y ddaear; neu y cyfaill yr oedd dy enaid yn ymgylymu wrtho wedi ei gipio ymaith gan y dinystrydd, a thithau yn ochain, "Câr a chyfaill a yraist oddiwrthyf, a'm cydnabod i dywyllwch!" Nid yw ffydd yn gwarafun i ti deimlo, hiraethu, a galaru ar ol dy rai ymadawedig; yn unig mae yn rhoddi gocheliad na thristäot megys eraill y rhai nid oes ganddynt obaith; ac y mae yn dy ddenu at yr Hwn sydd yn abl i wneuthur a chyflawni pob colled. Hi a'th gyfeiria at frawd a anwyd erbyn caledi, a chyfaill a lŷn yn well na brawd, gan ddywedyd, "Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd." Neu, fy nghyfaill, a wyt ti wedi dyfod trwy holl gyfnewidiadau bywyd at yr olaf; y byd wedi darfod â thi, a thithau âg yntau; dy sefyllfa yn rhywle ar làn yr Iorddonen? Nac anghofia fod Duw yn Nghrist yn ddigon heddyw. Dyweded dy ffydd, 'Os yw fy nghysylltiad â'r byd ar derfynu, mae fy undeb â'm Duw cyfammodol yn ddigyfnewid a diddiwedd. Os yw hen bethau fy serchiadau yn gwywo, mae hollddigonoldeb o ddaioni yn aros i mi yn fy Nuw; ac ni wna myned i dragywyddoldeb ddim ond perffeithio fy mwynhâd o hono.' Y weithred olaf o ufudd-dod credadyn i Dduw, yw gwrando ar alwad Duw trwy angeu, a dywedyd o'r galon gyda Samuel ieuanc, "Wele fi, canys gelwaist

arnaf;" ac nid oes un weithred o ufudd-dod yn rhyngu bodd Duw yn fwy.

Fel hyn y mae ffydd yn dwyn yr enaid i fwynhâu Duw yn annibynol ar bethau darfodedig, i farw iddynt yn y serchiadau, ac o ganlyniad i fod yn barod i'w gadael ar alwad Duw. Y mae dedwyddwch dyn yn sefyll ar ei fod yn un â Duw; a ffydd yn unig sydd yn cynnyrchu yr undeb hwnw. Ni bydd dyn byth yn ddedwydd, beth bynag fyddo ganddo, nes byddo ei fryd a'i amcanion yn dybenu yn Nuw, a'i ewyllys ef wedi ei thraddodi i ffurf ewyllys Duw; a chyda yr ystwythder ysbryd hwn, ni bydd efe yn annedwydd, beth bynag a gymerir oddiwrtho. Nid yw ffydd byth yn preswylio yn unig yn yr enaid; mae gobaith a chariad yn gymdeithion iddi yn wastad; a chyda "ffydd, gobaith, cariad, y tri hyn," dedwydd fydd cristion yn nghanol pob cyfnewidiad. Ffydd a'i sicrhâ ymhob cyfyngder a chwerwder mai ei Dad sydd yn ei drîn. Gobaith, yn wyneb yr holl gyfnewidiadau, a ddengys iddo deyrnas ddisigl fel ei eiddo ef. A thrwy y naill a'r llall, bydd pob gorchwyliaeth yn gweithio'r galon i garu Duw. Marciwch chwi: pan y gwybyddoch eich bod yn caru Duw, ac yn cael eich caru ganddo, bydd heddwch yn ffrydio i'r galon ymhob amgylchiad. 'Gwnaed yr Arglwydd a fyno i mi,' medd yr enaid hwn, 'nid all efe mo'm damnio i sydd yn ei garu. Palled iechyd, a gwaethyged amgylchiadau; yr wyf yn gyfoethog tuag at Dduw. Siomed cyfeillion fi; yr wyf yn adnabod Cyfaill nas gall fy rhoddi i fyny, na'm llwyr adael byth. Palled fy nghnawd a'm calon; nerth fy nghalon a'm rhan yw Duw yn dragywydd.'

Ond nid ydym i ymddiried i'r egwyddor o ffydd am gynnyrchu yr agwedd ddyladwy ar y meddwl yn wyneb cyfnewidiadau bywyd; nid digon y ffydd ynddi ei hun, eithr rhaid wrth yr ymarferiad cyson o honi. Mae yn wir fod y duwiol wedi ymadael â phob peth, mewn cyferbyniad i Dduw a'i Brynwr, pan yr ailanwyd ef, er fod yr ymadawiad yn anmherffaith. Ond y mae anghen cadw yr un egwyddor mewn ymarferiad yn barhäus: ymadael mewn meddwl a chalon, mewn bryd a serch, bob dydd â phethau rhagoraf ac anwylaf y ddaear, ac ymasio fwyfwy â'r pethau sydd uchod. Anhawdd, yn wir, yw gadael hawddfyd am adfyd; ond beth am adael y byd hwn am fyd arall? Os gorchest gadael gwlad, iechyd, meddiannau, a bywyd, ceraint a chyfeillion, ar

alwad y Goruchaf, beth a fydd rhoddi i fyny ein bywyd ein hunain —ei roddi i fyny mewn parodrwydd ac ewyllysgarwch, gan deimlo fel Paul, chwant i'n dattod a bod gyda Christ? Ond y mae ffydd fywiog yn Nuw yr Iachawdwr yn gorchfygu ofn angeu, ac yn ei lyncu mewn gobaith gogoniant. Tuag at feithrin a chryfhâu y ffydd hon, edrychwn yn wastadol ar ei Gwrthddrych; nid oes dim yn anhawdd iddo ef wneuthur, nac yn rhy dda ganddo ef roddi, er lleshâd a dedwyddwch y rhai a ymddiriedant ynddo. Ymadnewyddwn, trwy ei Ysbryd ef, yn ysbryd ein meddwl; aroswn yn ei gariad; ac felly, dysgwyliwn holl ddyddiau ein milwriaeth hyd oni ddelo ein cyfnewidiad. "Bydded ein lwynau wedi eu hymwregysu," fel na byddo dim yn rhwystr i ni fyned allan ar ei air. Bydded "ein canwyllau wedi eu goleu;" wedi eu trwsio yn brydlawn yn ngorsaf efengyl, i'n cludo yn gysurus trwy bob *tunnel* tywyll ar ein taith i'n cartref tragywyddol. Dichon, yn ngoleu'r dydd, na chanfyddwyd yn y cerbyd oleu'r lamp; ond yn y *tunnel* du, fe welwyd ac fe fwynhäwyd ei goleuni; ac felly dyn duwiol: nid oedd efe, yn nghanol cysuron bywyd, o bosibl, yn profi graddau helaeth o orfoledd iachawdwriaeth Duw; ond yr oedd y pryd hwnw ddefnyddiau cysur cryf yn yr enaid; a phan ddaeth trallodau einioes, dyna efe yn tòri allan yn llawenydd annhraethadwy a gogoneddus. "Yr ydym yn gorfoleddu mewn gorthrymderau. Duw pob dyddanwch—sydd yn ein dyddanu ni yn ein holl orthrymder." Pan y bydd y ddaear yn cau, bydd y nef yn agoryd. Pan fo tad a mam yn gwrthod, bydd yr Arglwydd yn derbyn. Ië, pan fyddo Tad yr ysbrydoedd ei hunan yn fflangellu, dyna'r pryd yr adweinir oreu ei fod ef yn derbyn; "canys y neb y mae yr Arglwydd yn ei garu, y mae yn ei geryddu, ac yn fflangellu pob mab a dderbynio." Cais, fy enaid, y ffydd a'th gysyllto â'r Arglwydd, ac a baro i ti lynu wrtho; ac ni raid i'th galon ofni dim a'th gyferfydd o hyn i angeu, na dychrynu pan ddelo angeu ei hun.

DIWEDD Y GYFROL GYNTAF.

